HEcE
R
UNIVERSITY
LIBRARY

# HANES

# EGLWYSI ANNIBYNOL

# CYMRU,

GAN T. REES, D.D., ABERTAWY,

A

J. THOMAS, LIVERPOOL.

528097
4.10.51

CYF. IV.

LIVERPOOL:
ARGRAFFWYD YN SWYDDFA Y "TYST CYMREIG."
1875.

# AT Y DARLLENYDD.

---

Wedi bod am fwy nag ugain mlynedd yn casglu defnyddiau at Hanes Eglwysi Annibynol Cymru, ac am yn agos i bum' mlynedd yn rhoddi pob awr a allasem hebgor o'n hamser i barotoi i'r Wasg y defnyddiau a gasglasom, wele ni o'r diwedd, trwy diriondeb yr Arglwydd, wedi cael ein galluogi i orphen y gwaith. Gwel y darllenydd oddiwrth y cyfeiriadau ar odreu y dail, ein bod wedi casglu ein defnyddiau o luaws o wahanol fanau. Ni chafodd yr hen law-ysgrifau yn llyfrgelloedd mawrion Archesgob Canterbury, y *British Museum*, a phrif athrofäau Rhydychain a Cambridge, na'r ystor ddirfawr o hen bapurau sydd yn *Record Office* y Llywodraeth, fod heb eu chwilio genym, a buom mor ffodus a dyfod o hyd i amryw o ddyddiaduron ysgrifenedig rhai o hen weinidogion Cymru, y rhai fuasent yn guddiedig mewn hen gonglau llychlyd am fwy na chan' mlynedd. Fel hyn yr ydym wedi llwyddo i ddwyn lluaws o ffeithiau i'r golwg am lafur, dyoddefiadau, a helyntion ein tadau a fuasent yn debygol o fod yn guddiedig byth oni buasai i ni fyned i'r draul a'r drafferth o'u chwilio allan. Bu ein llafur yn casglu y fath luaws o ffeithiau, amseriadau *(dates)*, a bywgraphiadau yn waith dirfawr i ni. Ond wedi ein holl lafur, a'r cynhorthwy caredig a gawsom gan weinidogion, diaconiaid, ac eraill, trwy Dde a Gogledd, yr ydym yn mhell o dybied fod ein gwaith mor gyflawn a diwallau ag y buasai yn ddymunol iddo fod. Pe buasai amgylchiadau yn caniatau i ni roddi deng mlynedd i fyned o fan i fan i gasglu defnyddiau, diau y gallasai fod yn llawer cyflawnach ; etto, credwn ein bod wedi llwyddo i gasglu hanes yr enwad, y cawn yr anrhydedd o berthyn iddo, lawer yn gyflawnach nag y mae hanes unrhyw enwad crefyddol arall yn y Dywysogaeth wedi cael ei ysgrifenu hyd yn bresenol. Yr ydym yn mhell o ddisgwyl y rhydd ein gwaith foddlonrwydd i bawb. Y mae rhai yn ein beio am na buasem yn ysgrifenu hanes eu heglwysi hwy yn helaethach. Ond rhai na roddasant i ni un mesur o gymhorth yw agos pob un sydd yn ein beio felly, neu rai siomedig na buasem yn

cyhoeddi y truthiau dibwrpas a anfonasant hwy i ni. Cwyna eraill ein bod wedi rhoddi gormod o fanylion am ryw amgylchiadau y barnant hwy y buasai yn well eu claddu mewn ebargofiant. Yr ydym yn mhell o honi anffaeledigrwydd, ac addefwn y dichon ein bod wedi ysgrifenu rhy fach neu ormod ar ryw bethau a phersonau, ond nid ydym yn gweled pa fodd y gallasem fod yn haneswyr ffyddlon heb osod ar gof a chadw amgylchiadau pwysig a ddigwyddodd mewn eglwysi, er fod rhai o honynt yn flin a helbulus i'w cofnodi; ond amcanasom wneyd hyny yn y modd esmwythaf a mwyaf didramgwydd. Ymddengys llawer fel yn tybied mai *gwneyd* hanes i'r eglwysi oedd ein gorchwyl, ac nid rhoddi ar gof a chadw yr hanes oedd yr eglwysi wedi ei wneyd iddynt eu hunain. Cymered y cyhoedd ein gair, nad oedd genym ddim mewn golwg mewn un frawddeg a ysgrifenasom ond rhoddi i'r oes hon, a'r oesau dyfodol, hanes yr eglwysi mor gywir a diduedd ag y medrem, yn ol y defnyddiau oedd genym. Wrth adolygu ein gwaith, yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar i Dduw a dynion am y cymhorth a gawsom i gyfodi cofgolofn i Annibyniaeth Cymru a saif tra byddo y Gymraeg yn cael ei darllen a'i deall. Os na ddarfu i ni osod y meini yn ein hadeiladaeth mor gaboledig a threfnus ag y buasai yn ddymunol, y mae genym yr hyfrydwch o feddwl ein bod wedi cyfodi adeilad na syrthia am oes yr iaith Gymraeg, beth bynag am oes y byd.

Gwelir ein bod wedi gosod Dangoseg gyflawn i'r holl waith ar ddiwedd y bedwaredd gyfrol fel y gall y darllenydd yn ddidrafferth ddyfod o hyd i bob enw, lle, a pherson, a grybwyllir yn mhob un o'r cyfrolau. Ymddiriedasom y gwaith dirfawr a thrafferthus o ddarparu y ddangoseg i'n cyfaill medrus y Parch. John Rees, Rodborough, sir Gaerloew, ac y mae y gwaith wedi cael ei gyflawni ganddo yn deilwng o'i lafur a'i fedr.

THOMAS REES.
JOHN THOMAS.

EBRILL 20FED, 1875.

HARVARD
UNIVERSITY
LIBRARY

# HANES
# EGLWYSI ANNIBYNOL CYMRU.

---

## SIR DDINBYCH.

Terfynir y sir hon ar y gorllewin gan siroedd Caernarfon a Meirionydd, ar y gogledd gan y môr, ar y dwyrain gan siroedd Flint a Chaerlleon, ac ar y de gan siroedd Maldwyn, Meirionydd, a'r Amwythig. Ei harwynebedd yw 386,052 o erwau, a rhif ei thrigolion yn 1861, oedd 100,785, ac yn 1871, 104,266. Ar amaethyddiaeth yr ymddibyna mwyafrif ei thrigolion, ac y mae yma diroedd nodedig o fras a chynwysfawr, yn enwedig yn Nyffryn Clwyd. Mae rhai rhanau o'r sir hon hefyd yn gyfoethog o lô, mŵn, haiarn, plwm, &c., ac y mae amryw filoedd o'r trigolion yn cael eu bywioliaeth wrth eu gweithio.

Gwnaeth Ymneillduaeth ei hymddangosiad yn y sir hon mor foreu a'r flwyddyn 1634. Yn y flwyddyn hono daeth Walter Cradock yn gurad i Wrecsam, lle y bu yn pregethu gydag arddeliad a llwyddiant digyffelyb am naw mis. Yn yr ysbaid byr hwnw ennillwyd rhai canoedd o eneidiau at yr Arglwydd, ac o'r pryd hwnw hyd y pryd hwn nid yw Ymneillduaeth efengylaidd wedi gollwng ei gafael yma. Yn 1662, pan drowyd "Y ddwy fil" allan o'r Eglwysi plwyfol gan Ddeddf Unffurfiaeth, cafwyd yn sir Ddinbych saith o bregethwyr a digon o nerth egwyddor ynddynt i fforffetu eu bywioliaethau yn yr Eglwys Wladol, yn hytrach na gweithredu yn groes i'w cydwybodau. Trwy lafur y gwyr da hyn, yn cael eu cynorthwyo gan rai o siroedd cymydogaethol, planwyd yma amryw achosion Ymneillduol, y rhai sydd yn fyw hyd y dydd hwn. Yr Annibynwyr yw yr enwad henaf yma, fel yn mhob sir arall, ond y Methodistiaid Calfinaidd yn awr yw yr enwad lluosocaf, yr Annibynwyr hwyrach yw y nesaf atynt. Mae y Bedyddwyr hefyd yn lled luosog oddeutu Llangollen, y Cefnmawr, a'r Rhos, ac amryw gynnulleidfaoedd lled luosog gan y Wesleyaid mewn rhai parthau o'r sir, fel y mae y tri enwad olaf a nodwyd yn lled gyfartal. Dilewyrch iawn yw yr Eglwys Wladol agos yn mhob ardal wledig o'r sir, ond y mae ganddi gynnulleidfaoedd lled luosog yn rhai o'r trefydd.

## CHESTER STREET, WRECSAM.

Fel y cawsom achlysuron i nodi ragor nag unwaith yn Hanes yr Eglwysi Annibynol, cafodd Walter Cradock ei ymlid gan Esgob Llandaf o'i guradiaeth yn Eglwys Fair, Caerdydd, am wrthod darllen y *Llyfr Chwareuyddiaethau.* Wedi ei ymlid oddiyno, trwy rhyw foddion anhysbys i ni, cafodd le i wasanaethu fel curad yn Eglwys Blwyfol Wrecsam,, ryw bryd cyn diwedd y flwyddyn 1634. Darfu i'w bregethau galluog, doniol, ac efengylaidd yma, dynu sylw trigolion y dref a'r wlad am lawer o filldiroedd o gwmpas, ac mewn ysbaid naw mis bu ei weinidogaeth yn foddion i ddeffroi ac achub canoedd, os nad rhai miloedd o eneidiau. Hyn oedd dechreuad Ymneillduaeth yn Wrecsam, ac yn Ngogledd Cymru. Wedi i Mr. Cradock gael ei orfodi trwy ddylanwad un Timothy Middleton, bragwr, i ffoi oddiyno yn 1635, oherwydd fod ei weinidogaeth yn effeithio yn ddinystriol ar fasnach y brag, cafodd y dysgyblion a ennillwyd i'r ffydd, trwy ei lafur yma, eu gadael fel defaid heb fugail arnynt; ond trwy ryw foddion fe ofalodd yr Arglwydd am iddynt gael eu cadw rhag myned ar ddisperod, er mor enbyd oedd yr amseroedd hyny. Tua y flwyddyn 1646, neu yn fuan ar ol hyny, ymsefydlodd Mr. Morgan Llwyd yma fel gweinidog, a bu llwyddiant mawr ar ei lafur. Yr ydym yn barnu mai yn ei amser ef y corpholwyd dychweledigion gweinidogaeth Mr. Cradock yn eglwys Ymneillduol yma. Tua y flwyddyn 1650, neu y flwyddyn ganlynol, bu cryn ymraniad yn yr eglwys oherwydd y Crynwyr, sect newydd oedd yn cyfodi yr amser hwnw. Mae yn ymddangos i amryw o aelodau yr eglwys ymuno a'r sect newydd hon, ac yn eu mysg un John ap John, yr hwn oedd yn ddyn o gryn dalent, ac a fu am lawer o flynyddau yn bregethwr tra phoblogaidd a llwyddianus yn mysg y Crynwyr. Nid oedd y gweinidog, Mr. Morgan Llwyd hefyd, yn mhell o fod yn gogwyddo at syniadau y Crynwyr, fel y gwelir yn ei ysgrifeniadau, ond ni ddarfu iddo ef ymuno yn weithredol a hwynt. Yn y flwyddyn 1658, bu farw Mr. Morgan Llwyd, a dilynwyd ef yma, fel gweinidog y plwyf, ac yn ddiamheu hefyd fel gweinidog yr eglwys Ymneillduol, gan Mr. Ambrose Mostyn. Ni bu ei arosiad ef yma yn hir, oblegid cafodd ei fwrw allan gan Ddeddf Unffurfiaeth yn 1662, a gorfodwyd ef gan erledigaeth i ymadael o'r ardal yn fuan wedi hyny. Nid ydym yn gwybod pa fodd yr ymdarawodd y praidd erlidiedig o'r flwyddyn 1662 hyd 1668, pryd yr ymsefydlodd Mr. John Evans yn weinidog yn eu plith. Yn y llawysgrifau yn mhalas Lambeth, y rhai a ysgrifenwyd yn 1669, dywedir am blwyf Wrecsam, "Y mae yn y plwyf hwn lawer o Sismaticiaid, ond dynion isel eu sefyllfaoedd yw yr oll, neu y rhan fwyaf o honynt." Tystiolaeth gelyn yw hyn, ac nid yw oll yn wirionedd. Yr oedd o'r dechreuad amryw ddynion dysgedig a chyfoethog yn perthyn i'r achos hwn, a pharhaodd eu hiliogaeth i lynu wrtho am genedlaethau. Yr oedd aelodau yr eglwys hon gynt yn wasgaredig ar hyd a lled y wlad, cyn belled a Chastellywaun a Glynceiriog, ac i lawr trwy wahanol ranau o sir Flint. Yn 1672, pan roddwyd ychydig o ryddid i'r Ymneillduwyr, yr ydym yn cael i amryw o aelodau y gynnulleidfa hon, mewn gwahanol ardaloedd, gyfodi trwyddedau ar eu tai at bregethu ynddynt. Trwyddedwyd tŷ William Wynne, Cristionwydd, plwyf Rhiwabon, a thŷ John Hughes, yn Wrecsam, a rhoddwyd trwydded i John Evans i bregethu yn nhy Edward Kenrick, yn Wrecsam, ac i

Phillip Rogers, yn nhy Roger Kynaston, yn mhlwyf Rhiwabon. Henaduriaid yr eglwys yn 1675 oeddynt, Mr. John Brown, Cadben William Wynne, Mr. Phillip Rogers, ac eraill, a Mr. Evan Roberts, brawd-yn-nghyfraith Dr. Daniel Williams, oedd un o'r diaconiaid. Annibynwyr selog oeddynt o'r dechreuad hyd tua y flwyddyn 1691, pryd yr ymddengys i wahaniaeth barn am athrawiaethau yr efengyl a ffurf-lywodraeth eglwysig gyfodi yn eu mysg a pheri ymraniad. Aelod gwreiddiol o'r eglwys hon oedd yr enwog Dr. Daniel Williams, ac yr oedd ef erbyn hyn wedi dyfod yn wr o ddylanwad mawr fel duwinydd galluog, ac fel dyn o gyfoeth dirfawr. Byddai yn talu ymweliadau achlysurol a'i dref enedigol, ac yn ddiau yn gohebu yn fynych a rhai o gyfeillion ei ieuengctyd, y rhai oeddent yn aelodau o'r eglwys. Gan ei fod ef yn Bresbyteriad o ran ei olygiadau ar ffurf-lywodraeth eglwysig, ac yn Galfiniad isel o ran ei olygiadau athrawiaethol mae yn ddiau iddo ennill amryw o aelodau ei fam-eglwys i gofleidio ei olygiadau. Gan fod y lleill yn Annibynwyr eithafol ac yn uchel-Galfiniaid, yn mysg pa rai yr oedd yr hen weinidog parchus, Mr. John Evans, cymerodd ymraniad le yn yr eglwys yn 1691, ac aethant yn ddwy blaid, ac i addoli i wahanol leoedd yn y dref. Cymerwyd plaid y rhan Bresbyteraidd ac is-Galfinaidd gan Mr. James Owen, Croesoswallt; Mr. Mathew Henry, Caer, a gweinidogion cymydogaethol eraill. Mewn llythyr oddiwrth Mr. James Owen at Mr. Phillip Henry, dyddiedig Tachwedd 26ain, 1691, yr ydym yn cael yr hyn a ganlyn o berthynas i'r ymraniad yn Wrecsam:—"Yr wyf yn barnu fod eich mab, Mr. M. Henry, erbyn hyn wedi rhoddi i chwi hanes ein cyfarfod yn Wrecsam. Yr wyf fi yn bendithio Duw fod genyf fi gydwybod dawel yn yr achos. Y mae ein pobl ni oll yn unol, a phobl Mr. Evans yn rhanedig, ac amryw o honynt yn anfoddlon i'w ymddygiad anghristionogol tuag ataf fi. Y mae ein cyfarfodydd yn lluosocach nag yr oeddent pan yr oedd ei bobl ef yn addoli gyda ni. Y mae arnom eisieu i chwi roddi Sabboth yn Wrecsam, neu o leiaf fyned yno i draddodi pregeth ar ryw ddydd o'r wythnos. Byddai cael eich help chwi yn fanteisiol iawn i achos yr efengyl yno." Gellir casglu oddiwrth y dyfyniad hwn mai Mr. Evans a'r blaid uwch-Galfinaidd ddarfu ymneillduo oddiwrth y lleill, ac mai Mr. Owen oedd prif bleidiwr y blaid is-Galfinaidd. Yr oedd nifer fechan o Fedyddwyr yn yr eglwys er's rhai blynyddau. Yn yr ymraniad aeth y rhai hyny allan gyda'r uchel-Galfiniaid. Wedi yr ymraniad gwnaed amryw gynygion i uno y ddwy gynnulleidfa ond yn gwbl ofer. Yr oedd boneddwr dysgedig o'r enw Thomas Edwards, o'r Rhual, yn sir Flint, yr hwn oedd yn Fedyddiwr o ran ei olygiadau, yn aelod o'r blaid Annibynol. Yn 1699 cyhoeddodd ef gyfrol drwchus bedwar plyg, yn yr iaith Saesonig, dan yr enw *Baxterianism barefaced*, yn yr hon y mae yn trin Dr. Daniel Williams a'i ysgrifeniadau gyda gerwindeb a llymder diarbed. Gwnaeth cyhoeddiad y llyfr hwn y rhwyg rhwng y ddwy gynnulleidfa yn fwy, a'u huniad yn fwy diobaith. Parhaodd Mr. John Evans hyd derfyn ei oes i fod yn weinidog i'r gynnulleidfa Annibynol. Ar ei farwolaeth ef rhoddwyd galwad i'w fab Mr. (wedi hyny Dr.) John Evans i fod yn ganlyniedydd i'w dad, ond gan ei fod ef o'r un golygiadau a Dr. Williams ymdrechodd uno y ddwy gynnulleidfa, a phan y methodd lwyddo yn hyny aeth yn weinidog i'r blaid Bresbyteraidd. Bu yn ei gwasanaethu am ychydig amser ac yna symudodd i Lundain i fod yn gydweinidog a Dr. Williams. Yr ydym yn barnu mai olyniad o'r blaid Annibynol yw yr

eglwys sydd yn bresenol yn Mhenybryn. Yn nglyn a hanes yr eglwys hono y cawn roddi ychwaneg o hanes y blaid hon, ac felly dychwelwn yn awr at hanes yr eglwys sydd yn awr yn Chester Street. Barna Mr. Joshua Thomas, hanesydd y Bedyddwyr, fod dwy eglwys Ymneillduol yn Ngwrecsam er amser y Werin-lywodraeth—un yn Annibynol a'r llall yn Bresbyteraidd—ac mai yn amser yr erledigaeth yr aethant yn un gynnulleidfa; ond nid oes un sail i'r dyb hon. Yn ol pob awgrymiad a roddir mewn hen law-ysgrifau un gynnulleidfa oedd yma o'r dechreuad hyd yr ymraniad yn 1691. Mae yn ymddangos oddiwrth dystiolaeth Mr. Hugh Owen, Bronycludwr, fod llawer a fynai croes-olygiadau ar y pwngc o fedydd â rhwygiad yr eglwys yn Wrecsam. Yr oedd y rhai a safent dros fedydd trwy drochiad yn Annibynwyr selog ac yn uchel-Galfiniaid, ac yr oedd yn naturiol i'r Annibynwyr oeddynt yn fedyddwyr Babanod ac hefyd yn uchel-Galfiniaid droi gyda hwy am nad oeddent *hwy*, beth bynag am y Trochwyr, yn ystyried croes-olygiadau ar fedydd o gymaint pwys a chroes-olygiadau ar bethau eraill. Rhwng pob peth gwnaed rhwyg anfeddyginiaethol yn yr eglwys.

Wedi i Mr. John Evans, y mab, fod am ychydig yn cynorthwyo ei dad cyn ei farwolaeth, ac yn pregethu i'r gynnulleidfa am ychydig ar ol ei farwolaeth, pan y methodd ei ymdrech i uno y ddwy blaid fod yn llwyddianus, bwriodd ei goelbren gyda'r blaid Bresbyteraidd, ac urddwyd ef yn weinidog iddi Awst 18fed, 1702. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Mr. Talents, o'r Amwythig; Mr. James Owen, Croesoswallt; Mr. Mathew Henry, Caer, a Dr. Benion. Wedi llafurio yma am dair blynedd, derbyniodd alwad oddiwrth eglwys gyfoethog yn Dublin. Pan glywodd Dr. Daniel Williams am hyny, er ei fod yn groes iawn iddo ymadael o Wrecsam, yn hytrach na'i golli yn gwbl o Frydain perswadiodd ef i fyned yn gydweinidog ag ef yn Llundain, ac felly y bu.

Wedi ymadawiad Dr. Evans rhoddodd yr eglwys yn Wrecsam alwad i Mr. John Kenrick, ac urddwyd ef Hydref 21ain, 1707, pryd y gweinyddwyd gan y Mr. M. Henry, Dr. Holland, ac eraill. Yr oedd yr achos yn gryf yma ar ddechreuad gweinidogaeth Mr. Kenrick. Yr oedd yma addoldy cyfleus wedi cael ei adeiladu er y flwyddyn 1692 ar ddarn o dir a roddasid i'r perwyl gan Dr. Daniel Williams, ac yr oedd y gynnulleidfa pan gasglwyd cyfrifon yr Ymneillduwyr yn 1715, yn 230 o rifedi, a chanddynt naw-ar-hugain o bleidleisiau dros y sir a thair dros y fwrdeisdref. Mewn canlyniad i ddwy bregeth erlidgar a draddodwyd gan offeiriad rhagfarnllyd o'r enw Dr. Sachervell, yn y rhai y darluniai yr Ymneillduwyr fel gelynion peryglus i'r Eglwys a'r Brenhin, darfu i'r offeiriaid a'r pendefigion toriaidd trwy y deyrnas wneyd eu goreu i gyfodi terfysg gyda bwriad i ddinystrio Ymneillduaeth. Casglwyd *mobs* mewn llawer o ardaloedd, y rhai a ymosodasant ar gapeli yr Ymneillduwyr gan eu chwalu hyd y sylfaeni. Drylliwyd y capel yn Wrecsam gan haid o derfysgwyr yn y flwyddyn 1715, ond cafodd ei adeiladu drachefn y flwyddyn ganlynol ar draul y llywodraeth. Parodd yr amgylchiad lawer o ofid a thrallod meddwl i'r gweinidog a'r gynnulleidfa. Bu Mr. Kenrick yn llafurio yma mewn parch mawr hyd y flwyddyn 1744, pryd y bu farw. Dilynwyd ef gan Mr. Francis Boult, o'r Amwythig, yr hwn fu yn weinidog yma am ddeugain mlynedd. Ychydig cyn ei farwolaeth daeth Mr. William Browne yn gynorthwywr iddo, ac wedi hyny bu yntau yma yn ganlyniedydd iddo hyd y flwyddyn 1820, pryd y bu farw. Y gweinidog nesaf yma

oedd Mr. John Pearce, yr hwn a urddwyd yn Ionawr, 1822. Dywedir yn hanes bywyd Mr. Pearce fod y tri gweinidog blaenorol yn gogwyddo at Ariaeth. Dichon fod hyny yn wir i raddau am Mr. Kenrick a Mr. Boult, ond nid yw yn debygol ei fod yn wir am Mr. Browne, etto mae yn bosibl nad oedd yntau yn ddigon gwrol a selog i ddiwreiddio y syniadau ffafriol i Ariaeth neu Belagiaeth a hauwyd yma yn amser ei ddau rag-flaenor. Ond yn nhymor gweinidogaeth Mr. Pearce cafodd y lle ei lwyr lanhau oddiwrth bob afiechyd athrawiaethol, fel y mae yr eglwys hon er's llawer o flynyddau bellach mor efengylaidd yn ei syniadau ag unrhyw eglwys yn y deyrnas. Bu Mr. Pearce yn llwyddianus iawn yma. Yn 1840 adeiladwyd capel newydd prydferth ar safle yr hen gapel, yr hwn oedd wedi myned yn ddadfeiliedig. Traul yr adeiladaeth oedd dwy fil a dau cant o bunau. Ebrill yr 21ain, 1841, a'r dyddiau canlynol cynaliwyd cyfarfodydd yr agoriad, pryd y pregethodd y Meistri Jay, Bath; Fletcher, Manchester; Luke, Caer; Dr. Raffles, ac eraill. Talwyd holl draul yr adeiladaeth mewn ychydig amser. Oherwydd gwaeledd ei iechyd bu raid i Mr. Pearce roddi ei weinidogaeth i fyny yn 1853, ac yn 1855 dilynwyd ef gan Mr. J. B. Brown, y gweinidog presenol. Mae yma gynnulleidfa dda, a golwg lewyrchus ar yr achos. Mae deg punt yn y flwyddyn yn ol ewyllys Dr. Williams i gael eu talu gan ei ymddiriedolwyr at gynaliaeth y weinidogaeth yn y lle hwn, ac hefyd 35p. y flwyddyn at gynaliaeth yr ysgol ddyddiol sydd yn perthyn i'r lle hwn. Achos Presbyteraidd yw hwn mewn enw oddiar yr ymraniad yn 1691, ond y mae wedi bod yn achos Annibynol i bob pwrpas ymarferol oddiar y pryd hwnw hyd yn bresenol.

Mae yn ddiameu i lawer o bregethwyr gyfodi yma o bryd i bryd, ond nid ydym ni wedi gallu dyfod o hyd i enwau ond ychydig o honynt, sef y rhai canlynol:—

Daniel Williams, D.D. Ganwyd ef yn neu yn agos i'r dref hon yn y flwyddyn 1643, neu y flwyddyn ganlynol. Mae yn ymddangos fod ei rieni yn aelodau o'r eglwys Ymneillduol yma, ac iddo yntau gael ei ddwyn i fyny yn grefyddol o'i febyd. Mae yn dra sicr ei fod yn ddyledus i'r enwog Morgan Llwyd am lawer o'i addysg foreuol. Y mae efe yn ei rag-ymadrodd i un o'i lyfrau, yn dyweyd na fu yn gwneyd dim ond dysgu a darllen llyfrau er pan yr oedd yn bum' mlwydd oed, ac iddo pan yn bedair-ar-bymtheg oed gael ei gyfodi i bregethu. Felly efe a ddechreu-odd bregethu yn ddioed wedi i Ddeddf Unffurfiaeth ddyfod i rym. Trwy hyny dangosodd ei fod yn Ymneillduwr egwyddorol, canys nid oedd dim yn ymddangos o'i flaen pan y dechreuodd bregethu ond erlidiau ac an-mharch, pan y gallasai, pe buasai yn myned i'r Eglwys Sefydledig, gael byd esmwyth a bywioliaeth fras ar unwaith. Nid ymddengys iddo gael ei addysgu yn y Brif Athrofa er ei barotoi i'r weinidogaeth, ond trwy wneyd y goreu o'r manteision addysg a gafodd ymgyfododd i safle anrhyd-eddus yn y weinidogaeth. Wedi iddo fod yn pregethu yn ddirgelaidd yma ac acw am rai blynyddau, dygwyd ef trwy yr Arglwyddes Wilbraham o Weston, yn sir Amwythig, i sylw Iarlles Meath, yr hon a'i cymerodd ef yn Gaplan teuluaidd. Yn fuan wedi hyny aeth gyda'r Iarlles i'r Iwerddon, a chafodd alwad i fyned yn weinidog i'r gynnulleidfa yn Wood Street, Dublin. Yno priododd ei wraig gyntaf, yr hon oedd yn foneddiges ragorol am ei doethineb a'i duwioldeb, o deulu anrhydeddus, ac o gyfoeth dirfawr. Oherwydd agwedd fygythiol pethau yn yr Iwerddon yn 1687

dychwelodd i Loegr, ac aeth i fyw i Lundain. Yn 1688 dewiswyd ef yn weinidog i'r eglwys gyfoethog yn Hand Alley, Bishopsgate Street, ac yno y bu hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le Ionawr 26ain, 1716. Claddwyd ef mewn daeargell yn Bunhillfields. Bu yn briod ddwywaith, a chafodd gyfoeth mawr gyda phob un o'i wragedd, ond ni chafodd blant o un o honynt. Yn ei ewyllys gadawodd amryw diroedd, a thai a symiau mawrion o arian i ofal ymddiriedolwyr i'w rhanu yn flynyddol at achosion dyngarol a chrefyddol. Gan fod gwerth y tiroedd a'r tai wedi myned erbyn hyn yn saith neu wyth cymaint ag ydoedd yn amser ei farwolaeth ef, y mae gan yr ymddiriedolwyr swm dirfawr o arian a llyfrau i'w rhanu yn flynyddol. I brif athrofa Glasgow, i gynal y llyfrfa a elwir *Dr. Williams' Library* yn Lundain, ac i wahanol ddybenion addysgawl a chrefyddol yn Nghymru, y mae y rhan fwyaf o'i gymunroddion yn myned. Mae Cymru yn awr yn derbyn yn flynyddol mewn arian a llyfrau oddiwrth yr ymddiriedolwyr tua saith cant o bunau. Y mae dros ddau cant o'r swm hwn yn myned at gynal ysgolion dyddiol mewn gwahanol barthau o Ogledd Cymru, ac y mae y pum' cant arall yn cael eu rhanu mewn Biblau a Thestamentau, a llyfrau da eraill i dlodion Cymru ; i dalu am addysgu plant tlodion mewn galwedigaethau, ac mewn symiau o arian i weinidogion cyfyng eu hamgylchiadau. Gan fod Dr. Williams wedi marw bellach er's 158 o flynyddau, y mae amryw ugeiniau o filoedd o'r arian a adawodd yn ei ewyllys wedi cael eu derbyn yn Nghymru i ddybenion crefyddol a dyngarol, ac mae yn debygol y parhâ ei wasanaeth i'w genedl yn yr ystyr hwn tra y parhao y byd. Dylai ei goffadwriaeth fod yn anwyl gan bob Cymro dyngarol a chrefyddol.

Gyda ei fod yn ddylanwadol ar gyfrif ei gyfoeth, yn Gristion difrycheulyd, yn Ymneillduwr egwyddorol, ac yn nodedig am ei haelioni a'i ddyngarwch, yr oedd Dr. Williams hefyd yn bregethwr llawer enwocach na'r cyffredin yn mysg ei gydoeswyr, ac yn dduwinydd o safle uchel iawn yn ei oes. Parodd ei ysgrifeniadau yn erbyn golygiadau Antinomaidd Dr. Crisp, gynwrf dirfawr ar y pryd. Ysgrifenodd amryw o'r uchel-Galfiniaid rai atebion chwerw ac annghristionogol iawn iddo, ond atebodd ef hwynt mewn modd teilwng o ŵr boneddig a Christion. O ran ei olygiadau Calfiniaid cymedrol ydoedd, rywbeth o'r un nodwedd ag Andrew Fuller a Dr. Edward Williams, mewn oes ddiweddarach, ond dichon eu bod hwy, ar rai cyfrifon, yn gosod allan eu syniadau gyda mwy o rym ac anwrthwynebolrwydd nag ef. Cyhoeddwyd holl weithiau Dr. Williams yn mhen rhai blynyddau ar ol ei farwolaeth, mewn chwech o gyfrolau wythplyg. Y mae amryw o'i bregethau a'i draethodau ymarferol yn wir werthfawr, ac nid yw ei ysgrifeniadau dadleuol yn anheilwng o sylw yn yr oes hon.

Ambrose Lewis. Mae yn ymddangos ei fod ef wedi dechreu pregethu yn amser y Werin-lywodraeth, oblegid yr ydym yn cael ei fod yn pregethu yn fisol yn Worthenburg, fel cynorthwywr i Mr. Phillip Henry, cyn 1660. Byddai hefyd yn pregethu yn achlysurol yn lle Mr. Fagg yn Bangor, sir Flint. Crybwyllir ef yn llythyr Mr. James Owen at Mr. P. Henry, yr hwn a ddifynwyd genym o'r blaen, fel yn pregethu yn Wrecsam yn 1691. Dyma yr hanes olaf sydd genym am dano. Nid ydym wedi gallu cael allan amser ei farwolaeth. Dywed Mr. P. Henry ei fod yn ddyn duwiol, yn ysgolhaig rhagorol, ac yn bregethwr defnyddiol.

John Evans, D.D. Rhoddir ei hanes ef yn mysg y gweinidogion.

Edward Kenrick. Yr ydym wedi rhoddi cymaint o hanes a feddwn am dano ef yn nglyn a hanes y Bala.

John Kenrick. Gyda hanes y gweinidogion y rhoddir yr ychydig a wyddys am dano ef.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Morgan Llwyd. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1618 neu 1619. Bernir ei fod yn fab neu yn ŵyr i'r hen fardd enwog Hugh Llwyd o Gynfal, gerllaw Maentwrog, ac iddo gael ei ddychwelyd at yr Arglwydd yn llangc ieuangc, pan yn yr ysgol yn Wrecsam, dan weinidogaeth gyffrous Walter Cradock. Yr oedd yn ddyn o alluoedd meddyliol anghyffredin, ac yn ysgolhaig o radd uchel iawn. Gwelsom dri llythyr a ysgrifenwyd ganddo at Mr. Richard Baxter. Y maent wedi eu cyfansoddi mewn Saesoneg clasurol, a'r llaw ysgrifen yn un o'r rhai ẻgluraf a thlysaf a welsom erioed. Gallem feddwl wrth ei law ysgrifen ei fod wedi cael ei ddwyn i fyny i fod yn gyfreithiwr. Yn amser y rhyfel cartrefol, bu ef, fel y rhan fwyaf o'r pregethwyr Annghydffurfiol, yn ffoadur yn Lloegr. Mewn llythyr heb un dyddiad wrtho, a ysgrifenwyd ganddo at ei fam o Gaerloew, dywed iddo ef a'i gyfeillion fod mewn enbydrwydd mawr, ond ei fod yn gobeithio yr agorai rhagluniaeth yn fuan y ffordd iddynt i ddychwelyd i Gymru. Yr oedd ef yn un o'r rhai a benodwyd yn y ddeddf basiwyd yn 1650, "Er taenu yr efengyl yn Nghymru" i brofi cymhwysderau y rhai a anfonid allan i bregethu. Er ei fod yn weinidog sefydlog yn Wrecsam, byddai yn myned am deithiau yn aml i bregethu ar hyd a lled Cymru. Y mae traddodiad ei fod weithiau yn ymweled a Phwllheli ar ddyddiau y farchnad, a'i fod wrth gerdded trwy yr ystrydoedd a'r Bibl yn ei law yn creu math o arswyd yn y bobl fel y nesânt i'r ochreu i roddi ffordd rwydd iddo, fel pe buasai cerbyd a meirch yn pasio. Bu farw y gwr enwog a rhagorol hwn Mehefin 3ydd, 1659, yn ddeugain mlwydd oed. Dywed un o'i gyd-oeswyr, mai yr unig ddrwg a wnaeth Morgan Llwyd i'r byd oedd myned o hono yn rhy fuan. Y fath oedd gelyniaeth y rhai a ddygent sêl ddallbleidiol dros yr Eglwys Sefydledig tuag ato, fel y darfu i un o honynt, yr hwn oedd yn filwr, fyned i'r fynwent lle y claddwyd ef yn agos i Wrecsam, a gwthio ei gleddyf hyd y carn i'w fedd er dangos ei ffyrnigrwydd tuag ato. Dywedir hefyd i'r gelyn hwn gael ei gymeryd yn glaf yn y fan, ac iddo yn fuan farw yn druenus. Darfu i Morgan Llwyd gyhoeddi amryw lyfrau yn yr iaith Gymraeg, yn y rhai yr amlyga athrylith anghyffredin, grym meddwl, a medr i gyfansoddi yn dlws ac mewn iaith rymus, goethedig, a chwaethus. Yr oedd yn gyfrinwr *(mystic)*, ac felly yn fynych yn ei ysgrifeniadau yn arfer llawer o ffugyrau ac ymadroddion tra annealladwy i'r lluaws, ond er hyny y mae ei lyfrau yn cynwys apeliadau grymus a hollol eglur at ddeall a chydwybodau ei ddarllenwyr. Yr oedd yn hollol iachus yn ei olygiadau ar athrawiaethau yr efengyl, ond oherwydd ei ddull neillduol o feddwl, ac o osod allan ei feddyliau, mae yn ymddangos fod mwy o gydymdeimlad rhyngddo a'r Crynwyr na neb arall o'i gydoeswyr yn y weinidogaeth yn Nghymru.

Oherwydd i Mr. Richard Baxter, yn un o'i lythyrau, grybwyll rhyw beth yn fychanus am Walter Cradock, Vavasor Powell, a Morgan Llwyd, darfu i ryw wr galluog gyhoeddi llyfr o amddiffyniad i'r tri yn 1685, dan yr enw *A winding sheet for Mr. Baxter's dead.* Am Morgan Llwyd

dywedir yn y llyfr hwnw fel y canlyn:—"Yr oedd Mr. Morgan Llwyd yn un o gymeriad o'r fath ag y byddai yn anhawdd dyweyd dim yn rhy dda ac yn rhy fawr am dano. Yr oedd yn nodedig am ei gariad at ei gydwladwyr; i achos eneidiau pa rai y llwyr ymgysegrodd, ac yr oedd yn nodedig o gymhwys i'r gwaith, oblegid yr oedd yn un o'r areithwyr Cymreig mwyaf galluog a fu erioed yn y weinidogaeth, a hyny heb fod mewn mesur yn ataliad i'w rwyddineb a'i hyawdledd fel areithydd yn yr iaith Saesoneg. Un anghyffredin ydoedd am gyfoeth ei ddychymyg, gafaelgarwch ei gof, ac addfedrwydd cynar ei holl alluoedd, canys nid oedd dros ddeugain oed pan y bu farw. Yr oedd yn enwog am ei haelfrydedd a'i gariad, yr hwn ni chyfyngai i bleidiau a sectau; ac yr oedd yn nodedig am sancteiddrwydd ei fuchedd, ei ymroddiad diflino i'w fyfyrdodau, ei barodrwydd i dynu addysg ysbrydol oddi wrth bob peth, a'i haelioni i'r tlodion. Un nodedig ei ofal am addysgu ei blant yn grefyddol ydoedd; yr oedd ei ddifrifoldeb, yr hwn nid oedd yn arwynebol nac yn sarug, mor wirioneddol a naturiol fel y cynyrchai fath o arswyd yn mhob cymdeithas yr elai iddi, ac yr oedd urddas ei ymddangosiad yn yr areithfa, yr hwn nid oedd yn gelfyddydol, ond yn berffaith naturiol, nefol, ac ysbrydol, yn ddigyffelyb. Mewn gair, nid oedd unrhyw beth da mewn mesur cyffredin ynddo ef, ond y cwbl a'i ragoriaethau yn anghyffredin." Y fath, yn ol tystiolaeth un o'i gydoeswyr, oedd cymeriad Morgan Llwyd. Edrychai llawer o'i gydnabod arno fel prophwyd, a chyflawnwyd llawer o'i ragddywediadau i'r llythyren.

Ambrose Mostyn. Mab Dr. Henry Mostyn, o Calcott, yn sir Flint, oedd ef. Ganwyd ef yn 1610. Derbyniwyd ef i athrofa Brasenose, Rhydychain, Ionawr 15fed, 1629. Yn fuan wedi gorphen ei amser yn y brif athrofa, ymsefydlodd yn Neheubarth Cymru. Nid ydym yn gwybod iddo fod yn dal un fywioliaeth eglwysig yno. Ein barn ydyw mai wedi ymgydnabyddu a Walter Cradock yn y brif athrofa yr oedd, ac mai ei ddilyn ef i Ddeheudir Cymru a wnaeth. Crybwyllir ei enw yn y *Broad Mead Records* fel un o weinidogion diwygiadol Deheudir Cymru o'r flwyddyn 1633 hyd 1640. Dywedir iddo fod am ryw ysbaid yn pregethu yn nghymydogaeth y Trallwm cyn i'r rhyfel cartrefol dori allan, ac mai efe fu yn offerynol i gasglu yr eglwys Ymneillduol gyntaf yn Abertawy. Rhyw amser rhwng 1639 a 1642 y bu hyn. Mae ei hanes yn amser y rhyfel yn hollol anhysbys. Ar ol i blaid y senedd orchfygu plaid y brenhin, a sefydlu rhyddid crefyddol, bu Mr. Mostyn, yn mysg ereill, yn nodedig o ffyddlon a defnyddiol i daenu yr efengyl yn Nghymru. Treuliodd y rhan fwyaf o'i amser, yn nhymor y Werin-lywodraeth, yn Holt, yn sir Ddinbych. Yn 1659, ar farwolaeth Mr. Morgan Llwyd, penodwyd ef yn weinidog plwyf Wrecsam; ond ar adferiad y brenhin Siarl II. yn y flwyddyn ganlynol, bu raid iddo roddi y lle i fyny i'r person esgobol oedd wedi cael ei droi allan oddiyno flynyddau cyn hyny. Ar ei ymadawiad o Wrecsam, cymerodd y duwiol Arglwydd Saye a Sele ef yn gaplan teuluaidd, a bu ef a'i wraig yn byw gyda'r pendefig hwnw yn ei balas yn sir Rhydychain am rai blynyddau. Ar farwolaeth ei Arglwyddiaeth aeth Mr. Mostyn i Lundain, a bu yn byw yn nhy un Mr. Johnson, gweinidog Annghydffurfiol, hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le yn y flwyddyn 1666. Yr oedd wedi bod yn dyoddef yn fawr am flynyddau oddi wrth glefyd y gareg, a hyny yn y diwedd fu yr achos o'i farwolaeth. Bu yn briod ddwywaith, ond ni chafodd blant. Merch Syr E. Broughton, Barwnig, oedd ei ail wraig.

Yr oedd Mr. Mostyn yn ysgolhaig rhagorol, ac yn ddyn nodedig o ostyngedig a duwiol, ond yr oedd yn dueddol iawn i ymollwng i iselder ysbryd. Dywedir ei fod yn moreu ei oes yn cydlafurio a gweinidog arall, ac iddo un tro, wrth glywed amryw bobl yn dyweyd mai trwy weinidogaeth ei gydweinidog y dychwelwyd hwy at yr Arglwydd, fyned yn isel iawn ei feddwl, ac i dybied nad oedd yn dda i ddim. Yr oedd yn bresenol un gwr crefyddol a fawr werthfawrogai ei weinidogaeth ef. Dywedodd hwnw wrtho, "Gall gweithiwr cyffredin gymuno coed, ond y mae yn rhaid cael celfyddydwr cywrain i'w cymhwyso i'r adeiladaeth." Ar hyny cyfododd Mr. Mostyn ei ben, a dywedodd, "Wel, yr wyf fi yn foddlon os gallaf fod o rhyw wasanaeth." Dywedir ei fod yn bregethwr sylweddol a nodedig o adeiladol, a'i fod yn nodedig i esbonio yr ysgrythyrau, ac i gysuro a dyddanu dynion mewn trallod ac iselder meddwl. Cafodd ef, fel eraill o'i frodyr, lawer o anmharch oherwydd ei lafur yn ngwasanaeth ei Arglwydd. Un tro pan y cynygiai bregethu ar fynwent eglwys Blaenau Gwent, taflodd rhyw ynfydion erlidgar ddraenogiaid meirw ato fel y gorfu iddo roddi y gwasanaeth heibio a myned i anedd-dy i orphen ei bregeth. Dywedir i'r erlidwyr hyny gael eu dilyn gan arwyddion amlwg o felldith yr Arglwydd o'r dydd hwnw allan.

John Evans. Yr oedd ef yn fab i Mathew Evans, person Penegos, gerllaw Machynlleth, ond yn Great Sutton, yn agos i Ludlow, yr oedd ei dad pan y ganwyd ef yn 1628. Addysgwyd ef yn athrofa Balliol, Rhydychain. Pan yr oedd yn y brif athrofa yr oedd yn esgobyddwr selog, ac ymadawodd oddiyno yn 1648, oherwydd fod y lle wedi myned dan awdurdod y senedd. Wedi ei ddychweliad i Gymru, derbyniodd urddau esgobol gan Dr. Mainwaring, Esgob Tyddewi, yn Aberhonddu, Tachwedd 28ain, 1648; ond yn fuan wedi hyny newidiodd ei farn am esgobyddiaeth a chydffurfiaeth, a chofleidiodd olygiadau Annibynol ac Ymneillduol, wrth ba rai y glynodd yn selog, er pob enbydrwydd ac erlidiau, hyd derfyn ei oes. Bu am dymor yn bregethwr teithiol dan nawdd y senedd yn Nghymru, a bu wedi hyny yn olynol yn athraw yn ysgolion gwaddoledig yn Nolgellau a Chroesoswallt, ac o'r lle olaf y trowyd ef allan gan Ddeddf Unffurfiaeth yn 1662. Yn y flwyddyn 1668, dewiswyd ef yn weinidog yr eglwys Ymneillduol yn Wrecsam, a pharhaodd trwy oll angerdd yr erledigaethau ffyrnicaf i bregethu yn ddirgel yn ei dŷ ei hun. Oherwydd ei ragoriaeth fel ysgolhaig ac ysgolfeistr, anfonai amryw o brif foneddigion yr ardal eu meibion i gael eu haddysgu ganddo, ac y mae yn dra thebygol iddo ddiangc rhag llawer o helbulon yr oedd yn agored iddynt fel Ymneillduwr, oherwydd dylanwad ffafriol rhieni y boneddigion ieuaingc a addysgid ganddo. Yn 1681, bu Dr. W. Lloyd, Esgob Llanelwy, yn daer iawn arno am gydymffurfio a derbyn bywioliaeth Eglwysig, ond oherwydd ei wrthodiad penderfynol, trodd yr esgob yn ei erbyn, a chafodd ei ddirwyo yn drwm amryw weithiau am gynal cyfarfodydd crefyddol, ond yn rhyw fodd ni lwyddodd ei gyhuddwyr gymaint ag unwaith i gael ganddo dalu y dirwyon. Oherwydd fod cymaint o elyniaeth yn ei erbyn bu raid iddo am dymor maith lechu yn ei dŷ a'i ddrysau yn gloedig. Ni chafodd ei ddal ond unwaith, a'r tro hwnw, trwy ddylanwad boneddwr a arferai gymeryd ei blaid, cafodd ei ollwng yn rhydd. Oherwydd fod iddo gynifer o elynion, byddai yn gorfod teithio yn wastad yn y nos, pan yr elai oddicartref, a bernir i hyny effeithio yn niwediol ar ei iechyd, fel yr oedd rai blynyddau cyn ei farwolaeth wedi gwaelu yn fawr yn ei gorph, ac i

raddau yn ei feddwl. Bu farw yn driugain-a-deuddeg oed, Gorphenaf 16eg, 1700. Pan ddywedai rhywun wrtho ar ei wely angau, er ei gysuro, ei fod yn nesu at dŷ ei dad, atebodd, "Ni bydd hi yn dda arnaf nes y byddwyf yno." Pan geisiodd rhai o'i gyfeillion ganddo roddi rhyw gynghor iddynt yn ymadael, dywedodd, "Ewch at Dduw mewn gweddi." Traddodwyd ei bregeth angladdol gan Mr. David Jones, gweinidog yr Annibynwyr yn yr Amwythig, oddiwrth Actau xxi. 14.

Bu Mr. Evans yn briod ddwywaith. Cafodd ferch o'i wraig gyntaf, yr hon a fu yn wraig i Mr. Timothy Thomas, un o'r gweinidogion Anghydffurfiol, a mab iddi hi oedd Timothy Thomas, yr hwn fu yn weinidog enwog iawn ar gynnulleidfa gymysg o Annibynwyr a Bedyddwyr yn Pershore, sir Gaerwrangon. Ail wraig Mr. Evans oedd merch Colonel Gerard, llywodraethwr Castell Caer, a gweddw yr enwog Vavasor Powell. Cafodd un mab o honi hi; bywgraphiad yr hwn sydd yn canlyn:—

John Evans, D.D. Mab yr uchod oedd ef. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1680. Derbyniodd ei addysg i'r weinidogaeth dan arolygiad tri o'r prif athrawon yn mysg yr Ymneillduwyr yn y dyddiau hyny, sef Mr. Thomas Rowe, Llundain; Mr. Richard Frankland, o sir Gaerefrog, a Mr. James Owen, Croesoswallt. Efe a ddechreuodd bregethu cyn ei fod yn llawn ugain mlwydd oed, ac yr oedd bwriad, fel y nodasom, i'w gael yn weinidog i gynnulleidfa ei dad yn Wrecsam, ond dewisodd ef gymeryd ei urddo yn weinidog i'r gynnulleidfa arall yn ei dref enedigol. Urddwyd ef, fel y crybwyllwyd, yn Awst, 1702. Symudodd i Lundain yn 1705, neu y flwyddyn ganlynol, i fod yn gynorthwywr yn y weinidogaeth i'r Dr. Daniel Williams, ac ar farwolaeth y Dr. yn 1716, dewiswyd ef yn ganlyniedydd iddo, ac yno y bu hyd ddydd ei farwolaeth, sef Mai 16eg, 1730, yn yr unfed-flwyddyn-ar-ddeg-a-deugain o'i oed. Claddwyd ef yn Bunhill-fields, yn yr un bedd a'i gyfaill, Dr. Williams. Gadawodd wraig ac un ferch ar ei ol. Er iddo gael cyfoeth mawr gyda ei wraig, collodd y cwbl tua saith mlynedd cyn ei farwolaeth, trwy iddo ef, fel y gwnaeth miloedd eraill, osod yr oll a feddai mewn anturiaeth fasnachol, yn cael ei llywyddu gan haid o ddynion lladronig, yr hon a adwaenir mewn hanesyddiaeth dan yr enw *The South Sea Bubble.* Cadwodd ei anffawd yn ddirgel oddiwrth ei holl gyfeillion tra y bu fyw, a synwyd pawb o honynt wedi ei farwolaeth, pan gawsant iddo adael ei wraig a'i ferch yn hollol dlawd. Cyn gynted ag y gwybyddwyd eu hamgylchiadau, casglodd ei gynnulleidfa swm anrhydeddus iddynt, yr hyn, yn nghyda chynyrch gwerthiad ei lyfrau, y rhai oeddynt yn ddeng mil o gyfrolau, fu yn ddigon i'w cynal yn gysurus trwy eu hoes. Bernir i'w ofid o herwydd colli ei eiddo, i fesur mawr, achosi y clefyd a derfynodd yn ei farwolaeth.

O ran ei ymddangosiad corphorol yr oedd Dr. Evans yn nodedig o dál, ond nid oedd yn dew. Yr oedd cydgyfarfyddiad o ddifrifoldeb a sirioldeb yn ei wyneb, ac yr oedd yn ddyn o dymer hynaws, ac ymddygiad nodedig o foneddigaidd. Yr oedd yn un o brif bregethwyr ei oes; ac fel awdwr cyrhaeddodd enwogrwydd mawr. Mae ei bregethau ar y *Dymer Gristionogol*, mewn dwy gyfrol wythplyg, a'i bregethau i bobl ieuaingc yn werth eu pwys o aur. Ystyriai Dr. Doddridge ei esboniad ar yr epistol at y Rhufeiniaid, yr hwn a ysgrifenwyd ganddo fel parhad o esboniad Mathew Henry, yr esboniad goreu ar yr epistol hwnw yn yr iaith Saesoneg. Rai blynyddau cyn ei farwolaeth yr oedd wedi bod yn ddiwyd yn casglu defnyddiau hanes Ymneillduaeth yn Lloegr a Chymru, ac yr oedd y defnyddiau

a gasglwyd ganddo wedi eu hysgrifenu mewn dwy gyfrol fawr unplyg. Nis gwyddis pa beth a ddaeth o'r llawysgrifau gwerthfawr hyny. Mae ystadegaeth yr Ymneillduwyr a gasglwyd ganddo yn 1715 i'w cael etto yn ei lawysgrifen ef yn Llyfrfa Dr. Williams yn Llundain, ac y mae haneswyr wedi gwneyd defnydd mawr o honynt yn y pymtheng mlynedd diweddaf. Pe cawsai Dr. Evans fywyd ac iechyd i orphen a chyhoeddi ei hanes, buasai yn drysor anmhrisiadwy; ond fel arall y gwelodd y Llywydd mawr yn dda iddi fod.

John Kenrick. Yn anffodus nid ydym wedi gallu dyfod o hyd i ddefnyddiau i ysgrifenu cofiant iddo ef. Brawd iddo ef oedd Mr. Edward Kenrick, o Fronycludwr, ond yr oedd rai blynyddau yn henach. Mae yn ymddangos i'r ddau gael eu geni a'u magu yn agos i Ruabon. Yn 1683, y ganwyd John Kenrick, ac fel y nodwyd yn barod, yn 1707 yr urddwyd ef. Yn Wynn-hall, Ruabon, yr oedd yn cyfaneddu. Bu farw Ionawr 28ain, 1744, yn 61 oed. Yr oedd yn foneddwr o ran ei amgylchiadau a'i gymeriad, ac mewn parch mawr gyda phawb o'i gynnulleidfa a'i gydnabod yn gyffredinol. Dywedir ei fod yn lled ogwyddo at Belogiaeth, os nad hefyd at Ariaeth. Aeth amryw o'i hiliogaeth yn Undodiaid.

Francis Boult. Y cwbl a wyddom o'i hanes ef yw iddo gael ei addysgu yn athrofa Caerfyrddin; iddo fod am rhyw gymaint o amser yn Newmarket, sir Flint, ac yn yr Amwythig, fel cynorthwywr i Mr. Job Orton; iddo ymsefydlu yn Wrecsam yn y flwyddyn 1744, fel canlyniedydd i Mr. Kenrick, ac iddo farw yn 1783, neu y flwyddyn ganlynol.

William Browne. Bu ef yn weinidog yma am ddwy-flynedd-ar-bymtheg-ar-hugain, sef o 1783 hyd 1820. Dyna yr oll a wyddom o'i hanes.

John Pearce. Ganwyd ef yn Whitchurch, yn Hampshire, yn 1796. Derbyniodd ei addysg i'r weinidogaeth yn athrofa Wymondley. Wedi gorphen ei amser yn yr athrofa, bu am dymor yn Lymington, yn ei sir enedigol, ond gwrthododd gymeryd ei urddo yno. Dewisodd yn hytrach dderbyn galwad o Wrecsam, lle yr urddwyd ef yn Ionawr, 1822. Wedi llafurio yma yn ddiwyd a llwyddianus iawn hyd y flwyddyn 1853, gorfodwyd ef gan ddadfeiliad ei iechyd i roddi i fyny y weinidogaeth. Ar ei ymadawiad o Wrecsam, aeth i fyw i ynys Guernsey. Bu yn pregethu yn fynych yno, a bu yn foddion i wneyd llawer o ddaioni. Yn 1857, aeth i Great Marlow i ymweled a rhai o'i berthynasau, a bu farw yno Gorphenaf 3ydd, yn y flwyddyn hono. Yr oedd cydgrynhoad dymunol o lawer o ragoriaethau dynol a christionogol yn y dyn rhagorol hwn. Yr oedd yn ddyn penderfynol iawn, ac etto yn llawn hynawsedd ac addfwynder; yn wresog ei ysbryd heb fod yn dymerog; yn llawn o haelioni a dyngarwch, ac yn llwyr ymroddgar i wasanaeth yr Arglwydd ac eneidiau dynion. Mae ei goffadwriaeth yn fendigedig gan ei holl gydnabod.

## QUEEN STREET, WRECSAM.

Dyma yr unig achos Annibynol Cymreig yn y dref. Dechreuwyd pregethu yma mewn ystafell ardrethol, yn y man lle y saif y capel presenol, o gylch y flwyddyn 1820, gan Mr. Hugh Price, yr hwn oedd yn ôf wrth ei gelfyddyd, ac yn bregethwr cynorthwyol mewn undeb a rhyw gangen o'r Wesleyaid; ond yn mhen amser cyflwynodd ef a'i gynnulleidfa fechan eu hunain i'r Annibynwyr, ac urddwyd Mr. H. Price yn weinidog. Yr

oedd Mr. Williams o'r Wern, a Mr. Pearce o Wrecsam, ac eraill, yn bresenol ar yr achlysur. Wedi bod am yn agos i bedair-blynedd-ar-hugain yn yr ystafell, a'r achos felly dan gryn anfantais, llwyddwyd i gael tir mewn lle a elwir Pentrefelin, at adeiladu capel. Y prif offeryn i hyny oedd Mr. John Jones, Morton, yr hwn yn nghyda Mr. Samuel Moss, a wnaeth fwy na neb arall tuag at gael y capel bychan hwnw. Costiodd 200p. heb gyfrif y cludiad, yr hyn a gafwyd yn rhad yn benaf gan y gwyr uchod. Agorwyd y capel Medi 1af a'r 2il, 1844. Lled isel a dilewyrch a fu yr achos hyd farwolaeth yr hen weinidog. Nid oedd dim neillduol yn ei ddawn i dynu sylw, ac nid oedd y capel yn y lle mwyaf manteisiol, er y mawr werthfawrogid ef gan y Cymry a gyrchent yno. Ychydig a wyddom am Mr. Price yn ychwaneg nag y dywedir iddo fod yn ffyddlawn hyd y gallodd. Methasom a chael sicrwydd am adeg ei farwolaeth, ond yr ydym yn tybied mai yn 1854, y bu hyny. Wedi bod am ysbaid heb weinidog, rhoddwyd galwad i Mr. Rowland Williams (Hwfa Mon), yr hwn oedd ar y pryd yn weinidog yn Brymbo, a siriolodd yr achos yn fawr. Yn yr adeg yma gadawodd Charles Griffiths, Ysw., King's Mill, y Saeson, ac ymunodd a'r Cymry, a bu ef yn gefn da iddynt o hyny hyd yn hyn. Trwy ei ymdrechion ef cafwyd tir i adeiladu capel prydferth Queen-street, yr hwn a agorwyd Mawrth 28ain a'r 29ain, 1863. Galwyd ef Ebenezer. Costiodd y capel, y ty sydd yn nglyn ag ef, a'r tir 2,800p. Dangoswyd haelioni mawr gan amryw o'r cyfeillion, ond rhoddodd Mr. Griffiths ei hun 1000p. at y draul; ac nid dyna y cwbl, ond y mae etto yn rhoddi yr haner er cynorthwyo yr eglwys i dalu y 900p. sydd yn aros o'r ddyled. Y mae y boneddwr hwn wedi rhoddi hefyd dir yn rhad er adeiladu *Vestry-room* y tu cefn i'r capel. Ystyriwn fod y fath haelioni yn deilwng o'i gofnodi. Yn 1862, pan oedd y capel newydd yn cael ei godi, derbyniodd Mr. Williams alwad o Bethesda, sir Gaernarfon, a symudodd yno. Yn fuan wedi agor y capel newydd, rhoddwyd galwad i Mr. Owen Evans, Llundain, i fod yn weinidog i'r eglwys hon mewn cysylltiad a Brynbo, a dechreuodd ar ei lafur yma yn haf 1863, a bu ei weinidogaeth yma yn dra derbyniol a bendithiol nes y symudodd i Lanbrynmair yn y flwyddyn 1867. Yn y flwyddyn ganlynol rhoddwyd galwad i Mr. John Morlais Jones, Bethesda, Brynmawr, ond ni bu ei arosiad yma ond ychydig. Derbyniodd alwad o Brynaman, a symudodd yno. Yn y flwyddyn 1871, rhoddwyd galwad i Mr. David Roberts, Caernarfon, ac y mae efe yn parhau i lafurio yma mewn cymeradwyaeth a pharch mawr. Mae yr achos yma wedi cyfnewid yn ddirfawr rhagor yr hyn ydoedd ugain mlynedd yn ol, ac y mae mewn gwedd mor siriol ag y gellir disgwyl i achos Cymreig fod mewn tref o'i maintioli ag y mae mwyafrif y bobl ynddi yn siarad Saesneg.

Nid ydym yn cael fod yr un pregethwr wedi codi yma, ac nid oes genym ddefnyddiau i wneyd unrhyw gofnodiad ychwanegol am Mr. Hugh Price, gweinidog cyntaf yr eglwys.

## Y WERN.

Mae y lle hwn yn mhlwyf Gwrecsam, o fewn tua phedair milldir i'r dref, ar lechwedd ddwyreiniol y Mynydd-mawr, yr hwn sydd yn nodedig am gyfoeth ei adnoddau mŵnawl, ac yn wynebu ar ddyffryn eang Maelor; ond y mae y lle wedi dyfod yn adnabyddus yn Nghymru oblegid ei gysyllt-

iad ag enw un o brif bregethwyr y genedl. Dechreuwyd pregethu yma yn gynar yn y ganrif bresenol mewn bwthyn tô gwellt yn Ochr-y-nant, lle y trigai Edward a Margaret Pritchard. Yr oedd achos gan y Methodistiaid Calfinaidd yn Adwy-y-clawdd er's llawer o flynyddoedd, ac yno y codwyd y capel cyntaf perthynol i'r enwad hwnw yn Ngogledd Cymru, ond hyd yn hyn nid oedd yr Annibynwyr wedi rhoddi eu traed i lawr yn yr ardal. Myfyrwyr yr athrofa oedd ar y pryd yn Wrecsam oedd y rhai cyntaf i bregethu yma, ac yr oedd Mr. William Williams, a ddaeth wedi hyny yn weinidog i'r lle, yn un o'r rhai blaenaf o honynt. Tua diwedd y flwyddyn 1803, neu ddechreu y flwyddyn 1804, y bu hyny. Sicrhai hen ŵr o'r enw Michael Hughes wrth weinidog presenol y Wern, ei fod yn cofio myned i'r ysgol Sabbothol i'r Nant yn y flwyddyn 1800. Os felly, yr oedd yma ysgol Sabbothol wedi ei chychwyn dair blynedd cyn y dyddiad sydd genym am ddechreuad pregethu yn y lle. Symudwyd yn mhen ychydig o'r Nant i le a elwir y Stryd, am ei fod yn fwy cyfleus i gasglu cynnulleidfa, ond yn fuan symudwyd oddiyno drachefn i dŷ gerllaw, yr hwn a gyfaneddid gan un Mary Edwards, ac yn y ty hwnw, yn nechreu 1805, y corpholwyd yr eglwys, ac y gweinyddwyd y cymundeb cyntaf gan yr hybarch Jenkin Lewis, athraw yr athrofa. Nid oedd yma meddir ond pump yn y cymundeb cyntaf, ond crybwyllir enwau saith fel rhai oeddynt mewn cysylltiad agos a'r achos yma yn ei gychwyniad. Edward Davies, y Parc, a'i wraig; yr oeddynt hwy yn aelodau yn Ngwrecsam cyn symud i'r Parc, a'r tebygolrwydd yw mai hwynt-hwy a fu yn offerynau i gael y myfyrwyr i'r ardal i bregethu. Margaret Griffiths, o'r Wern, yr oedd hi yn un o'r aelodau cyntaf, ac yn nodedig am ei duwioldeb. Edward Griffiths, Caeglas, hwy oedd rhieni y diweddar Mr. John Griffiths, Frondeg, a'r presenol Charles Griffiths, Ysw., King's Mill. Arosasant hwy yn y gyfeillach ar ddiwedd oedfa a gynhaliwyd yn y Stryd, pan y pregethodd dau o'r myfyrwyr, sef Meistri T. Powell a W. Williams. Edward Pritchard, y Nant, a agorodd ei ddrws i dderbyn yr arch gyntaf, ac yn nhy Mary Edwards y ffurfiwyd yr eglwys, ac y mae yn bur debyg eu bod hwythau hefyd o'r nifer. Yn ddioed wedi ffurfiad yr eglwys, adeiladwyd capel bychan ychydig yn uwch i fyny na'r lle y saif y capel presenol. Trwyddedwyd ef at bregethu, yn llys Esgob Llanelwy, Medi 13eg, 1805. Aeth y lle yn fuan yn rhy gyfyng, a phenderfynwyd troi yr hen gapel yn anedd-dy, ac adeiladu un mwy, yr hyn a ddechreuwyd cyn diwedd y flwyddyn 1807, yn y fan lle y saif y capel presenol, a'r flwyddyn ganlynol rhoddodd yr eglwys fechan yma yn nghyd a'r ychydig enwau oedd yn Harwd, alwad i Mr. William Williams, yr hwn oedd ar derfynu ei amser yn yr athrofa yn Ngwrecsam, ac urddwyd ef yma Hydref 28ain, 1808. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri W. Hughes, Dinasmawddwy; G. Lewis, Llanuwchllyn; J. Lewis, Wrecsam, a W. Jones, Trawsfynydd. Yr oedd llaw rhagluniaeth yn amlwg iawn yn arweiniad Mr. Williams yma. Yr oedd wedi derbyn galwad o Horeb, sir Aberteifi, ac wedi penderfynu cydsynio a hi, a phan oedd ar ganol ysgrifenu ei atebiad cadarnhaol, daeth un o'i gydfyfyrwyr a gair iddo fod eu hathraw yn myned i Liverpool i gyfarfod yno, a bod rhyddid iddynt hwythau i fyned hefyd os mynent. Taflodd yr ysgrifell o'i law, a gadawodd ei atebiad ar ei haner, gan hwylio i gychwyn yn ddiatreg. Yn Nghaerlleon y mae gyda'i athraw yn galw i weled T. Jones, Ysw.—"Jones, *Cutler*," fel ei gelwid—ac wedi i Mr. Jones ddeall fod Mr. Williams yn bwriadu ymsefydlu yn y De, a

chan weled y buasai hyny yn golled ddirfawr i'r Gogledd, y mae yn ei anog i sefydlu yn y Wern a Harwd, gan sicrhau iddo na cha'i fod eisiau a rno. Gwrandawodd Mr. Williams arno, ac wedi dychwelyd, anfonodd atebiad nacaol i'r eglwys yn Horeb, ac yn ddiameu yr oedd rhagluniaeth neillduol yn hyny.

Wedi sefydliad Mr. Williams yma aeth yr achos rhagddo yn barhaus, cynyddodd y gynnulleidfa, ac ychwanegwyd llawer at yr eglwys. Yn y flwyddyn 1825, helaethwyd y capel i'w faintioli presenol, a phrynwyd darn helaeth o dir am 40p. er helaethu y fynwent. Bu cysylltiad Mr. Williams a'r eglwys yn un nodedig o hapus. Cymerai yr aelodau oll fel ei blant, ac edrychent hwythau oll arno yntau fel eu tad. Wedi llafurio yma am wyth-mlynedd-ar-hugain, derbyniodd alwad o'r Tabernacl, Great Cross-hall street, Liverpool, a gwnaeth ei feddwl i fyny i gydsynio a hi, er mai digwyddiad rhwygedig iawn i'w deimlad ei hun yn gystal ag eiddo yr eglwys yma oedd datod hen gysylltiad oedd mor dyner. Symudodd i Liverpool yn niwedd y flwyddyn 1836. Bu yr eglwys yma am dair blynedd ar ol hyny heb weinidog, ac ymddibynai ar gynorthwy gweinidogion a phregethwyr dyeithr; ond cyn pen tair blynedd yr oedd iechyd Mr. Williams wedi gwaelu yn Liverpool, a phenderfynodd ddychwelyd i'r wlad, a phan ddeallodd eglwysi y Wern a'r Rhos hyny, rhoddasant wahoddiad caredig iddo i ddychwelyd i hen faes ei lafur. Ond yr oedd ei nerth wedi pallu, fel na bu er dychwelyd yn alluog i gyflawni ei weinidogaeth. Gwywodd yn raddol, ac wedi rhai misoedd o gystudd, bu farw Mawrth 17eg, 1840, yn 59 oed.

Cyn diwedd y flwyddyn hono rhoddwyd galwad i Mr. John Parry, Machynlleth, i ddyfod yma yn weinidog, a chynaliwyd cyfarfod ei sefydliad Tachwedd 18fed, 1840. Llafuriodd Mr. Parry yma yn egniol a gweithgar am bum' mlynedd; ac y mae parch dwfn i'w goffadwriaeth fel dyn diwyd, gonest, a chydwybodol, yn yr eglwys hyd y dydd hwn. Dychwelodd i Fachynlleth, lle yr arhosodd hyd nes y gwnaeth ei feddwl i fyny i ymfudo i America, lle y gorphenodd ei yrfa. Yr ydym eisioes wedi gwneyd cofnodiad byr am dano yn nglyn a Machynlleth. Wedi bod am ychydig heb weinidog, rhoddodd yr eglwys hon alwad i Mr. William Lloyd, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Medi 15fed, 1846. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. A. Francis, Ruthin; holwyd y gofyniadau gan Mr. O. Owens, Rhesycae; dyrchafwyd yr urddweddi gan Mr. T. Ridge, Jerusalem; pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. H. Morgan, Sammah, ac i'r eglwys gan Mr. M. Jones, Bala.* Bu Mr. Lloyd yma hyd ddiwedd y flwyddyn 1862, ac yn fuan ymsefydlodd yn Alder'sgate, Llundain. Yn nhymor ei weinidogaeth ef yr adeiladwyd capel ar y Coedpoeth, ac yr aeth nifer o aelodau yr eglwys hon allan er ffurfio eglwys yno. Wedi bod am fwy na blwyddyn heb weinidog, rhoddwyd galwad i Mr. John Thomas, Coed-duon, sir Fynwy, a dechreuodd ei weinidogaeth yma yr ail Sabboth yn Mawrth, 1864, a chynaliwyd cyfarfod ei sefydliad y dyddiau olaf o'r Mai canlynol; ac y mae yn parhau i lafurio yn y lle, a'r achos yn ei holl ranau mewn gwedd lewyrchus. Yn y flwyddyn 1869, adeiladwyd ysgoldy ar y Frondeg at gynal ysgol Sabbothol, a phregethu yn achlysurol. Cafwyd tir yn rhad gan Mr. Edward Daniel, a thrwy i'r gweithwyr gloddio y ceryg, a'r amaethwyr eu cludo

* *Dysgedydd*, 1846. Tu dal. 347.

yn rhad, ni chostiodd ond 100p. Agorwyd ef y Llun'a'r Mawrth cyntaf yn Gorphenaf, 1869. Yn 1872, codwyd ty cyfleus i'r gweinidog trwy draul o 300p.; ac yn awr y mae y capel yn myned o dan adgyweiriad llwyr oddifewn ac oddiallan, ac ni bydd y draul yn ddim llai na 300p. arall, fel y gwelir rhwng y cwbl nad ydyw yr eglwys na segur na diffrwyth.

Bu yma lawer o bobl rhagorol o bryd i bryd. Yn mysg y rhai a wasanaethasant swydd diaconiaid yn yr eglwys, crybwyllir enw Edward Jones, Plasbuckley Ymddengys mai efe oedd y diacon cyntaf fu yn yr eglwys. Joseph Chalenor; gydag ef y bu Mr. Williams yn llettya am flynyddoedd, ac yr oedd yn ŵr rhagorol. Thomas Taylor, efe oedd tad Mrs. Jacob gynt o Abertawy. Edward Dryhurst. Bu ef a'i fab yn dosbarthu y *Dysgedydd*, a llyfrau crefyddol eraill, yn yr eglwys o'i gychwyniad, ac y mae ei ŵyr, John Evans, yn gwneyd hyny etto; a'r teulu yma sydd wedi bod yn arwain y gân yn y gynnulleidfa, ac yn gofalu am y capel a'r fynwent, dros dair cenedlaeth. Edward Hughes, Felin-newydd, yr oedd ef yn frawd i Mr. John Hughes, Liverpool, awdwr *Hanes Methodistiaeth Cymru*, ac yn un o ffyddloniaid yr achos. William Thomas, Nant, a Robert Jones, Siop, Wern, oeddynt ddynion o ddylanwad mawr yn yr eglwys. Bu yr olaf am flynyddoedd yn ngwasanaeth Mr. Williams. Robert Jones, Ystryd; J Jones, E. Jones, E. Jones, Wern; W. Lewis, Joseph Chalenor, ieu.; B. Harrison, a Thomas Roberts a fuont yn gweini y swydd yn yr eglwys. Cofir yn hir am garedigrwydd teuluoedd Plas-buckley, a'r Frondeg, a'r Pentre', a'r Felin, yn gystal a llawer eraill, y mae eu llafurus gariad mewn coffadwriaeth ger bron Duw. Diaconiaid presenol yr eglwys ydyw Edward Daniel, John Evans, George Roberts, Richard Jones, John Price, Jonathan Roberts, a Job Thomas.

Nid ydym yn cael i ddim ond dau bregethwr godi yma, sef Moses Ellis, Mynyddislwyn, a Robert Morris, Tredegar, ac yr ydym eisioes wedi cyfeirio atynt yn nglyn a'r eglwysi hyny.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

William Williams. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1781, mewn cilfach neillduedig a elwir Cwmhyswn ganol, (Cwm-y-swn, fel y tybir), yn mhlwyf Llanfachreth, yn sir Feirionydd Enwau ei rieni oeddynt William a Jane Probert, a gelwid yntau yn William Williams yn ol enw cyntaf ei dad, yr hyn a wneid yn lled fynych yn y dyddiau hyny. Yr oedd ei rieni yn dal tyddyn bychan, ac yr oeddynt yn mysg eu cymydogion yn bobl hynaws a thangnefeddus. Nid yw yn ymddangos i'w dad erioed fod yn aelod gydag unrhyw enwad, er yr arferai wrando yr efengyl trwy ei oes, ac arferai gynal addoliad crefyddol yn ei deulu. Yr oedd ei fam yn aelod gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, ac yn mhob ystyr yn wraig rinweddol. Bu iddynt saith o blant, y rhai ydynt oll er's blynyddau wedi huno gyd a'u tadau. Yr oedd William o'i febyd yn nodedig yn mysg plant y gymydogaeth, am ffraethder ef atebion, a'i dymer lawen, fywiog, a chariadus. Pan oedd tua thair-ar-ddeg oed, teimlodd argraffiadau crefyddol dwysion ar ei feddwl wrth wrando Mr. Rhys Davies—a ddaeth wedi hyny yn dra adnabyddus fel Rhys Davies, y glun bren—yn pregethu mewn lle a elwid Bedd-coedwr. Nid oedd Rhys Davies ond pregethwr tra chyffredin, a nodedig o arw a thrwsgl ei ddawn, ond yr oedd gan Mr. Williams trwy ei

oes barch dwfn iddo fel ei dad yn yr efengyl. Cyn ei fod yn bymtheg oed derbyniwyd y llangc William Williams yn gyflawn aelod yn hen gapel Penystryd, ac yn yr oes hono yr oedd derbyn un mor ieuangc yn beth anghyffredin; ac yr oedd yno lawer yn barod i ofyn, "Beth a fydd y bachgen hwn?" er na ddaeth i galon yr un o honynt i ddychymygu y daethai byth y peth y daeth ar ol hyny. Cymhellwyd ef i ddechreu pregethu pan oedd tua phedair-ar-bymtheg oed. Wedi pregethu yn ei fro enedigol am yn agos i ddwy flynedd, aeth i Aberhafesp, gerllaw Drefnewydd, i'r ysgol at un Mr. Roberts, ac arosodd yno am ysbaid naw mis, a chafodd yno fanteision i ddysgu ychydig Saesoneg er ei barotoi i fyned i'r athrofa. Yn y flwyddyn 1803, derbyniwyd ef i'r athrofa yn Wrecsam, ac arosodd yno am bedair blynedd. Nid rhyw lawer o gynydd a wnaeth yno yn yr ieithoedd dysgedig, fel eu gelwir, er iddo ddysgu digon o'r iaith Roeg fel ag i'w alluogi i edrych i mewn i destyn gwreiddiol y Testament newydd, gyda golwg ar ystyr yr adnodau y pregethai arnynt. Yr oedd diffyg manteision blaenorol yn cyfrif mewn rhan am hyny, ac yn enwedig yr oedd wedi ei lyngcu mor llwyr gan ysbryd pregethu, fel mai nid rhyw lawer o flas oedd ganddo ar ddim arall. Dywedir ei fod wrth ymadael a'r athrofa yn dyweyd wrth ei athraw, yn ei ddull chwareus ei hun, ei fod yn credu nad ymadawodd neb oddiyno yn onestach nag efe. Cydsyniodd a galwad yr eglwysi bychain yn y Wern a Harwd, ac urddwyd ef yn y Wern, Hydref 28ain, 1808. Yr ydym eisioes wedi cyfeirio at yr amgylchiadau rhagluniaethol a'i harweiniodd i ymsefydlu yno. Ymaflodd yn ei waith o ddifrif, fel un yn teimlo fod ganddo weinidogaeth i'w chyflawni. Cymerodd yn fuan ofal yr eglwys oedd newydd ei sefydlu yn y Rhos, a sefydlwyd achosion newyddion, yn benaf trwy ei lafur ef, yn Rhiwabon a Llangollen. Yr oedd ganddo ofal dros yr holl eglwysi, a pha le bynag y teimlid y baich yn gwasgu, ato ef y deuid am help. Daeth yn fuan yn brif bregethwr ei enwad yn Nghymru, ac yn un o gedyrn cyntaf y pulpud Cymreig. Gelwid am ei wasanaeth agos i holl gyfarfodydd a chymanfaoedd Gogledd Cymru, ac yn aml iawn ymwelai a'r De. Yr oedd ei farn a'i athrawiaeth yn Galfiniaeth uchel ar ei doriad cyntaf allan, fel yr oedd, yn wir, holl bregethwyr ei enwad yn Nghymru; ond cymedrolodd ei olygiadau yn fuan. Darllenodd yn fanwl weithiau Dr. Edward Williams ac Andrew Fuller, a syrthiodd i mewn a'u golygiadau. Yr oedd yn un o "Seithwyr y Llyfr Glas," fel y gelwid *Galwad Difrifol* Mr. J. Roberts, Llanbrynmair; ac y mae yn ddiau mai efe yn y pulpud, a Mr. Roberts, Llanbrynmair, trwy y wasg, a wnaeth fwyaf o neb yn Nghymru i droi yn ol genllif Antinomiaeth oedd wedi dyfod dros ein gwlad. Yn y flwyddyn 1817, priododd a Miss Rebecca Griffiths, o Gaerlleon, boneddiges ieuangc dra chrefyddol, ac yn meddu cryn gyfoeth, a'r hon a droes allan yn wraig dda odiaeth iddo, ac yn mhob ystyr yn "goron i'w gwr." Bu iddynt bedwar o blant, dau fab a dwy ferch. Ar ol priodi bu yn byw am dymor yn Llangollen, ac wedi hyny symudodd i'r Talwrn, rhwng y Wern a'r Rhos, lle y buont yn hapus am flynyddau lawer. Mawrth 3ydd, 1836, bu farw Mrs. Williams, ar ol bod yn dihoeni yn hir, ac effeithiodd hyny yn fawr ar ei iechyd ac ar ei feddwl yntau. Yn yr amgylchiad profedigaethus yma, gogwyddwyd ei feddwl i ymadael a hen faes ei lafur, a phan ddeallodd yr eglwys yn y Tabernacl, Great Cross-hall street, Liverpool, hyny, rhoddasant alwad unfrydol iddo. Symudodd Mr. Williams yno cyn diwedd y flwyddyn 1836, a theimlai ei hun mai un o'r

amgylchiadau mwyaf rhwygedig i'w deimladau yn ei oes oedd datodiad yr hen gysylltiad rhyngddo a'r Wern a'r Rhos. Parodd y newydd am ei symudiad syndod ac anfoddlonrwydd cyffredinol, oblegid nid oedd neb wedi dychmygu nad yn Williams o'r Wern y byddai byw a marw. Ond dywedai ef ei hun ei fod yn hollol dawel ei feddwl, wedi difrifol a manwl ystyried yr holl amgylchiad, a gweddio am gyfarwyddyd ac arweiniad dwyfol, nad oedd wedi pechu yn erbyn y nef, nac yn erbyn ei gydwybod trwy yr hyn a wnaeth, er ei fod yn droseddwr mawr yn ngolwg llawer o'r rhai na wyddent ddigon o'r amgylchiadau, i roddi barn deg ar y mater. Nid oes achos celu y ffaith, yr oedd wedi gwario y rhan fwyaf o gynysgaeth ei wraig i ddwyn ei deulu i fyny, a theimlai ei fod yn gwneyd cam a'i blant trwy hyny; a phan y gwelodd faes yn agored o'i flaen, lle y tybiai y gallai fod yn llawn mor ddefnyddiol, yr oedd yn argyhoeddedig nad oedd yn pechu yn erbyn yr Arglwydd wrth symud iddo. Bu yn nodedig o ddefnyddiol yn Liverpool. Nid oedd nifer yr aelodau ar ei sefydliad yn y Tabernacl, yn mis Hydref, 1836, ond 256, ond cyn pen tair blynedd, yr oedd wedi lluosogi i fwy na 400, a'r achos yn ei holl ranau mewn gwedd lewyrchus. Adfywiodd holl sefydliadau yr eglwys, a daeth a bywyd a theimlad yn amlwg yn ei holl wasanaeth. Ond dadfeiliodd iechyd Mr. Williams yn fawr. Yr oedd yr amgylchiadau a'i cyfarfu wedi ysigo ei holl gyfansoddiad i raddau, ac yr oedd symud o'r wlad i'r dref, yn y cyfnod hwnw o'i oes, yn rhwym o effeithio ar ei iechyd; ac yn ychwanegol at hyny, cafodd anwyd wrth fyned ar ddiwrnod ystormllyd i Heol Mostyn i gyfarfod dirwestol, fel o hyny allan yr ofnid fod ei ddydd gwaith ar ben. Ond parhaodd i lafurio yn Liverpool hyd fis Awst, 1839, pryd y dywedodd ei feddyg wrtho fod yn rhaid iddo adael Liverpool, a dychwelyd i Gymru, onide nad oedd dim gobaith am ei adferiad ef na'i anwyl ferch Elizabeth, yr hon hefyd oedd yn wanaidd a nychlyd. Pan ddeallodd yr eglwysi yn y Wern a Rhos ei fod dan orfod i symud yn ol i Gymru, cytunasant, er eu mawr anrhydedd, i anfon gwahoddiad caredig iddo ddychwelyd atynt i dreulio gweddill ei ddyddiau. Cydsyniodd a'u cais, ac er mor dŷn oedd ei afael yn eglwys y Tabernacl, a'u gafael hwythau ynddo yntau, traddododd ei bregeth ymadawol iddynt nos Sabboth, Hydref 20fed, 1839. Symudodd i dŷ yn Bersham, gerllaw Wrecsam, yn ymyl y ty lle y buasai byw am ychydig cyn symud i Liverpool; ac ymddangosai yn adfywio yn fawr ar y cyntaf, ond yr oedd angau yn y ty, ac ni bu yn hir cyn ei lwyr ddadfeilio. Ychydig o weithiau y pregethodd wedi symud i Gymru, ac yr oedd yn analluog i fyned ond yn anaml o'i dŷ; ond yr oedd adfywiad grymus yn eglwysi y Wern a'r Rhos, fel yn y rhan fwyaf o eglwysi y wlad ar y pryd, ac yr oedd ei enaid yn ymhyfrydu wrth glywed y newyddion da a ddygid iddo, er ei fod yn gofidio am nas gallasai gymeryd rhan yn y gwaith. Yn ei ymddiddanion a'i gyfeillion, y rhai a ymwelai ag ef, yr oedd yn amlwg ei fod yn addfedu yn gyflym i'r nefoedd. Yr oedd ei ferch hynaf, Elizabeth, ac yntau yn wael ar yr un pryd, ac yr oedd yn amlwg ar y ddau eu bod yn myned, ac yr oedd yn anhawdd gwybod pa un o'r ddau a gymerid ymaith gyntaf. "Ymddengys eu bod yn arfer ymddiddan a'u gilydd am farw, ac am fyned i'r nef, fel pe buasent wedi cynefino a hyny, ac yn ymhyfrydu yn y meddwl o gael eu datod a bod gyda Christ, gan gredu mai llawer iawn gwell ydyw. Byddai Mr. Williams pan godai y boreu yn myned at ei gwely i edrych am dani; ac

un tro gofynai iddi, 'Wel, Eliza, pa fodd yr ydych chwi heddyw?' 'Gwan iawn fy nhad,' oedd yr ateb. Ebai yntau, 'Yr ydym ein dau ar y *race*, pwy a â gyntaf i'r pen, debygech chwi?' 'O, fi nhad, disgwyliaf fod genych chwi waith i'w wneuthur etto ar y ddaear.' 'Na,' ebe yntau, ''rwyf yn meddwl fod fy ngwaith inau agos ar ben.' 'Wel,' ebe hithau, 'yr wyf yn meddwl mai myfi a â'n gyntaf.' Atebai yntau, 'hwyrach mai felly y mae oreu, fy mod i dipyn yn gryfach i ddal yr ergyd.' 'Ond a ydych chwi yn hiraethu am weled pen y daith?' ychwanegai. 'Ydwyf o'm calon,' meddai hithau. 'Paham hyny,' ail ofynai, 'am y caf weled llawer o'm hen gydnabyddiaeth, a chaf weled fy mam, a mwy na'r cwbl, caf weled yr Iesu.' 'Ho,' ebe yntau, 'dywedwch wrthynt fy mod inau yn dyfod, ac y byddaf yno yn union.'"

Bu hi farw Chwefror 21ain, 1840, a chladdwyd hi yn medd ei mam; ac o hyny allan y mae yntau yn gwaelu yn gyflym. "Nos Lun, Mawrth 16eg, dymunodd gael gweled diaconiaid y Wern a'r Rhos, ac wedi eu cael ato, ymgynghorodd gryn lawer a hwynt yn nghylch amgylchiadau yr achos, a rhoddodd gynghorion difrifol iddynt. Wedi iddynt fyned ymaith, sylwyd ei fod yn colli ei wybodaeth ac yn prysuro i fyned ymaith, a'r boreu tranoeth, oddeutu naw o'r gloch, a *Williams o'r Wern nid oedd mwyach!* Bu farw yr 17eg o Fawrth, 1840, yn y 59 flwyddyn o'i oedran." *

Claddwyd ef yn mynwent y Wern ar y 25ain o Fawrth, lle y daeth torf luosog i dalu eu teyrnged iddo, ac yr oedd yn bresenol fwy na 35 o weinidogion. Wrth y ty gweinyddwyd gan Dr. Arthur Jones, Bangor, a Dr. Raffles, Liverpool, ac yn y capel ac wrth y bedd gwasanaethwyd gan Meistri S. Roberts, Llanbrynmair; J. Pearce, Wrecsam; M. Jones, Llanuwchllyn; C. Jones, Dolgellau; W. Rees, Dinbych; R. Roberts, Tanyclawdd, gweinidog perthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd, a Dr. Raffles, Liverpool; a'r Sabboth canlynol pregethwyd ei bregeth angladdol yn y Wern a'r Rhos i gynnulleidfaoedd lluosog a galarus gan Mr. W. Rees, Dinbych.

Gadawodd ar ei ol dri o blant, dau fab ac un ferch. Gwaelodd ei fab hynaf, James, yr hwn oedd ŵr ieuangc hawddgar, yn gyflym ar ol ei dad, ac wedi bod yn dihoeni yn y darfodedigaeth am ysbaid blwyddyn, bu farw yn niwedd Mawrth, 1841, a chladdwyd ef yn yr un bedd a'i rieni. Mae ei ddau blentyn ieuengaf, Jane a William, yn Awstralia er's llawer o flynyddau, ac yn gysurus arnynt yn eu hamgylchiadau, ac y mae yn dda genym ychwanegu eu bod yn gwasanaethu Arglwydd Dduw eu tad. Bydded cysgod yr Hollalluog drostynt hwy, a thros eu hiliogaeth o genhedlaeth hyd genhedlaeth.

Er i ni gael yr hyfrydwch lawer gwaith o weled a gwrando Mr. Williams yn pregethu—ac ystyriwn hyny yn un o ragorfreintiau penaf ein hoes—etto nis gallwn ymddiried i ni ein hunain y gorchwyl o dynu portread o hono, ac yn enwedig gan fod hyny wedi ei wneyd eisioes gan amryw a gafodd fwy o gyfleusderau i wrando arno, ac i gymdeithasu ag ef nag a gawsom ni, heblaw eu bod mewn oedran addfetach i ffurfio barn am dano. Boddlonwn gan hyny yn unig ar roddi ychydig ddifyniadau o'r eiddynt hwy, heb ychwanegu dim o'r eiddom ein hunain, ond a fydd yn angenrheidiol i'w

* *Gweithiau Hiraethog.* Cyf. II. Tu dal. 46. I'r hwn yr ydym yn ddyledus am lawer o ffeithiau yr hanes blaenorol.

cysylltu yn nghyd. Nid awn yma i edrych arno fel cyfaill cywir, a gweinidog gofalus, a dyn o ysbryd cyhoeddus, yn yr hyn y bu o wasanaeth mor anmhrisiadwy i'w enwad; ond cyfyngwn ein sylwadau ato agos yn gwbl fel pregethwr, oblegid mai yn y pulpud y gwnaeth iddo ei hun enw anfarwol.

"Fel pregethwr yr hynododd Mr. Williams ei enw yn ei wlad, ac yn mysg ei genedl, ac y dyrchafodd efe anrhydedd yr enwad y perthynai iddo yn Nghymru yn fwy na neb arall o'r enwad hwnw yn ei oes. Cyfnod rhyfedd am bregethwyr a phregethu yn Nghymru oedd cyfnod boreu ei weinidogaeth ef. Yr oedd treiddiolder y fellten, a nerth y daran a'r ddaeargryn yn cerdded yn ngweinidogaeth y dyddiau hyny. Williams oedd y cyntaf a'r penaf, fe ddichon, i dywallt y nerthoedd hyny i ysbryd y weinidogaeth yn mysg yr Annibynwyr yn Ngogledd Cymru. Athrawon a dysgawdwyr yn benaf oedd y tô o weinidogion oedd ar y maes yn mysg yr Annibynwyr, yn y Gogledd o leiaf, pan ymddangosodd y bachgen o Gwmhyswn arno Yr oeddynt hwy megis y planedau adnabyddus yn dilyn eu gyrfaoedd yn rheolaidd, heb un amser gyffroi sylw neillduol at eu cylchdroion. Daeth Williams allan fel comed ddyeithriol, losgyrnog, ymddangosiad yr hon a dyn sylw pawb oddiwrth y planedau a'r ser sefydlog a frithent y nwyfre o'i hamgylch, ati hi ei hun. Y mae ei ffurf a'i gwedd wahanol, cyflymdra ei hysgogiad, ei lliw a'i llewyrch estronol, yn enyn cywreinrwydd cyffredinol, fel y cyfyd pawb allan i gael golwg arni. Cydsylla miloedd o lygaid bob nos tua'r parth hwnw o'r ffurfafen y bydd hi yn ymwybio trwyddo. Cyffelyb oedd yntau ar gychwyniad ei yrfa weinidogaethol; yr oedd tanbeidrwydd ei areithyddiaeth, cyflawnder ac ystwythder ei ddoniau, bywiogrwydd ei ddychymyg, newydd-deb ei ddrychfeddyliau, a nerth ei hyawdledd yn eu traddodi, yn deffro y broydd, ac yn rhoddi adenydd i'w enw, gan drosglwyddo y son am dano yn mhell ac yn agos, fel i ba le bynag yr elai byddai tyrfaoedd lluosog yn ymgynull mewn awyddfryd mawr am ei wrando.

"Yn ystod blynyddau boreuol ei weinidogaeth, yr oedd yn wresog a thanllyd iawn ei ddull yn traddodi—yn gollwng y ffrwyn i'w ddychymyg a'i deimladau braidd yn ormodol, o leiaf felly y barnai ef ei hun yn nhymor addfetach ei fywyd. Soniai yn fynych yn ei flynyddau diweddaf am ddyddiau ieuengctyd ei weinidogaeth:—'Yr oeddwn wedi llyngcu Calfiniaeth uchel yn *raw*,' meddai, 'cyn myfyrio, chwilio, ac ystyried pethau fel y dylaswn. Nid oeddwn yn wir wedi meddwl fod angen i mi wneyd hyny; canys tybiaswn, neu cymeraswn yn ganiataol, o'r dechreu ei bod yn iawn. Ceisiwn ateb gwrthddadleuon, a chysoni pethau â'u gilydd, a meddyliwn fy mod yn gwneyd gwaith llyfn iawn arni, ond teimlwn wendid a phetrusder weithiau er hyny, ond gobeithiwn na byddai y gwrandawyr yn canfod hyny. Parodd hyn i mi droi i chwilio a phrofi fy nghredo, a fy hen bregethau. Gwelais achos i gymedroli cryn lawer ar fy ngolygiadau, a chefais lawer o oleuni a chymhorth i adnabod ffordd Duw yn fanylach drwy ddarllen gweithiau Dr. Bellamy, a Dr. Williams, ac Andrew Fuller. Yr oedd genyf bob amser awydd ac amcan i droi at, a deffro cydwybodau, ond teimlwn yn aml bod y naill ran o'r bregeth fel yn milwrio yn erbyn rhan arall o honi, ac felly y byddai hi yn debycach i ladd ei hun, nag i ladd y pechadur.'

"Cymedrolodd yn ei olygiadau duwinyddol, ac yn ei ddull o draddodi tua'r un amser, fe ymddengys. Yr oedd ansawdd ei bregethau, a'i arddull

o bregethu, yn gryn wahanol dros yr ugain mlynedd olaf o'i oes i'r hyn oeddynt yn flaenorol, ond yr oedd yr hyawdledd, y nerth, a'r effeithioldeb o hyd yn aros, ac yn hytrach yn cynyddu fel yr oedd ei alluoedd meddyliol ac areithyddol yn dyfod i fwy o addfedrwydd dan ddysgyblaeth profiad a barn. Yn y tymor cyntaf, yr oedd ei areithyddiaeth yn ymdywallt fel rhuthr o wlaw taranau, yn peri llifeiriant chwyddedig a ysgubai ymaith bob peth a safai o'i flaen. Yn y tymor olaf, yr oedd yn debycach i ddisgyniad y 'gwlithwlaw ar irwellt, a'r cawodydd ar laswellt,' bob yn ail a heuldes hyfryd yn pelydru rhwng y cymylau dyfrllyd, nes y byddo holl lysiau a blodau, glaswellt a hadau, y ddaear yn cydsirioli ac yn tyfu tan y dylanwad bendithiol.

"Wrth wrando Williams yn pregethu, gallasech ei gyffelybu i delynor medrus, yr hwn, cyn dechreu chwareu ei dôn, a drinia ac a gyweiria dànau ei delyn; ac wedi cael pob tant i gywair priodol, a chwery ei fysedd ar hyd-ddynt, nes y clywid y gyd-gerdd bereiddiaf a melusaf yn dylifo megis oddirhwng ei ddwylaw. Cymerai yntau ei destyn megis y cerddor ei delyn, ac wedi pum' mynyd, fe allai, o gyweirio ei dànau mewn rhagymadrodd a dosbarthiad, dechreuai chwareu arnynt, gan dywallt allan y fath beroriaeth seinber, fel os byddai rhywun o'r rhai a fyddent yno yn bresenol heb ei gynhyrfu dan ei dylanwad, rhaid ei fod wedi cau ei glustiau, fel y neidr fyddar, rhag gwrando ar lais y rhiniwr a'r swynwr cyfarwydd hwn.

"Pan safai uwchben tyrfa cymanfa, byddai yn hawdd i'r rhai cyfarwydd âg ef, frudiaw oddiwrth ei ddull a'i agwedd cyn pregethu, ar y cyfryw achlysuron, pa fodd y byddai arno pan yr elai ati. Pan fyddai yn llawn ysbryd pregethu, a'i feddwl yn cydio yn ei fater yn y rhagolwg arno, nes y byddai ei enaid wedi chwyddo gan ddrychfeddyliau, byddai ei wefusau a'i aeliau yn ymsymud ac yn crychu, gan gyfnewid eu dull a'u ffurf yn barhaus; byddai ei lygaid megis yn chwyddo, ac yn mynych newid ei ddynodiant *(expression)*, megis pe buasai drychfeddyliau ei enaid yn saethu allan trwyddo, y naill ar ol y llall, a phob un yn argraffu ei ddelw ei hun arno yn ei fynediad drwyddo, a'r naill yn dinystrio gwaith y llall, mor gynted ag y gorphenai ef. Edrychai weithiau yn hynod o absenol, fel un wedi llwyr soddi, o ran ei feddwl, i ryw fater. Pan orphenai yr hwn a bregethai o'i flaen, cyfodai i fyny mewn agwedd a dull a ddangosai bod ei holl deimladau wedi eu hadsefydlu, a bod y gwaith ag oedd yn myned yn mlaen yn y peiriant mewnol yn awr wedi sefyll, i'r dyben i'w ail osod i droi yn rheolaidd, er bwrw allan ei gynyrch i'r cyhoedd. Wedi darllen ei destyn, yn lled aflerw yn gyffredin, a rhagymadroddi yn fyr, fel y crybwyllwyd, cydiai yn ei fater, a dosbarthai ef yn gryno ac yn fyr, a dechreuai ei osod allan a'i egluro mewn trefn, gan gadw perffaith lywodraeth ar ei deimladau a'i lais, fel un a fyddai yn gwbl feistr arno ei hun, ar ei fater, ac ar ei wrandawyr; fel y byddai yn myned i mewn iddo, ac yn cynhesu ynddo, dechreuai delweddau ei feddwl godi drachefn i'w wynebpryd a'i lygaid, a'r drychfeddyliau ysblenydd hyny a fuasent o'r blaen yn berwi yn ei galon a ddechreuent ddylifo allan, gan gymeryd eu hadenydd oddiar ei wefusau, y naill ar ol y llall, nes y byddai yn fuan wedi hoelio pob clust wrth ddôr ei enau, pob llygad o'r dorf fyddent dano wedi eu sefydlu arno, a phob meddwl wedi ei glymu wrth ei fater. Weithiau byddai yr holl gynnulleidfa yn gwrando mewn dystawrwydd syn, pob un megis yn arswydo gollwng nac ochenaid nac anadliad uwch

na'u gilydd allan, a phob gair o'i enau, fel y disgynai ar y glust, yn taro y deigryn dystaw allan o'r canoedd llygaid a fyddent wedi eu sefydlu arno, ac yn gwylio symudiad ei wefusau! Bryd arall, byddai ocheneidiau, gwenau, a dagrau, i'w clywed a'u gweled, y naill yn dyrchafu o'r fynwes, y lleill yn argraffedig ar y wedd, y lleill yn dylifo o'r llygaid, yn cyd-gymysgu â'u gilydd, fel ag y byddai holl deimladau y natur ddynol wedi eu cynhyrfu a'u galw i weithrediad gan 'Feistr y Gynnulleidfa.' Yr oedd ei lais yn hyglyw i bawb, pa mor luosog bynag fyddai y gynnulleidfa, a'i dôn yn beraidd annghyffredin, pan fyddai yn ei lawn hwyliau yn traddodi; ac ymddangosai yn myned trwy ei waith yn naturiol, esmwyth, a diboen, heb gymaint a gwlithyn o chwys ar ei wyneb. Nid trwy ymladd, gorchest, a gorthrech, y byddai byth yn dryllio teimladau ei wrandawyr, ond eu denu, eu hennill yn esmwyth a naturiol, eu tymheru a'u toddi, yn gyffelyb i ddylanwad yr haul ar y cwyr." *

"Yr oedd Mr. Williams, yn ddiddadl, yn un o brif bregethwyr ei oes. Nid oedd dim nodedig iawn yn ei ymddangosiad allanol. Yr oedd, ni a dybiem, tua phum' troedfedd ac wyth modfedd o daldra; ei gorph yn llunaidd, ac o wneuthuriad cadarn, ond yn lled deneu; yn ei ieuengctyd yn wridgoch a theg yr olwg, ond er's blynyddoedd lawer wedi colli y gwrid yn gwbl o'i wynebpryd. Yr oedd ganddo dalcen lled uchel a llawn, ond nid llydan; trwyn ag ychydig bach o godiad ar ei ganol ac yn camu ychydig at yr ochr dde; genau prydferth annghyffredin; a'r llygaid mwyaf barddonol ac awgrymiadol a welsom ni odid erioed. Yr oedd rhywbeth yn ei olwg yn dynodi dyn â mesur annghyffredin o chwareu-garwch ynddo. Ac yr ydym yn tybied mai un felly yn arbenig ydoedd yn naturiol. Yr ydym yn darllen ei fod 'er yn blentyn, yn hynod o ran ei dymher lawen, tywiog, a chwareus; fel yr arferai ei dad ddywedyd yn aml am dano, na wyddai yn y byd pa beth i'w feddwl o hono, a'i fod yn ofni y byddai yn *od* ar holl blant y gymydogaeth.' Dywedai ei hunan, medd Mr. Richard Parry, Llandudno, ei fod pan yn ddyn ieuangc, yn agored i ysgafnder; ac i ryw hen wraig rywbryd ei gyfarch, ar ol ei bregeth, a dywedyd wrtho,—'Yr ydych yn bregethwr da, ond y mae yn rhaid i chwi roddi heibio y cellwair yna, onide, ni wnewch fawr o les.' Ac yn ol y diweddar Mr. Cadwaladr Jones, Dolgellau,—'Yr oedd ei ddull a'i agwedd, pan y dechreuodd bregethu, yn lled annerbyniol gan lawer. Golwg hyf, a lled ysgafn a chellweirus oedd arno pan y dechreuodd bregethu, a byddai yn dueddol i ddywedyd lluaws o ymadroddion a dueddent i yru ei wrandawyr yn ysgafn a chwerthinllyd.' Nid ydym yn amheu dim nad hyny oedd y mwyaf naturiol i'w ddawn ef. Yr oedd y bregeth gyntaf erioed a glywsom ni ganddo, yr hyn oedd yn ein capel ni yn Nghaergybi, tua y flwyddyn 1821, oddiar 'Weledigaeth yr esgyrn sychion,' yn un dra difrifol. Yr ail dro i ni ei glywed, yr oedd yn dra gwahanol. Yr oedd hyny drachefn yn Nghaergybi, ar yr achos Cenhadol, yn y flwyddyn 1825, pryd, ar ol pregeth nodedig o ddifrifol gan y diweddar Mr. Roberts, Llanbrynmair, oddiar Zechariah iv. 6, y pregethodd Mr. Williams, Esther iv. 14:—"Oherwydd os tewi â son a wnai di y pryd hyn, esmwythdra ac ymwared a gyfyd i'r Iuddewon o le arall, tithau a thŷ dy dad a gyfrgollir: a phwy sydd yn gwybod ai oherwydd y fath amser a hwn y daethost ti

* *Gweithiau Hiraethog.* Cyf. II. Tu dal. 64, 65, 70, 71. Ceir hefyd elfeniad cyflawn a manwl ar fywyd a nodwedd Mr. Williams yn y Bywgraphiad hwn gan Dr. Rees, Liverpool.

i'r frenhiniaeth ?' Yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon, tra ond yn myned dros yr hanes megis y mae yn llyfr Esther, gan wneuthur rhai sylwadau arno, nid ydym yn gwybod i ni erioed, beth bynag mewn capel, weled y fath olygfa. Yr oedd y pregethwr ei hunan yn hollol sobr, ond yr oedd y bobl yn methu ymatal, ac yn ymollwng gyda'u teimladau i chwerthin allan dros y capel, heb feddwl dim yn mha le yr oeddynt. Parhaodd hyny, ni a dybiem, am tuag ugain mynyd. Ond wedi dyfod at y testyn, ac at y mater neillduol oedd ganddo oddiwrtho,—'Gofal am achos Duw yn mylchau ei gyfyngder,' yr oedd yno le pur wahanol. Nid yn fynych y gwelsom gynnulleidfa wedi ei dwyn i fwy o ddifrifwch nag oedd hono, yn y rhan olaf o'r bregeth. Dyma yr unig dro erioed i ni ei glywed yn tueddu at ddim a allasai yru y bobl yn ysgafn; ac yr ydym yn meddwl mai dyma y tro diweddaf iddo wneyd hyny. Ni a glywsom, o leiaf, fod Mr. Roberts, Llanbrynmair, wedi siarad yn ddifrifol iawn ag ef ar ol yr oedfa y pryd hwnw; a bod Mr. Williams wedi addef iddo, ei fod ef ei hunan wedi teimlo, pan y canfu y fath ysgafnder ar y bobl, ac wedi addaw iddo hefyd na chymerai y fath gyfeiriad byth ar ol hyny. Pa fodd bynag, yn ystod y blynyddoedd diweddaf o'i oes, yr oedd ei weinidogaeth o nodwedd hollol wahanol; yr oedd, yn wir, mor ddifrifol, ac felly bob amser, ag odid ddim a glywsom ni erioed, a chymhwysder arbenig ynddi i ddwyn ei holl wrandawyr i deimlo yn gyffelyb.

"*Yr oedd ei feddwl o nodwedd hollol athronyddol.* Ymhoffai mewn 'chwilio o'r naill beth i'r llall i gael allan y rheswm;' ac ni byddai yn teimlo ei hunan yn dawel, gyda golwg ar unrhyw adnod yn y Bibl a ddygid i'w sylw, ac yn enwedig a gymerid ganddo yn destyn pregeth, hyd oni byddai wedi cael allan, neu dybied ei fod wedi cael allan, yr egwyddor neillduol, neu y gwirionedd mawr a ddysgir ynddi. Yr oedd nid yn unig yn credu yn ddiysgog fod natur a datguddiad wedi dyfod oddiwrth yr un awdwr, ond fod yr un egwyddorion yn rhedeg trwy, ac i'w canfod yn y naill ag sydd yn y llall, a bod pob cynydd ar ein hadnabyddiaeth o'r naill, yn fantais wirioneddol i ni i ddeall ac i egluro y llall. Fe fyddai gan Mr. Williams braidd yn mhob pregeth, ryw un egwyddor fawr yn cael ei chodi ger bron ei wrandawyr, ac fe gymerai y fath drafferth i'w hegluro, i ddangos ei phwysigrwydd, ac i roddi engreifftiau o honi,—yn ngwahanol ddosbarthiadau natur neu o fewn cylch y gymdeithas ddynol,—nes ei gwneuthur mor amlwg, fel nid yn unig y *gallai pawb* ddeall, ond y gallesid meddwl y buasai yn anmhosibl i neb *beidio* deall. Er esiampl, yr ydym yn ei gofio yn pregethu ar foreu dydd gwaith yn Mangor yn haf y flwyddyn 1835, oddiar 2 Tim. iii. 13, 'Eithr drwg-ddynion a thwyllwyr a ânt rhagddynt waethwaeth, gan dwyllo, a chael eu twyllo." Nid oedd y gynnulleidfa ond bechen wrth ystyried pwy oedd yn y pulpud, ac etto yr oedd yn weddol a chofio mai boreu dydd gwaith ydoedd. Darllenai y testyn yn hytrach yn afrwydd, ond yn dra difrifol. Siaradai y tro hwn, yn y rhagymadrodd, yn rhwyddach ac yn gywirach nag y byddai braidd un amser yn gwneyd yn y rhan hono o'r bregeth. Wedi sylwi ar y geiriau yn y cysylltiad y dygir hwynt i mewn gan yr apostol, a'u golygu megis awgrym i Timotheus y gallai fod erlidiau mwy yn ei aros yntau, a'r pwys iddo gan hyny fod yn benderfynol i fod yn ffyddlon i'r efengyl, ac aros yn y pethau y dysgwyd ef ynddynt,—fe ddisgynodd ar y gwirionedd y dymunai ei ddwyn i'n sylw oddiwrthynt, 'Fod egwyddor ddrwg, tra yn y llywodraeth, yn ennill nerth mwy yn

meddwl dyn.' Yna fe ddangosodd mai dyma y ddeddf fawr gyffredinol trwy yr holl greadigaeth, gan nodi amryw engreifftiau; yna dangosodd fod yr un peth yn perthyn i'r meddwl dynol, yn ei arferion deallawl ac yn ei dueddiadau moesol, gan egluro yr egwyddor, yn arbenig, yn ei pherthynas a chynydd gras a sancteiddrwydd yn y dyn duwiol, a hyny mor ddeheuig ac effeithiol, nes yr oedd teimlad hyfryd yn meddianu y gynnulleidfa i gyd. Yna, yn y modd mwyaf difrifol, fe droes i gymwyso yr egwyddor at ddynion drwg; y meddwyn, yr aflan, y cybydd, y balch, &c., gan adrodd y testyn gyda llais difrifol, yn niwedd ei ymdriniaeth â phob cymeriad, 'drwg-ddynion a thwyllwyr a ânt rhagddynt waethwaeth.' Wedi dangos cynydd nerth y drwg yn y byd hwn, fe aeth rhagddo i ddangos, gan mai dyna natur yr egwyddor, y bydd yr un briodoledd yn perthyn iddi yn y byd a ddaw; ac felly bydd y dyn drwg yno,—byth, byth, byth, yn myned 'yn waethwaeth!' Yr oedd rhyw sobrwydd ofnadwy pan gyda hyn yn ei edrychiad, ac yn ei lais, yn gystal ag yn y pethau a draddodid ganddo. 'Mae yna ddyn yn eistedd yn y *seat* yna yrwan. Y mae yn annuwiol y boreu yma. Er y bregeth hon, a chanoedd o bregethau o'r blaen, nid oes ynddo un meddwl difrifol i adael ei annuwioldeb. Parhau yn annuwiol a wna. Ryw ddiwrnod, fe fydd marw yn annuwiol. Ac wrth farw, fe â a'i holl annuwioldeb yn y byd hwn gydag ef i'r byd hwnw. Ac mi a welaf ryw bwynt, draw, draw, draw, yn y tragywyddoldeb pell, pan y bydd y dyn yna wedi casglu i'w galon ei hunan fwy o elyniaeth at Dduw nag sydd heddyw yn nghreadigaeth Duw i gyd! "Drwg-ddynion a thwyllwyr a ânt rhagddynt waethwaeth."' Terfynodd gydag apeliad dwys at ei wrandawyr i edifarhau a dychwelyd ar unwaith. Wedi y fath bregeth, nid oedd rhyfedd i lawer o honom fyned i Beaumaris y noswaith hono i wrandaw arno drachefn; lle y pregethodd oddiar Hosea xiii. 13; ac o'r hon y mae crynöad gwerthfawr yn ei Gofiant.

"Yr oedd y nodwedd meddyliol y cyfeiriasom ato uchod, *hyd yn nod ar ei ddychymyg ef.* Yr oedd ei ddychymyg yn gryf ac yn gyfoethog iawn. Ond dychymyg yr athronydd ydoedd yn hytrach na dychymyg y bardd; dychymyg Bacon ac nid Milton; nid gallu i roddi bod i greadigaethau o'i eiddo ei hunan, trwy ac etto uwchlaw tiriogaethau ffeithiau y synwyrau corphorol, yn gymaint a gallu i ganfod cyffelybrwydd, yn y ffeithiau hyny, i'r gwirioneddau moesol ac ysbrydol a ddygid ganddo ger bron ei wrandawyr. Dychymyg y gymhariaeth yn arbenig ydoedd. Yr oedd yn nodedig o hapus yn ei gymhariaethau; y rhai a gymerid ganddo, braidd yn ddieithriad, oddiwrth bethau ag yr oedd y cyffredin o'i wrandawyr yn hollol gynefin â hwynt, ac oll yn amlwg wedi eu bwriadu, nid i addurno y cyfansoddiad, ond i ddwyn y gwirionedd y traethai arno yn nes atynt ac yn fwy eglur iddynt. Ac felly y cymerid hwynt yn wastadol ganddynt. Er y byddai yn dywedyd llawer o bethau a fuasent yn cael edrych arnynt yn bethau *tlysion* iawn, pe dywedasid hwynt gan eraill; etto ryw fodd, nid ar eu tlysni y sylwid *gydag ef*, ond ar bwysfawrawgrwydd y materion a eglurid drwyddynt. Ni ogoneddid y gymhariaeth, o'i enau ef, oblegid gogoniant mwy rhagorol y gwirionedd a wasanaethid ganddi. Dodi hwnw yn neall ac yn nghydwybod a chalon y bobl oedd ei amcan mawr. Dygai bob peth dan ddarostyngiad i hyny. Aberthai bob peth er mwyn cyrhaedd hyny. Ac nid llawer erioed a fuont yn fwy llwyddianus yn y cyfeiriad hwnw. O ran symledd, eglurder, naturioldeb, ac effeith-

iolrwydd, yr oedd arbenigrwydd nas anghofir yn ngweinidogaeth William Williams o'r Wern." *

Mae yn broledigaeth i ni i gyfeirio at rai pregethau hynod o'i eiddo, ac am rai oedfaon nodedig a gafodd, am y rhai y sonir hyd y dydd hwn, megis ei bregeth ar Dduwdod Crist yn nghymanfa Horeb, sir Aberteifi; ei bregeth ar Fawredd Duw yn nghymanfa Trelech; ei bregeth ar Barodrwyd Duw i faddeu yn nghyfarfod Crygybar; ei bregeth ar y Wlad well yn nghymanfa Llanerchymedd; Pregeth y mannau, a draddodwyd ganddo mewn amryw fanau gydag arddeliad anorchfygol, yn gystal a llawer eraill sydd etto yn fyw ar gof canoedd. Buasai yn dda genym hefyd roddi engreifftiau o'r ddawn oedd mor nodedig ynddo; ond y mae yn rhaid i ni ymatal gan na chaniata ein terfynau. Mae ei enw yn anwyl gan filoedd na welsant ei wyneb yn y cnawd, a hiraeth dwfn ar ei ol yn fyw yn nheimladau y rhai fwynhaodd yr hyfrydwch o'i wrando, ac y mae yr hyn a ddywedodd Hiraethog yn ei farwnad annghydmarol iddo, yn wirionedd llythyrenol:—

"Pe bai tywallt dagrau'n tycio er cael eilwaith wel'd dy wedd,
Ni chait aros, gallaf dystio, haner mynyd yn dy fedd;
Deuai'r holl eglwysi i wylo, a gollyngant yn y fan,
Ffrwd digonol i dy nofio o waelodion bedd i'r lan."

## SALEM, COEDPOETH.

Adeiladwyd y capel yma tua dechreu y flwyddyn 1858, trwy ymdrech Mr. Lloyd, gweinidog y Wern, ar y pryd, a'r eglwys yn y lle. Teimlai amryw er's blynyddoedd fod angen capel yn yr ardal yma, yr hon yr oedd ei phoblogaeth yn cynyddu yn cyflym. Adeiladwyd capel hardd yn yr hwn yr eistedda o gylch 350. Ffurfiwyd eglwys ynddo yn ddioed o aelodau y Wern, a bu y ddau le mewn cysylltiad a'u gilydd hyd derfyn gweinidogaeth Mr. Lloyd yn y Wern, ac wedi hyny am ychydig yn nechreuad gweinidogaeth Mr. Thomas. Yn y flwyddyn 1865, rhoddodd yr eglwys yma alwad i Mr. Edward Roberts, Carno, ac y mae er hyny hyd yn awr yn llafurio yn y lle, a'r achos yn myned rhagddo. Mae yr eglwys yn awr yn gant o nifer, a'r ysgol Sabbothol yn naw ugain, a'r capel yn llawn o wrandawyr. Adeiladwyd ty i'r gweinidog gan yr eglwys, a chostiodd y capel a'r tir dano, a thy y gweinidog 900p., ac o'r swm yna mae tua 300p. yn aros.

Codwyd y personau canlynol i bregethu yma:—

John Davies. Urddwyd ef yn Nazareth, sir Gaernarfon, ac y mae yn awr yn byw yn Nhrefriw.

Peter Davies. Addysgwyd ef yn athrofa y Bala, ac y mae yn awr yn Bethesda, Talybont.

John A. Roberts. Dygwyd ef i fyny yn athrofa y Bala, ac y mae yn awr yn Waterville, America.

Robert Smith. Bu dan addysg yn athrofa y Bala, ac urddwyd ef yn Seion, Mon.

* *Cofiant y Parchedig John Jones, Talysarn,* mewn cysylltiad a Duwinyddiaeth a Phregethu Cymru, gan Owen Thomas.

## BRYMBO.

Harwd y gelwid y lle gynt, a dechreuwyd pregethu yma yn foreu yn y ganrif bresenol gan y myfyrwyr oedd ar y pryd yn yr athrofa yn Wrecsam. Bernir fod yr achos yma ac achos y Wern wedi eu dechreu yr un adeg. Adgyweiriwyd hen anedd-dy a elwid Gyfynys, a threfnwyd ef yn lle at addoli, a buwyd yn ymgynnull ynddo am yn agos i ddeugain mlynedd. Urddwyd Mr. Williams i fod yn weinidog yma ac yn y Wern, ond nid rhyw lwyddianus iawn y bu yma. Yr oedd yr hen Gyfynys o'r neilldu oddiwrth y boblogaeth; ac nid oedd gan hyd yn nod doniau Williams o'r Wern fawr o swyn i'r trigolion. Arferai Mr. Williams ddyweyd fod Harwd wedi gwneyd mwy o les iddo ef nag a wnaeth efe erioed i Harwd. Pan y temtid ef i ymfalchio wrth weled torfeydd mawrion yn ymdynu ar ei ol, yr oedd cofio faint fyddai yn ei wrando yn Harwd y Sabboth canlynol yn ddigon i'w gadw yn ostyngedig. Barnai fod Harwd wedi ei roddi iddo ef, fel y swmbwl i Paul, "fel na'i tra dyrchefid." Yn y flwyddyn 1828, rhoddodd yr eglwys yma i fyny, a chymerodd Mr. Jonathan Davies ei gofal mewn cysylltiad a Penuel, ac urddwyd ef Gorphenaf yr ail, y flwyddyn hono. Bu Mr. Davies yma dros rai blynyddoedd, ond ychydig lewyrch fu ar yr achos. Ar sefydliad Mr. J. Parry, yn y Wern, yn 1840, cymerodd ef ofal yr achos. Penderfynwyd adeiladu capel newydd mewn man mwy canolog, a chafwyd capel cyfleus, yr hwn a alwyd yn Brynseion. Siriolodd yr achos yn fawr, a daeth amryw o ieuenctyd yr ardal at grefydd, y rhai a fuont yn dra defnyddiol. Wedi ymadawiad Mr. Parry, rhoddwyd galwad i Mr. William Williams, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Mawrth 17eg, 1845. Ni bu yma yn hir canys derbyniodd alwad o Malpas, swydd Gaerlleon, a symudodd yno. Cymerodd Mr William Lloyd ofal yr eglwys mewn cysylltiad a'r Wern, a bu yma yn dra defnyddiol a pharchus am flynyddau, a'r achos yn myned rhagddo yn llwyddianus. Yn y flwyddyn 1854, oherwydd fod yr achos newydd a gychwynasai yn Bwlchgwyn yn gofyn mwy o'i sylw, rhoddodd yr eglwys hon i fyny; ac yn fuan cydsyniodd Mr. Rowland Williams (Hwfa Mon), Bagillt, a galwad yr eglwys hon, a bu yma yn llwyddianus am flynyddau. Yn ei amser ef, penderfynwyd ailadeiladu y capel a'i wneyd yn llawer helaethach, ond yn anffodus, gan ei fod ar le uchel, ymosododd rhuthrwynt arno pan ar ganol ei adeiladu, a chwalwyd ef, yr hyn a ychwanegodd rai canoedd o bunau at y draul y bwriedid myned iddi; ond nid ymollyngodd yr eglwys yn ei phrofedigaeth, a chydag ychydig help gan gyfeillion oddiallan, at y rhai yr apeliodd y gweinidog, gallodd ddyfod trwy yr amgylchiad heb ei hysigo. Yn y flwyddyn 1862, derbyniodd Mr. Williams alwad o Bethesda, a symudodd yno, a'r flwyddyn ganlynol, rhoddodd yr eglwys hon, mewn cysylltiad a'r eglwys yn Wrecsam, alwad i Mr. Owen Evans, Llundain, a bu yma yn barchus a chymeradwy hyd nes y rhoddodd ei weinidogaeth yma i fyny, gan gyfyngu ei lafur i Wrecsam. Ni bu yma yr un gweinidog sefydlog o ymadawiad Mr. Evans yn 1866 hyd y flwyddyn 1869, pryd y cymerodd Mr. John Roberts, Llanerchymedd, ofal yr eglwys, ac y mae yn parhau i lafurio yma mewn parch a llwyddiant. Bu yma lawer o ffyddloniaid gyda'r achos, a choffeir yn nodedig am Robert Cadwaladr, yr hwn a fu yn golofn gref i'r achos yn y lle am dymor hir.

Codwyd yma ddau bregethwr, sef Edward Davies, yr hwn a ddaeth wedi hyny yn athraw yr Athrofa sydd yn awr yn Aberhonddu. Yr ydym eisioes wedi cyfeirio ato yn nglyn a hanes y Drefnewydd. William Thomas hefyd a ddaeth i'r ardal o'r Bala i weithio ei gelfyddyd, a bu o help mawr i'r achos egwan oedd yn Harwd, ac anogwyd ef i ddechreu pregethu, ac yr oedd yn dderbyniol a phoblogaidd trwy yr holl wlad oddiamgylch. Yr ydym eisioes wedi cyfeirio ato yn nglyn a Beaumaris, lle y terfynodd ei weinidogaeth, ac y terfynodd ei oes.

## RHOSLLANERCHRUGOG.

Mae hwn yn lle poblog iawn yn mhlwyf Rhiwabon, a dibyna y trigolion gan mwyaf ar y gweithfeydd glo sydd yn yr ardal. Dechreuwyd pregethu yma yn y flwyddyn 1810, gan y myfyrwyr oedd yn yr athrofa yn Wrecsam ar y pryd. Pregethwyd yn achlysurol ganddynt am beth amser, ond yn mis Mawrth, hysbyswyd y cynhelid cyfeillach grefyddol yn nhŷ John Williams y Pant. Daeth saith yn mlaen i gynyg eu hunain yn aelodau, y rhai a gorpholwyd yn eglwys; sef John a Jane Williams, Edward Jones, John Morris, John Phillips, a John Williams, ac Esther ei wraig, fel y tybir. Nid yw ein hysbysydd yn sicr pwy oedd y seithfed. Yr oedd dau o'r myfyrwyr yn bresenol ar y pryd. Buont yn cyfarfod yn y Pant hyd fis Awst, pryd y cymerasant dŷ bychan ar lun capel o dan ardreth, ac yno y buont am ysbaid dwy flynedd. Nid oeddynt etto dan ofal unrhyw weinidog, ac wedi ymholi a'r hybarch Jenkin Lewis pa beth a wnaent, cynghorodd ef hwy i roddi eu hunain dal ofal Mr. Williams o'r Wern, ac felly fu. Daeth yr achos rhagddo yn llwyddianus yn fuan. Dewiswyd John Phillips ac Edward Jones yn ddiaconiaid. Cynyddodd yr eglwys a lluosogodd y gwrandawyr, ac yn y flwyddyn 1812, adeiladwyd yma gapel, yn mesur 39 troedfedd wrth 30 troedfedd. Bu Mr. Williams oddicartref yn casglu ato mewn rhai manau, a'r eglwys yn gweithio gartref, fel y cafwyd yr hyfrydwch cyn hir o'i weled yn ddiddyled, ac wedi ei lenwi a chynnulleidfa astud, a'r eglwys, nad oedd ond saith o nifer pan gymerodd ei gofal, wedi cynyddu i saith ugain. Yn nechreu y flwyddyn 1836, penderfynwyd cychwyn trysorfa er adeiladu capel newydd, ac o fis Mai y flwyddyn hono hyd Mai y flwyddyn ganlynol, casglwyd 250p. Cyn diwedd y flwyddyn 1836, gwnaeth Mr. Williams ei feddwl i fyny i symud i Liverpool, yr hyn a fu yn archoll dwfn i deimlad yr eglwys, ond er hyny ni ddigalonasant. Aethant yn mlaen yn eu bwriad i gael capel newydd, yr hwn a agorwyd Mehefin 17eg a'r 18fed, 1839. Pregethwyd ar yr achlysur gan Meistri T. Griffith, Rhydlydan; J. Lloyd, Llanelwy; W. Rees, Dinbych; R. Jones, Rhuthin; O. Owens, Rhesycae; W. Williams, (yr hen weinidog), a Dr. Raffles, Liverpool. Mesura y capel 54 troedfedd wrth 45 troedfedd, ac yr oedd yn agos 550p. wedi ei gasglu erbyn diwedd cyfarfodydd yr agoriad, fel nad oedd ond ychydig uwchlaw 400p. yn aros. Mae yr ysgolion Sabbothol yn y rhan yma o'r wlad, o'r Rhos hyd Brymbo a'r amgylchoedd, trwy gyfraniadau wythnosol, wedi gwneyd eu rhan yn effeithiol tuag at dalu dyledion capeli.

Yn y flwyddyn 1839, oherwydd gwaeledd ei iechyd, gorfodwyd Mr. Williams i adael Liverpool, a phan ddeallodd yr eglwys hon hyny, unodd yn galonog a'r eglwys yn y Wern i roddi gwahoddiad cynes iddo i ddy-

chwelyd i hen faes ei lafur; ac er na bu yn alluog i gyflawni ei weinidogaeth, etto teimlai yr eglwysi hyn yn llawen iddo gael marw mewn cysylltiad uniongyrchol a hwy. Galwodd swyddogion yr eglwys ato y noson cyn ei farw, a rhoddodd gynghorion difrifol iddynt gyda golwg ar amgylchiadau yr achos yn eu plith. Bu farw Mr. Williams Mawrth 17eg, 1840. Cyn diwedd y flwyddyn hono, rhoddwyd galwad i Mr. David Price, Penybontfawr, yr hwn a fu yma yn boblogaidd am yn agos i dair blynedd, pan y derbyniodd alwad o Ddinbych, ac y symudodd yno. Ar ol bod am fwy na blwyddyn heb weinidog, rhoddwyd galwad i Mr. Thomas B. Morris, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Mawrth 18fed, 1845. Yr oedd Mr. Morris yn ddyn o alluoedd cryfion, ac o ddoniau hyawdl, a phe buasai purdeb ei gymeriad yn ateb i loywder ei dalentau, gallasai fod o wasanaeth mawr i grefydd yn ei oes. Llai na thair blynedd y bu yma. Symudodd i Rhyl, ac yn mhen amser, ymfudodd i America, lle y bu farw yn ddiweddar, wedi gwneyd llongddrylliad am ei ffydd. Yn y flwyddyn 1848, rhoddodd yr eglwys alwad unleisiol i Mr. Robert Thomas, Salem, Liverpool, a bu yma yn barchus a chymeradwy hyd yn agos i ddiwedd y flwyddyn 1855, pryd y symudodd i Fangor. Gwelodd y gymydogaeth hon amser caled ar adegau yn ystod y blynyddau hyn, oblegid sefyllfa y gweithfeydd, ac o angenrheidrwydd yr oedd hyny yn effeithio i fesur ar yr eglwys a'r gynnulleidfa, er fod yma trwy y blynyddoedd gynnulleidfa gref a lluosog.

Yn mis Ebrill, 1856, anfonodd yr hen ddiacon Richard Pritchard at Mr. Edward Davies, athraw clasurol yr athrofa yn Aberhonddu, i ofyn iddo, a oedd ganddo yr un dyn ieuangc dan ei ofal a allasai ei gymeradwyo i fod yn weinidog i'r Rhos? Atebodd yntau fod, ac anfonodd Mr. Thomas E. Evans yma am dri Sabboth, a rhoddodd yr eglwys alwad unfrydol iddo. Urddwyd ef Gorphenaf 22ain, 1856. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri E. Davies, Aberhonddu; R. Thomas, Bangor; W. Williams, Hirwaun; S. Evans, Llandegla; J. Thomas, Liverpool, ac eraill. Bu Mr. Evans yma am saith-mlynedd a haner yn ddefnyddiol a pharchus, ac yr oedd yr achos mewn gwedd lewyrchus dros dymor ei weinidogaeth. Er nad oedd yn ddoniol a phoblogaidd fel pregethwr, etto yr oedd yn nodedig o sylweddol, ac effeithiol, a'i ddifrifoldeb yn peri i bawb deimlo mai gwr Duw ydoedd. Trwy ei dymer bwyllog, ei ysbryd hynaws, ei ymarweddiad sanctaidd, a'i bregethau difrifol, ennillodd ddylanwad eang yn yr eglwys a'r ardal, ac y mae ei enw yn berarogl yma hyd y dydd hwn. Yn nechreu y flwyddyn 1862, derbyniodd alwad gan yr eglwys sydd yn awr yn Booth-street, Manchester, a symudodd yno. Yn nechreu haf y flwyddyn hono, rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. Griffith Williams, gwr ieuangc doniol a phoblogaidd, a fuasai am ychydig yn fyfyriwr yn athrofa y Bala. Urddwyd ef Awst 6ed, 1862. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri M. D. Jones, Bala; J. Williams, Castellnewydd; B. Williams, Dinbych; E. Evans, Llangollen; R. Thomas, Bangor; A. Francis, Rhyl, ac eraill. Ni bu tymor gweinidogaeth Mr. Williams ond byr, ond yn yr ysbaid hwnw cyrhaeddodd boblogrwydd. Dyma yr adeg yr ychwanegwyd darn at y capel, ac y cafwyd yr *Organ* iddo. Ymaflodd y frech wen yn Mr. Williams, ac wedi cystudd chwerw, bu farw Tachwedd 7fed, 1864, yn 25 oed. Ar ol hyny bu yr eglwys am fwy na thair blynedd heb weinidog. Yn nechreu y flwyddyn 1868, rhoddwyd galwad i Mr. Joseph Rowlands, Henryd, a bu yma yn dderbyniol a chymeradwy hyd wanwyn

y flwyddyn 1872, pryd y derbyniodd alwad o Beaumaris, yn Mon, ac er hyny y mae yr eglwys yn amddifad o weinidog.

Mae yr eglwys hon o'i chychwyniad, fel y gwelir, wedi myned drwy lawer o gyfnewidiadau; a bu ynddi o bryd i bryd lawer o bersonau oeddynt yn nodedig am eu gwybodaeth dduwinyddol ac ysgrythyrol, yn gystal ac am eu llafur crefyddol. Mae yr hen ddiacon parchus a ffyddlon Richard Pritchard, yn arbenig, yn deilwng o'i grybwyll. Yr oedd efe yn un o brif gyfeillion Mr. Williams o'r Wern. Dyn cywir, unplyg, a diddichell ydoedd, ac nid oedd terfyn ar ei ffyddlondeb; ac os credai am weinidog ei fod yn onest i'w Arglwydd, ni byddai dim yn ormod ganddo i'w wneyd drosto. Teimlodd yn ddwys oblegid ymadawiad Mr. Williams i Liverpool, ac felly hefyd pan symudodd Mr. Thomas i Fangor; ac yr oedd ei ymglymiad mor gryf wrth Mr. T. E. Evans, fel y dymunodd arno beidio ymadael â'r Rhos tra y byddai efe byw. Addawodd Mr. Evans na wnai. Bu farw yr hen ddiacon yn Ionawr, 1862, ac yn fuan wedi hyny, penderfynodd Mr. Evans symud i Manchester. Mae Elizabeth Pritchard, gweddw yr hen ddiacon, etto yn aros, yn 87 oed, a hi yw yr unig un o'r tô cyntaf sydd wedi ei gadael, ond y mae yma wŷr cryfion yn aros sydd yn deilwng o'r tadau sydd wedi blaenu. Mae yr eglwys yn awr yn gwneyd ymdrech i dalu dyled y capel, a disgwylir y bydd yn rhydd erbyn diwedd Mehefin nesaf.

Codwyd y personau canlynol i bregethu yn yr eglwys hon:—

Ismael Jones. Mae efe wedi treulio oes hir yn y weinidogaeth, ac er's blynyddau bellach wedi dychwelyd i drigianu i'w ardal enedigol.

Robert Jones. Bu yn bregethwr cynorthwyol derbyniol yn yr eglwys am lawer o flynyddau, a thra y gallodd, pregethodd yma, ac yn yr eglwysi cylchynol.

Robert Thomas. Addysgwyd ef yn athrofa Drefnewydd, ac y mae yn awr yn Hanover, sir Fynwy.

Samuel Evans. Mae er's tair-blynedd-ar-ddeg-ar-hugain yn gweinidogaethu yn Llandegla.

Joseph Hughes. Mae yn aros yn yr eglwys yn bregethwr cynorthwyol.

John Jones. Adnabyddid ef yn well dan yr enw "Jones, Llangollen," ac yr ydym eisioes wedi cyfeirio ato yn nglyn a Rhyd-y-bont.

Joseph Jervis. Dygwyd ef i fyny yn athrofa Aberhonddu, ac y mae yn awr yn Mhenygraig, gerllaw Caerfyrddin. Dyna yr holl rai y cawsom ni eu henwau a godwyd i bregethu yn yr eglwys hon.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

GRIFFITH WILLIAMS. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1830. Yr oedd ei rieni yn byw yn Tyddyncoch, yn mhlwyf Llanaelhaiarn, ac yno y dygwyd yntau i fyny. Derbyniwyd ef yn aelod yn Bethlehem pan yn ieuangc, a chyn ei fod yn 17 oed, aeth i Liverpool i weithio ei gelfyddyd fel saer coed, ac ymunodd a'r eglwys yn y Tabernacl. Bu yno, ac yn rhyw fanau eraill yn Lloegr a Scotland, lle yr anfonid ef gan ei feistr i weithio, am fwy na dwy flynedd. Aeth wedi hyny i Lanberis, yn sir Gaernarfon, ac yno y dechreuodd bregethu; a thynodd yn fuan sylw yr holl eglwysi. Yr oedd ganddo barabl rwydd ac esmwyth, llais tyner a thoddedig, ei wynebpryd a'i lygaid yn serchiadol ac ennillgar, a byddai ei draddodiad ar amserau

yn rymus ac effeithiol. Bu am ychydig yn athrofa y Bala, ond nid arhosodd yno yn ddigon hir i fwynhau fawr o'i manteision, ac yr oedd ysbryd pregethu mor gryf ynddo, fel mai ychydig sylw a dalodd i'w efrydiau yn yr amser y bu yno. Cafodd fanteision yn yr amser y bu yn Lloegr i ddysgu Saesoneg, ac yr oedd ei gof mor gryf fel y gallai wneyd defnydd o bob peth a welai ac a glywai. Yr oedd yn hynod o boblogaidd dros ei dymor byr; ac yr oedd wedi ei gynysgaeddu gan natur a chymhwysderau arbenig i fod yn bregethwr, pe cawsai fyw i'w dadblygu, ac iddynt gael ei diwyllio gan addysg, ac ymroddiad, ac yn arbenig gan gymundeb meddwl a'r Arglwydd. Torwyd ef i lawr gan y frech wen ar fyr rybudd, a bu farw Tachwedd 7fed, 1864, cyn ei fod yn llawn 25 oed, a chladdwyd ef yn mynwent y Wern. Gadawodd weddw ieuangc ar ei ol, ac wedi ei farwolaeth, ganwyd iddi faban. Bydded tad yr amddifaid a barnwr y gweddwon yn dirion o'r ddau.

## PONCIAU.

Mynydd Seion y gelwir y capel. Cangen ydyw o eglwys y Rhos, ac y mae y lle yn mhlwyf Rhiwabon. Awst 20fed, 1865, dechreuwyd yr achos mewn ty anedd. Pregethwyd yma gyntaf gan Mr. Davies, New Inn, ond pregethwyd llawer yn yr ardal gan eraill flynyddoedd yn ol. Y personau mwyaf blaenllaw i gychwyn yr achos oedd William Bellis, Robert Hughes, (wedi marw); Robert Price, William Williams, John Parry, William Roger, Samson Hughes, ac eraill. Wedi bod flwyddyn a haner yn addoli yn y ty anedd, aed i'r capel Mai 19eg, 1867. Costiodd y capel 450p., ac y mae mynwent helaeth o'i gylch; ac y mae y ddyled yn toddi yn gyflym. Mae yma ysgol Sabbothol yn rhifo ar gyfartaledd 150, a'r eglwys, nad oedd ond 6 o aelodau yn y dechreu, yn awr yn 90, a'r gynnulleidfa yn cynyddu yn barhaus. Mae y lle o'r dechreuad wedi bod mewn cysylltiad a'r Rhos, ac felly y mae yn parhau, fel na bu yma yr un gweinidog ond Mr. Rowlands, a bu ei weinidogaeth ef yma dan arddeliad dwyfol.

Codwyd yma un pregethwr, sef William Williams, yr hwn sydd etto yn aros yma yn bregethwr cynorthwyol cymeradwy.

## RHIWABON.

Dechreuwyd pregethu yn y lle hwn gan Mr. Williams o'r Wern, yn fuan wedi ei sefydliad yn y Rhos, a chynorthwyid ef gan y myfyrwyr oedd ar y pryd yn Wrecsam. Dywedir fod arddeliad neillduol ar y bregeth gyntaf a draddodwyd yma gan Mr. Williams, oddiar Luc xxiv. 47. Ffurfiwyd yma eglwys, ac yn y flwyddyn 1813, adeiladwyd yma gapel, a bu y lle o dan ofal Mr. Williams hyd haf y flwyddyn 1822, pryd y rhoddwyd galwad i Mr. William Davies, i fod yn weinidog yma mewn cysylltiad a Llangollen, a bu yma hyd ei ymadawiad i Rydyceisiaid. Wedi hyny bu Mr. Thomas Jones yma, mewn cysylltiad a Llangollen, hyd nes yr ymadawodd i Minsterley, sir Amwythig. Ar ol hyny, rhoddodd yr eglwys yma alwad i Mr. Stephen Davies, myfyriwr o athrofa Drefnewydd, ac urddwyd ef yma Rhagfyr 25ain, 1835. Bu Mr. Davies yma hyd 1839, pryd y symudodd i'r Rhyl. Yn ei amser ef y dechreuwyd yr achos yn

Rhosymedre. Wedi ei ymadawiad, rhoddodd yr eglwys hon, mewn cysylltiad a'r eglwys yn Rhosymedre, alwad i Mr. David Griffith, yr hwn a fuasai am lawer o flynyddoedd yn gweinidogaethu yn Talysarn, sir Gaernarfon, a bu yma am ysbaid dwy flynedd, hyd nes y lluddiwyd ef gan afiechyd i barhau yn y weinidogaeth, a dychwelodd i sir Gaernarfon, lle y bu farw. Ar ol hyny bu yr eglwys hon mewn cysylltiad a Rhos, a than ofal y gweinidogion hyd y flwyddyn 1859, pryd y rhoddodd Mr. T. E. Evans, gweinidog y Rhos ar y pryd, yr eglwys hon i fyny. Y flwyddyn flaenorol yr oedd capel newydd hardd wedi ei godi, gwerth 1,400p., a chan fod y gymydogaeth wedi myned yn Seisnigaidd iawn, penderfynwyd troi yr achos yn y capel newydd yn Saesoneg hollol, a darfu am yr achos Cymraeg yma ar y pryd. Teimlai amryw fod y cyfnewidiad wedi bod yn sydyn, ac yr oedd llawer o'r Cymry yn anaddfed iddo, er fod yn eglur i bawb mai i hyny yr oedd yn rhaid i bethau ddyfod yn mhen amser. Dechreuodd yr achos yn y capel newydd yn addawol iawn. Rhoddwyd galwad i Mr. H. C. Welsford, myfyriwr o'r athrofa Orllewinol, ac ymsefydlodd yma yn y flwyddyn 1861, ac wedi llafurio yn y lle am dair blynedd, symudodd i swydd Stafford. Ar ol ei ymadawiad, rhoddwyd galwad i Mr. Edward Edmunds, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef yma yn Gorphenaf, 1864. Ni bu yma yn pregethu ond tua daufis, cymerwyd ef yn glaf, ac wedi aros ychydig yn y gymydogaeth, gwelodd nad allai ailymafael yn ei waith, rhoddodd y weinidogaeth i fyny, a dychwelodd at ei gyfeillion yn Neheudir Cymru. Yn Mehefin, 1867, rhoddwyd galwad i Mr. John Lewis, Galway, ond nid arosodd yma ond naw mis, derbyniodd alwad oddiwrth yr eglwys Saesonig yn Mangor, a symudodd yno. Bu yr eglwys ar ol hyny yn dibynu ar weinidogaeth achlysurol hyd Gorphenaf, 1872, pryd y rhoddwyd galwad i Mr. W. Miller, yr hwn a fuasai yn weinidog yn Malpas, sir Gaerlleon, ac efe yw y gweinidog presenol.

Mae pentref Rhiwabon yn lle Eglwysyddol iawn, er fod Ymneillduaeth yn gryf yn y plwyf, ac y mae dylanwad Toriaidd teulu Wynnstay yn rhwym o gael ei deimlo er anfantais i Annghydffurfiaeth. Ond y mae yr achos yma, er y cwbl, yn myned rhagddo, ac yn casglu nerth, ac y mae yr Ymneillduwyr sydd yma yn rhai trwyadl ac egwyddorol.

Codwyd yma un pregethwr, sef Edward Morris, yr hwn sydd etto yn parhau yn bregethwr derbyniol trwy yr holl wlad oddiamgylch.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

David Griffith. Ganwyd ef yn y Blowty, Lleyn, yn nghwr eithaf sir Gaernarfon, yn y flwyddyn 1781. Yr oedd ei dad, Griffith Griffith, yn un o hen aelodau Capel-newydd. Bu Mr. D. Griffith am dymor ar y môr, ac am ychydig yn America pan yn ieuangc, ac wrth ymgymysgu a'r byd dysgodd Saesneg, a bu dan addysg er cyfaddasu ei hun i fod yn gadben. Wedi treulio wyth mlynedd ar y môr, goddiweddwyd ef gan afiechyd a'i gorfododd i aros ar y lan, ac aeth i Bwllheli at berthynasau iddo er bod yn gyfleus i'r meddyg, ac yno derbyniwyd ef yn aelod, a chyn hir dechreuodd bregethu. Ofnai nas gallasai fod o fawr ddefnydd yn y weinidogaeth o eisiau cael mwy o fanteision addysg, ond calonogwyd ef yn fawr gan Mr. Williams o'r Wern, yr hwn a ddaeth ar gyhoeddiad i Bwllheli, yn agos ar derfyn ei amser yn yr athrofa. Dywedai wrtho os oedd yn deall digon o Saesneg

i wneyd defnydd o awdwyr Saesnig, ei fod yn deall digon ar gyfer y weinidogaeth Gymreig am eu hoes hwy ill dau. Bu yn cadw ysgol Dr. Daniel Williams yn Rhoslan, ac wedi hyny yn Bodedeyrn, Mon, ac ar ol hyny yn Talysarn, lle ar ol tair blynedd o lafur gyda'r ysgol a'r pregethu, yr urddwyd ef Hydref 14eg, 1814. Nid oedd yno ond deuddeg o aelodau pan urddwyd ef, a'r rhai hyny wedi eu dychwelyd at grefydd yn ystod y tair blynedd y bu yn llafurio yn y lle; a bu yn cyhoeddi cyfeillach bob Sabboth am naw mis cyn gweled neb yn aros ar ol. Cadwai ysgol yma er cynhaliaeth iddo ei hun a'i deulu cynyddol, ac agorodd siop fechan, yr hon a fu yn llawer o brofedigaeth iddo, ac ar ol oriau yr ysgol elai dros yr holl wlad oddiamgylch i bregethu. Efe a fu y prif offeryn i sefydlu achosion a chodi capeli yn Pisgah a Nazareth, a phregethodd lawer yn nghymydogaeth Drwsycoed, er na chodwyd yno gapel yn ei dymor ef. Symudodd o Dalysarn tua'r flwyddyn 1830 i Bethesda, lle yr agorodd siop fechan, ac er nad oedd gofal eglwysig arno, pregethai bob Sabboth. Yr oedd yn bregethwr effro, bywiog, a blasus, ac yn mhob peth yr oedd yn ymroddgar a diddiogi. Yr oedd yn un o'r rhai cyntaf a ymunodd a'r Gymdeithas Ddirwestol ar ei ffurfiad yn Bethesda, a dyoddefodd golled oblegid hyny trwy i amryw o'r tafarnwyr dynu eu cwsmeriaeth oddiwrtho, ond glynodd yn ffyddlon wrth ei egwyddor er dyoddef sarhad a cholled. Yn y flwyddyn 1840, derbyniodd alwad o Rhiwabon a Rhosymedre, ond ni bu yno ond prin ddwy flynedd. Tarawyd ef gan ergyd o'r parlys, yr hyn a'i gorfododd i roddi i fyny ei weinidogaeth, a dychwelodd i ardal Bethmacca, gerllaw Bangor, er mwyn bod yn gyfleus i'w blant; ac wedi gwaelu yn raddol bu farw Medi 24ain, 1843, yn 62 oed, a chladdwyd ef yn mynwent fechan Bethlehem, ac yr oedd yr orymdaith angladdol yn un o'r rhai lluosocaf a welwyd yn y parth hwnw o'r wlad, a phregethwyd ar yr achlysur gan ei hen gyfaill Mr. Ll. Samuel, Bethesda. Mab iddo ef oedd Mr. Walter Griffith (Walter Bach), gwr ieuangc talentog, yr hwn a fu yn oruchwyliwr dros y Cyngrair er diddymu deddfau yr ŷd, ond a fu farw yn mlodau ei ddyddiau; a meibion iddo ef ydyw Meistri David Griffith, Garneddwen, Bethesda, a William Griffith sydd yn awr yn Four-crosses, Ffestiniog.

Edward Edmunds. Ganwyd ef yn Cendl, sir Frycheiniog, yn y flwyddyn 1839. Derbyniwyd ef yn aelod yn Carmel, gan Dr. Rees, pan nad oedd ond deg oed, ac yr oedd ei wybodaeth grefyddol o'i febyd yn tynu sylw pawb. Dechreuodd bregethu pan yn un-ar-bymtheg. Aeth i athrofa y Bala, lle yr arosodd ddwy flynedd, ac aeth wedi hyny i athrofa Caerfyrddin, lle y treuliodd bum' mlynedd, ac y gwnaeth gynydd cyflym mewn dysgeidiaeth. Nid oedd ei gyfansoddiad ond gwan, a thrwy ormod llafur rhoddodd yn rhy galed arno. Am dymor wedi gorphen ei efrydiaeth yn yr athrofa, nid oedd ei iechyd yn ddigon cryf i gymeryd gofal eglwysig, ond yn nechreu haf 1864, derbyniodd alwad gan yr eglwys Saesnig yn Rhiwabon, ac urddwyd ef yno. Ennillodd yn fuan serch yr eglwys a'r gynnulleidfa, a gobeithid fod tymor o ddefnyddioldeb o'i flaen. Ond yn mis Tachwedd aeth i angladd ei gymydog, Mr. Williams, Rhos, lle y cafodd anwyd. Pregethodd y Sabboth dilynol oddiar y geiriau, "Megis deilen y syrthiasom ni oll," a hono oedd yr olaf iddo. Torodd un o'r gwaed-lestri, ac ar ol aros am ysbaid yn ardal Rhiwabon, a gweled nad oedd gobaith y gallasai ail ymaflyd yn ei waith, dychwelodd at ei gyfeillion a'i berthynasau i'r De. Gwnaeth ymdrech mawr i fyw, a bu fyw yn

hwy nag y meddyliodd neb y buasai. Treuliodd y chwe' blynedd olaf o'i oes yn y Werngoch gyda Mr. Evans, Sciwen, a bu Mrs. Evans fel mam iddo mewn tynerwch. Yr oedd o alluoedd cryfion, yn ysgolhaig da, ac yn weithiwr dyfal. Ymroddai i ddarllen a chyfansoddi yn ei waeledd. Pan oedd bron yn analluog i adael ei wely, ennillodd ugain gini am y traethawd goreu ar yr "Eglwys yn Nghymru." Gwobr a gynygiwyd gan Gymdeithas Rhyddhad Crefydd, ac ysgrifenodd lawer heblaw hyny i gyhoeddiadau Saesneg a Chymraeg. Yn haf 1872, aeth i weled ei chwaer yn Llangranog, sir Aberteifi, ac yno y bu farw Gorphenaf 9fed, 1872, yn 33 oed. Dygwyd ef i'w gladdu i fedd ei rieni yn Cendl.

## EBISTOCK.

Ebenezer y gelwir y capel hwn. Mae o fewn tair milltir i Rhiwabon, ar y ffordd i Overton. Dechreuwyd yr achos yma gan Mr. Thomas Jones, pan yn weinidog yn Llangollen a Rhiwabon, a thrwy ei lafur ef y codwyd y capel yma yn 1832. Ni bu yma yr un gweinidog sefydlog wedi ei ymadawiad ef i Minsterley, ond y mae Mr. Edward Morris, pregethwr cynorthwyol yn Rhiwabon, wedi bod mewn cysylltiad agos a'r achos yma o'i ddechreuad, ac yn gofalu am dano. Nid yw ond achos bychan, ond y mae yma ychydig enwau yn ffyddlon, a'r eglwys yn dal ei ffordd, os nad yw hefyd yn ychwanegu cryfder.

## RHOSYMEDRE.

Dechreuwyd pregethu yma yn niwedd 1835, gan Mr. Stephen Davies, pan yn weinidog yn Rhiwabon, ac efe a fu y prif offeryn i adeiladu y capel, yr hwn a agorwyd Tachwedd 14eg a'r 15fed, 1836. Bu y lle mewn cysylltiad gweinidogaethol a Rhiwabon hyd y flwyddyn 1859, pryd y trowyd yr achos hwnw yn Saesoneg. Cafwyd yma adfywiad grymus yn y flwyddyn 1839, ac yr oedd yr achos mewn gwedd fywiog iawn. Yr oedd Mr. S. Evans, yn awr o Landegle, yn byw y pryd hwnw yn yr ardal, a bu o lawer o help i'r achos. Yr oedd Mr. R. Thomas yn weinidog yma dros yr holl ysbaid y bu yn y Rhos, ac yr oedd ei weinidogaeth yma yn dra derbyniol, ac felly hefyd yr oedd eiddo ei olynydd yn y Rhos, Mr. T. E. Evans. Yn ei amser ef yr adeiladwyd y capel yma o newydd. Rhoddodd ef yr eglwys yma i fyny yn 1859, gan gyfyngu ei lafur i'r Rhos. Yn fuan wedi hyny rhoddodd yr eglwys yma alwad i Mr. Robert Thomas, Jerusalem, gerllaw Wyddgrug, yr hwn a fu yma dros dair blynedd; yna rhoddwyd galwad i Mr. David Evans, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Hydref 13eg, 1863. Bu Mr. Evans yma yn ddefnyddiol a pharchus hyd y flwyddyn 1869, pryd y derbyniodd alwad o Abermaw, ac y symudodd yno. Y flwyddyn ganlynol, rhoddwyd galwad i Mr. D. O. Brace, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Hydref 24ain, 1870. Oherwydd gwaeledd ei iechyd, bu raid iddo roddi i fyny cyn hir; ond y mae yn awr yn gweinidogaethu yn Pantycrwys a Glantwrch, sir Forganwg. Mae yr eglwys yma yn awr heb weinidog, ond y mae yr achos yn ei holl ranau yn siriol iawn. Nid ydym yn sicr a godwyd yma neb i bregethu. Bu William Roberts, yr hwn a urddwyd yn Llanddeusant, Mon, yn byw yma ar un adeg, ac yn aelod o'r eglwys hon, a thueddir ni i feddwl mai yma y dechreuodd bregethu.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

ROBERT THOMAS. Ganwyd ef yn y Bala, ac yr oedd ei dad, Thomas Cadwaladr, yn hen ddiacon parchus yn yr eglwys Annibynol yno. Yno y derbyniwyd yntau yn aelod, ac y dechreuodd bregethu, a bu yn yr athrofa yn y Bala. Wedi gorphen ei amser bu am flynyddoedd yn cadw ysgol yn Llangynog, ac yn pregethu yn achlysurol. Derbyniodd alwad o Jerusalem a Soar, gerllaw y Wyddgrug, ac urddwyd ef yno. Symudodd i Rosymedre a'r Fron, tua diwedd y flwyddyn 1859. Llai na thair blynedd y bu yno, ac wedi rhoddi ei ofal eglwysig i fyny yno, ni bu yn sefydlog yn un lle, ond pregethai lle gelwid am ei wasanaeth. Nid oedd ei alluoedd fel pregethwr ond cyffredin, ond yr oedd ei fuchedd yn ddiargyhoedd; a phe gadawsai heibio "wag siarad" a "gwrachiaidd chwedlau," gallasai fod yn llawer mwy dibrofedigaeth iddo ei hun, a defnyddiol i grefydd. Bu farw Mehefin 28ain, 1871.

## LLANGOLLEN.

Nid oes genym hanes fod unrhyw weinidog Annibynol wedi pregethu yma cyn sefydliad Mr. Williams yn y Wern, ac ymddengys mai yn mhen rhai blynyddau wedi ei sefydliad yno y dechreuodd bregethu yma. Ymddengys ei bod rywbryd wedi y flwyddyn 1811. Cymhellwyd Mr. Williams i ddyfod yma gan Mr. Edwards, Trefor, yr hwn a gyrchai i'r Rhos i'w wrando. Yr oedd yr enwadau eraill wedi cychwyn yma yn flaenorol, ac ofnai Mr. Williams rhag mai ysbryd plaid oedd yn eu cymhell i'w wahodd ef. Addawid iddo y ceid benthyg capel y Methodistiaid Calfinaidd, ond pan ddaeth yr adeg nid oedd i'w gael, ac mewn llofft perthynol i'r *Royal Oak* y pregethodd Mr. Williams y bregeth gyntaf yma. Buwyd yn ymgynull yn yr ystafell hono nes y cafwyd lle mwy cyfleus mewn ty a elwir Penybont; a symudwyd oddiyno yn mhen chwe' mis i dŷ Mr. Thomas Simon, ac wedi ennill ychydig ddysgyblion, corpholwyd hwy yn eglwys, ac yno y buont nes y cafwyd capel. Yr oedd yma un hen Annibynwr o'r enw Evan Jones yn trigianu cyn hyn. Brodor o Lanuwchllyn ydoedd. Cymerai ei le fel aelod achlysurol gyda'r Methodistiaid, er mai Annibynwr ydoedd. Gwasanaethu yr oedd yr hen ŵr yn y Siamberwen, ar yr ochr ogleddol i'r dref. Yr oedd yn nodedig am ei dduwioldeb, a phan y dechreuodd yr Annibynwyr bregethu yma, dywedai y trigolion, "fod crefydd f'ewyrth Evan Jones wedi d'od i'r Llan." Llonodd ei galon pan welodd le o addoliad yn cael ei godi yma, er nad oedd ond hen feudy wedi ei drefnu a'i drwsio; a thra yr oedd y gweithwyr wrthi yn ei gyfaddasu i fod yn lle addoliad, deuai yr hen frawd iddo yn aml, ac eisteddai o'r neilldu a'i bwys ar ben ei ffon, ac a'i weddiau distaw felly, cysegrodd y lle yn dŷ i Dduw.* Adeiladwyd y capel yma yn y flwyddyn 1817, a bu dyfodiad Mr. Williams yma i fyw yn yr adeg hono yn llawer o help i'r achos. Y flwyddyn ganlynol aeth Mr. Williams ar daith trwy ranau o'r Deheudir i gasglu er talu am y capel yma. Wedi symud i'r Talwrn i fyw, a gweled fod cylch ei weinidogaeth yn rhy eang, rhoddodd Mr.

* Llythyr Mr. Morris, Llangollen.

Williams yr eglwys hon a'r eglwys yn Rhiwabon i fyny, ac unasant i roddi galwad i Mr. William Davies, myfyriwr yn athrofa Drefnewydd. Urddwyd ef yma Awst 29ain, 1822. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. R. Everett, Dinbych; holwyd y gofyniadau gan Mr. W. Williams, Wern; dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. W. Hughes, Dinasmawddwy, pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. D. Thomas, Penrhiwgaled, ac i'r eglwys gan Mr. J. Roberts, Llanbrynmair. Bu Mr. Davies yma am bum' mlynedd, a symudodd i Rydyceisiaid, lle y treuliodd weddill ei oes. Rhoddwyd galwad i Mr. Thomas Jones, myfyriwr o athrofa Drefnewydd, ac urddwyd ef yma Awst 19eg, 1828. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. D. Jones, Treffynon; holwyd y gofyniadau gan Mr. J. Rees, Sarnau; gweddiodd Mr J. Griffith, Llanarmon; pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. D. Williams, Llanwrtyd, ac i'r eglwys gan Mr. W. Williams, Wern. Llafuriodd Mr. Jones yma yn ddiwyd, a chyda mesur o lwyddiant hyd y flwyddyn 1833, pryd y symudodd i Minsterley, sir Amwythig. Yn 1835, rhoddwyd galwad i Mr. Henry Davies, myfyriwr o athrofa y Drefnewydd, ac urddwyd ef Mehefin 18fed, yn yr un flwyddyn. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. O. Owens, Rhesycae; holwyd y gofyniadau gan Mr. W. Rees, Mostyn; dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. T. Jones, Minsterley; pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. E. Davies, athraw yr athrofa yn Drefnewydd, ac i'r eglwys gan Mr. W. Williams, Wern. Bu Mr. Davies yma yn dderbyniol hyd y flwyddyn 1841, pryd yr ymroddodd i fod yn genhadwr ar ffordd haiarn Gogledd Cymru, ac wedi hyny bu yn Genhadwr Trefol yn Liverpool hyd derfyn ei oes.

Cyn diwedd y flwyddyn 1842, rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. John Henry Hughes (Ieuan o Leyn), myfyriwr o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef Ebrill 6ed, 1843. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. R. P. Griffith, Pwllheli; holwyd y gofyniadau a dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. J. Evans, Corwen; pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. S. Roberts, Llanbrynmair, ac i'r eglwys gan Mr. D. Price, Rhos. Gan fod yr hen gapel wedi myned yn wael ac adfeiliedig, ailadeiladwyd ef yn fuan wedi i Mr. Hughes sefydlu yma, trwy draul o 700p. Cwynir hyd heddyw na buasai yr eglwys yn yr adeg hono yn symud i fan mwy cyfleus, a theimlir fod yr achos o dan anfantais oblegid safle y capel. Wedi bod yma am bedair blynedd yn ddedwydd a defnyddiol, gwnaeth Mr. Hughes ei feddwl i fyny i gyflwyno ei hun i wasanaeth y Gymdeithas Genhadol, ac anfonwyd ef allan i Demerare, yn yr India Orllewinol, lle y bu dros amryw flynyddoedd yn ddefnyddiol a llwyddianus, ond oherwydd afiechyd gorfodwyd ef i ddychwelyd i Loegr, ac y mae yn awr yn gweinidogaethu yn Newent, swydd Gaerloyw. Bu Mr. Hughes yn egniol iawn i dalu y ddyled, ond yr oedd baich trwm yn aros, ac ofnid y buasai iddo lethu yr achos, ond daliodd yr achos ei dir, ac y mae y ddyled oll wedi ei thalu er's blynyddau. Yn y flwyddyn 1849, rhoddwyd galwad i Mr. Cadwaladr Jones, Berea, Mon, a bu yma yn boblogaidd fel pregethwr hyd 1851, pryd y symudodd i Lanfaircaereinion. Yn y flwyddyn 1853, rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. Evan Evans, Maentwrog, a bu yma yn barchus a defnyddiol am ddwy-flynedd-ar-bymtheg, pryd oherwydd llesgedd yr ymryddhaodd o'i ofal gweinidogaethol, a derbyniwyd ef ar Drysorfa yr hen Weinidogion. Yn 1872, rhoddwyd galwad i Mr. John Morris, Llanrhiadr-yn-Mochnant, a dechreuodd ei weinidogaeth yma y Sabboth

cyntaf yn Rhagfyr y flwyddyn hono, ac y mae yn parhau i lafurio gyda mesur o lwyddiant. Mae y gynnulleidfa, yr eglwys, a'r ysgol Sabbothol wedi lluosogi, a'r casgliadau at wahanol achosion wedi cynyddu. Prydferthwyd ychydig ar y capel yn y flwyddyn 1873, trwy draul o 80p., a disgwylir fod dyddiau gwell nag a welodd yn aros yr eglwys hon, er y teimlir y bydd o dan anfantais parhaol oblegid safle y capel.

Codwyd yma ddau bregethwr, sef Tudur Jones, yr hwn a symudodd i Manchester, ac wedi hyny i America, a David Foulkes Roberts, sydd yn awr yn fyfyriwr yn athrofa Aberhonddu.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Thomas Jones. Ganwyd ef Ebrill 17eg, 1795, mewn lle a elwir Trefan, yn mhlwyf Llanafanfawr, sir Frycheiniog. Ymunodd yn ieuangc a'r eglwys yn Nhroedrhiwdalar, ac wedi pregethu dros ychydig yn dderbyniol yn ei gymydogaeth, aeth i'r Drefnewydd i dderbyn ei addysg ar gyfer y weinidogaeth. Wedi bod yno dair blynedd, derbyniodd alwad o Langollen a Rhiwabon, lle yr urddwyd ef Awst 19eg, 1828. Llafuriodd yno yn ddiwyd, ac yr oedd yn barchus a chymeradwy fel pregethwr a gweinidog. Trwy ei ymdrech ef yn benaf y cychwynwyd yr achos, ac y codwyd y capel yn Ebistock. Yr oedd Mr. Williams o'r Wern ac yntau yn gyfeillion mawr, a gwnaeth cymdeithasu a Mr. Williams iddo les dirfawr. Y mae yn deilwng o'i goffau yma, mai mewn ymddiddan rhyngddo ef a'i hen weinidog, Mr. Williams, Llanwrtyd, yn "Mharlwr bach" Tanyrallt, y bu yr ymddiddan cyntaf am y cydymdrech cyffredinol i dalu dyledion capeli, yr hwn a roddodd y fath ymwaied i luaws o leoedd yn Nghymru yn y blynyddoedd 1833 a 1834, a bu Mr. Jones yn nodedig o weithgar yn yr ymdrech hono. Yn 1833, derbyniodd alwad o Minsterley, swydd Amwythig, a symudodd yno, a chyda'r Saeson y treuliodd weddill ei oes. Llwyddodd tra yno i godi capel a thŷ perthynol iddo yn Pontesbury, a bu ei lafur yn y wlad fras hono yn dra derbyniol. Gwaelodd ei iechyd, a bu yn hir yn nychlyd, ond bu farw mewn tangnefedd Medi 17eg, 1860, yn 65 oed, a chladdwyd ef yn mynwent y capel lle y llafuriodd.

Henry Davies. Ganwyd ef yn ardal Godrerhos, sir Forganwg, yn y flwyddyn 1805; a derbyniwyd ef yn aelod yn Godrerhos, ac yno y dechreuodd bregethu. Aeth i'r athrofa i'r Drefnewydd, ac wedi gorphen ei amser yno, derbyniodd alwad o Langollen, lle yr urddwyd ef Mehefin 18fed, 1835. Llafuriodd yno yn ddiwyd a ffyddlon am fwy na chwe' blynedd. Yr oedd yn ddyn hynaws a charedig, o gymeriad diargyhoedd, ond heb ddim neillduol yn ei ddawn i dynu sylw. Pan y dechreuwyd gweithio ffordd haiarn Gogledd Cymru, ac y daeth angen am genhadon i ofalu am addysg grefyddol y Saeson a ddeuent i weithio arni, rhoddodd y weinidogaeth yn Llangollen i fyny, gan gyflwyno ei hunan i hyny. Yr oedd ei serchawgrwydd yn gymhwysder mawr ynddo i'r fath orchwyl. Wedi hyny aeth i Liverpool i wasanaeth y Genhadaeth Drefol, ac yno y treuliodd agos yr ugain mlynedd olaf o'i oes yn barchus a defnyddiol, ac yn achlysurol pregethai yn nghapeli Cymreig y dref. Goddiweddwyd ef gan glefyd trwm, ac ar ol ychydig ddyddiau o gystudd chwerw, bu farw Chwefror 27ain, 1866, yn 66 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Smithdown-lane, lle y mae maen wedi ei godi i ddangos y lle y gorwedd.

Priododd ferch ieuangc grefyddol o gymydogaeth Llanwnog, a dygodd deulu rhinweddol i fyny; ac wedi ei farwolaeth ef, ymfudodd ei weddw i New Zealand, lle yr oedd ei phlant wedi ei blaenu.

Evan Evans. Ganwyd ef yn Bwlchgwyn, gerllaw Arthog, sir Feirionydd, Mawrth 24ain, 1803. Yr oedd ei rieni yn bobl grefyddol, ac yn aelodau yn Llwyngwril, a dygasant i fyny deulu lluosog o blant. Aeth Mr. Evans pan yn ieuangc i swyddfa cyfreithiwr yn Nolgellau, a thra yno y derbyniwyd ef yn aelod ac y dechreuodd bregethu. Yr oedd yn fychan o gorpholaeth, a golwg ieuengaidd iawn arno, ond yn draddodwr melus a bywiog. Aeth i'r ysgol am dymor at Mr. M. Jones, Llanuwchllyn, ac yn y flwyddyn 1825, aeth i'r Abermaw i gadw ysgol, ac ar y 27ain o Fai, 1827, urddwyd ef yn y Cutiau. Y flwyddyn ganlynol, cymerodd y llaw flaenaf yn adeiladiad y capel newydd yn Abermaw; a theithiodd lawer trwy Gymru a Lloegr i gasglu er talu am dano. Yr ydym eisioes wedi cyfeirio yn helaeth at ei lafur yn nglyn a hanes Abermaw, Cyf. II. Tu Dal. 471. Nid oedd ei gyflog ond *wyth punt* yn y flwyddyn pan ddechreuodd yn y Cutiau, ond gweithiodd yn ddyfal a ffyddlon dros ei Arglwydd. Mehefin 18fed, 1839, priododd a Miss Elizabeth Williams, merch Cadben Evan Williams, Dyffryn Ardudwy, ond yr hon oedd yn aros ar y pryd gyda'i nain yn yr *Antilope*, wrth Bont Menai, ac yn aelod yn Mangor. Gwaelodd ei hiechyd hi yn fuan, a gadawyd yntau yn weddw gydag un plentyn. Yn 1844, derbyniodd alwad o Maentwrog, a symudodd yno, lle y bu am flynyddau yn dra derbyniol. Medi 23ain, 1851, ail briododd a Mrs. Francis, Maentwrog, yr hon a fu o lawer o gysur ac ymgeledd iddo, ac a adawodd yn weddw ar ei ol. Yn 1853, derbyniodd alwad o Langollen, a llafuriodd yn ddiwyd a ffyddlon yno am ddwy-flynedd-ar-bymtheg.

Yr oedd yn Mr. Evans lawer iawn o ragoriaethau. Dyn deallus a goleu ei feddwl ydoedd, a phregethwr eglur, efengylaidd, a tharawiadol dros ben. Pregethwr byr, bywiog, a blasus ydoedd. Adroddai fyr hanesion i egluro ei faterion gyda hwyl hyfryd, ac yr ydoedd o deimladau tyner a drylliog, a phan y cynhyrfid ei enaid llefarai gyda nerth a dylanwad anwrthwynebol. Byddai ganddo ambell floedd uchel, berseiniol, a drydanai gynnulleidfa. Mewn cyfeillach yr oedd ei holl ymddiddanion yn fuddiol, ac ar destynau ysgrythyrol a duwinyddol. Cristion cywir ac agos at Dduw ydoedd yn ddiamheu.

Rhagorai yn arbenig fel darllenwr. Yn sicr yr oedd yn un o'r darllenwyr goreu yn ei oes. Yr oedd ei bwyslcisiau mor briodol, ei acenion mor berffaith, a'i lais mor ystwyth, fel mai hyfrydwch i bawb fyddai ei wrando yn darllen. Talodd sylw helaeth i ddarllenyddiaeth ac areithyddiaeth. Cyfansoddodd lyfr ar areithyddiaeth yn lled gynar yn ei oes, a chyhoeddodd wedi hyny *Goleg y Darllenydd*, yr hwn oedd i'r un cyfeiriad. Yr oedd yn ysgrifenydd rhwydd a naturiol. O ran llawysgrifen yr oedd yn anhawdd cael ei ragorach. Ni byddai byth drafferth i ddarllen yr hyn a ysgrifenai gan mor gywir ac eglur y gwnai y cwbl. Cyhoeddodd *Esboniad ar y Damhegion;* a thynodd ei fywgraphiad dyddorol i'r hen efengylwr Richard Jones, Llwyngwril, sylw mawr. Tua'r flwyddyn 1870, teimlodd Mr. Evans fod llesgedd a gwendid wedi ei oddiweddyd, a derbyniwyd ef ar Drysorfa yr hen Weinidogion, ac ar ol hyny rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny. Daliodd i bregethu hyd ei ddiwedd, ac yr oedd yn dra derbyniol yn mhob man. Sabboth, Mai 11eg, 1873, yr oedd yn y Trallwm. Aeth i'r capel y boreu, a phregethodd gyda blas neillduol

oddiar 1 Corinth. ix. 24—27. Rhoddodd allan i'w ganu ar y diwedd,—

"A gorphen fy holl lafur-waith,
A chanu byth ar ben fy nhaith."

Ac wedi i'r bobl ddechreu canu, eisteddodd i lawr; tarawyd ef gan ergyd marwol yn y fan. Gallodd amneidio am help, ac mewn llais gwan gofynodd am ddwfr i'w yfed. Cariwyd ef i'w letty, lle y cafodd bob ymgeledd a chynorthwy meddygol, ond cyn un o'r gloch boreu Llun, Mai 12fed, yr oedd wedi myned i ben y daith. Dygwyd ef i Langollen boreu dydd Mawrth, a dydd Iau rhoddwyd ef i orwedd yn nghladdfa y Fron, Llangollen, a daeth tyrfa fawr yn nghyd i dalu eu teyrnged olaf i'r ymadawedig.

## TREFOR.

Dechreuwyd cynal ysgol Sabbothol yma yn gynar yn y ganrif hon. Yr oedd y Methodistiaid Calfinaidd wedi dechreu ysgol yn y lle o flaen yr Annibynwyr. Deuai rhai o Langollen yma i hyny. Yn fuan wrth weled ei gymydogion mor gyffredinol yn amddifad o allwedd fawr gwybodaeth—darllen, dechreuodd Mr. Edward Edwards gadw ysgol i'w hyfforddi a'u dysgu i ddarllen ar nos Ferchcr. Yr oedd Edward Edwards, Tynorisaf, yn ddiarebol yn mysg ei ardalwyr am ei synwyr cryf a'i gallineb, a diau i'w ymdrech ar nos Fercher, ddangos iddo ef ei hun ac i eraill ei gymhwysder i hyfforddi eraill. Ymroddodd i gael ysgol Sabbothol, a buont yn ei chynal yn y Wenffrwd, preswylfa John a Sarah Jones. Pan welodd y Methodistiaid y gwaith da wedi ei gymeryd i fyny gan un o feddwl mor alluog, ac yn meddu y fath *tact* i gyflawni ei orchwyl, gadawyd y gwaith yn ei law; ac y mae y rhan hono o'r ardal wedi ei gadael yn nwylaw yr Annibynwyr hyd yn awr. Yr oedd Edward Edwards, John a Sarah Jones ym mysg yr aelodau cyntaf yma, ac wedi ffurfiad yr eglwys fechan yn Llangollen, yn nhŷ Thomas Simon, aent at eu gilydd bob yn ail wythnos i gynal cyfeillach grefyddol. A phan y dechreuwyd pregethu yn rheolaidd yn Llangollen gan Mr. Williams o'r Wern; Mr. Griffiths, Llanarmon, a phregethwyr cynorthwyol; pregethid ddau o'r gloch yn Nhrefor. Pregethid yn benaf mewn lle o'r enw Bryncyrch. Un Mr. Edward Powell oedd yn preswylio yno; daeth yn aelod, a chanddo ef ar ol hyny y cafwyd tir i adeiladu y capel. Adeiladwyd ef yn y flwyddyn 1840. Nid yw ond bychan, ond yn ddestlus a chyfleus i'r ardal—yn nghanol y bobl, ac yn cael ei lanw bob Sabboth. Mae ei safiad yn swynol. O'r tu cefn iddo mae y graig haenog, brydferth, sydd yn rhwymo llygaid yr ymwelwyr gan ei harddwch—yn rhoddi eu bara beunyddiol i'r ardalwyr—yn gwrteithio meusydd y gymydogaeth—yn cadw lluaws o wŷr y *canal* ar lawn waith, ac yn cyflawni y toddwyr haiarn yn swydd Stafford â meini o'r fath a garant. Ac oddi tano mae yr olygfa y bydd i'r hwn a'i gwelo chwenych ei weled drachefn, sef "Dyffryn Llangollen."

Mae achos Trefor wedi bod yn flodeuog a difwlch o'i gychwyniad. Mae meibion John a Sarah Jones, y rhai a hyfforddwyd yn mhen y ffordd yn yr ysgol fu ar eu haelwyd, rai o honynt, bellach yn hen, ond heb ymadael â hi. Mae yr hynaf o honynt, Thomas Jones, yn ddiacon, ac nid rhaid iddo wrth "lythyr canmoliaeth;" a'r ieuengaf, Evan Jones, yn arweinydd y canu, ac yn cydweithio a hwy mae yr hen bererin Robert Davies, o

"ysbryd addfwyn a llonydd." Mae y lle o'r dechreuad mewn cysylltiad gweinidogaethol a Llangollen, ac felly y mae yn parhau.

## Y FRON.

Mae y lle hwn ar ochr y ffordd rhwng Croesoswallt a Llangollen, o fewn pedair milldir i'r lle olaf. Mae yn ardal boblog yn nglyn a'r gweithfeydd calch. Bu yma lawer o bregethu o bryd i bryd er y flwyddyn 1833, yn benaf gan weinidogion Llangollen, ond ni chyfodwyd yma gapel hyd y flwyddyn 1850, pan oedd Mr. C. Jones yn weinidog yn Llangollen. Bu ef yn dra llafurus a llwyddianus yma, a deuai cynnulleidfaoedd lluosog yma i'w wrando. Rhoddodd Mr. Evans i fyny ddyfod yma yn mhen rhai blynyddoedd wedi ei sefydliad yn Llangollen, oblegid fod y llafur yn ormod, ac er hyny y mae y lle wedi bod mewn cysylltiad a Rhosymedre. Nid ydym yn gwybod dim am sefyllfa yr achos yma ar hyn o bryd gan na anfonwyd i ni unrhyw wybodaeth.

## PENYBRYN, WRECSAM.

Yn hanes yr eglwys yn Chester-street, yn y dref hon, nodasom i ymraniad gymeryd lle yn y flwyddyn 1691 ; i un blaid, yr hon oedd dros Galfiniaeth isel mewn athrawiaeth, a Phresbyteriaeth fel ffurflywodraeth eglwysig, fyned yn eglwys ar ei phen ei hun, ac i'r blaid arall, yr hon oedd dros uchel-Galfiniaeth ac Annibyniaeth eglwysig, lynu gyda'r hen weinidog, Mr. John Evans. Yr oedd y blaid hon yn gynwysedig o Annibynwyr a Bedyddwyr, ac yn unfarn a'u gilydd ar bob peth ond y pwngc o fedydd. Bu Mr. Evans yn weinidog iddynt hyd ei farwolaeth, ac yr oeddynt am i'w fab, John Evans, D.D., gymeryd lle ei dad ar ei farwolaeth, ond dewisodd ef fwrw ei goelbren yn mysg y blaid Bresbyteraidd, a bu yn weinidog iddi nes iddo symud i Lundain. Y gweinidog sefydlog cyntaf ar yr eglwys Annibynol ar ol marwolaeth Mr. John Evans oedd Mr. Jenkin Thomas. Ychydig a wyddom o'i hanes ef. Yr ydym yn lled sicr mai un genedigol o ryw le yn Neheudir Cymru ydoedd. Cafodd ran o'i addysg yn athrofa Mr. Samuel Jones, Brynllywarch, ac anfonwyd ef wedi hyny, ar draul y Trysorfwrdd Cynnulleidfaol, i brif athrofa Utretch, yn Holland, yr oedd yno yn 1699 a 1700. Ar ei ddychweliad i'r wlad hon, ymddengys iddo ymsefydlu yn Wrecsam. Nid ydym yn sicr pa un ai yn 1701 neu y flwyddyn ganlynol yr ymsefydlodd yma. Yn 1702, yr oedd yn cymeryd rhan yn ngwasanaeth urddiad Mr. Edward Kenrick a Dr. John Evans. Symudodd o Wrecsam ryw amser cyn 1715, ond nis gwyddom i ba le. Yn 1715, Mr. John Williams, mab y Cadben John Williams, o Langollen, oedd y gweinidog yma. Annibynwr oedd ef pan yr ymsefydlodd yma, ond ni bu yma yn hir cyn i'r aelodau oeddynt dros fedydd trwy drechiad ei berswadio i gymeryd ei drochi. O hyny allan Bedyddwyr fu yma yn weinidogion, ac mewn canlyniad lleihaodd nifer yr Annibynwyr yn yr eglwys, fel y dywed hanesydd y Bedyddwyr yn 1778, nad oeddynt uwchlaw dau neu dri o rif. Yr ydym ni yn barnu mai y ddau neu dri hyny a'u teuluoedd fuont yn foddion i gychwyn yr achos sydd yn bresenol yn Mhenybryn, yn y flwyddyn 1783.

Mae yn ymddangos i'r ychydig Annibynwyr a arosasant yn mysg y Bedyddwyr, wrth weled fod yr hen achos y buasent hwy a'u tadau yn perthyn iddo wedi cael ei droi agos yn hollol yn Fedyddwyr, ac nad oedd ganddynt ddigon o ymddiried yn iachusrwydd athrawiaeth yr eglwys yn Chester-street i allu ymuno a hi, wahodd gweinidogion Annibynol o'r trefydd cymydogaethol i Wrecsam i bregethu. Y canlyniad o hyny fu i un-ar-hugain o bersonau amlygu eu hawydd am gael eu corpholi yn eglwys Annibynol, yr hyn a wnaethbwyd Rhagfyr 1af, 1783. Dr. Edward Williams o Groesoswallt, a Mr. W. Armitage o Gaer, oedd y gweinidogion a weinyddent ar yr achlysur. Ar amser corpholiad yr eglwys cafodd Mr. Jenkin Lewis, myfyriwr o athrofa Croesoswallt, ei urddo yn weinidog yma. Enwau yr aelodau cyntaf a gorpholwyd yma yn eglwys ydynt William Ellis, Frederick Jesseman, John Jones, Michael Williams, James Jones, John Jones, Abraham Mathews, John Griffiths, Robert Jones, Thomas Wilcoxon, Thomas Jones, Joseph Harvey, William Jones, Mary Bellis, Ann Williams, Hannah Jones, Mary Owens, Esther Wilcoxon, Hannah Mathews, Richard Bickerton, a Hannah Wilcoxon. Darfu i dri o'r aelodau, yn enw yr eglwys, arwyddo eu derbyniad o'r gyffes ffydd a ysgrifenasid yn llyfr yr eglwys. Yn y gyffes hono proffesant eu hunain yn Galfinaidd, yn Annibynwyr, ac yn selog dros ddysgyblaeth bur, ond ar yr un pryd amlygant eu cariad at bawb sydd yn caru yr Arglwydd Iesu Grist, er iddynt wahaniaethu yn eu golygiadau oddiwrthynt hwy mewn rhyw bethau. Parhaodd Mr. Jenkin Lewis yn weinidog yma o 1783 hyd 1812, pryd y symudodd i Manchester. Yn 1791, ar symudiad Dr. Williams o Groesoswallt. Cafodd Mr. Lewis ei ddewis yn ganlynydd iddo fel athraw yr athrofa, a chan iddo wrthod derbyn galwad yr eglwys yn Nghroesoswallt. Cafodd yr athrofa ei symud oddiyno i Wrecsam, a bu ef yn athraw yr athrofa ac yn weinidog yr eglwys yn Mhenybryn hyd ei symudiad o Wrecsam. Mewn hen weithdy yn agos i'r fan y saif capel Penybryn yn bresenol yr oeddid yn addoli ar y cyntaf. Yn 1789 yr adeiladwyd ac yr agorwyd y capel cyntaf. Yr oedd Mr. Lewis yn sefyll yn uchel iawn yn ngolwg pawb o'i gydnabod fel boneddwr, ysgolhaig, athraw, a phregethwr rhagorol; ond yn rhywfodd, nid ymddengys i'w weinidogaeth fod yn llwyddianus iawn yn Wrecsam, oblegid na dderbyniodd ond chwech a deugain o aelodau i'r eglwys yn ystod y nawmlynedd-ar-hugain y bu yn weinidog yma. Pregethodd ei bregeth ymadawol yma ar y Sabboth olaf o'r flwyddyn 1812, ac yn mhen mis ar ol ei ymadawiad, dilynwyd ef yma fel athraw a gweinidog gan George Lewis, D D. Tair blynedd yr arosodd Dr. Lewis yma, ac yn ystod yr amser hwnw, derbyniodd ddeuddeg o aelodau i'r eglwys. Yn 1816, symudodd ef a'r athrofa i Lanfyllin. Canlyniedydd Dr. Lewis oedd Mr. George Weideman. Dechreuodd ef ei weinidogaeth yma yn gynar yn 1816, a symudodd oddi yma yn Gorphenaf 1818. Yn nhymor ei weinidogaeth, derbyniodd saith o aelodau i'r eglwys, ac yn eu mysg wr ieuangc o'r enw John Clarke, yr hwn a gyfodwyd i bregethu, ac a fu yn ngwasanaeth y Gymdeithas Genhadol Gartrefol mewn gwahanol fanau yn Lloegr am rai blynyddau. Yn amser Mr. Weideman, gosodwyd oriel yn y capel, ac adgyweiriwyd llawer arno. Y gweinidog nesaf oedd Mr. Samuel Bell. Daeth ef yma ar brawf yn Ebrill 1819, ac urddwyd ef yn mis Tachwedd yn yr un flwyddyn. Arosodd ef yma tua phum' mlynedd, ac yn ystod yr amser hwnw, derbyniodd ddeuddeg-ar-hugain o aelodau i'r eglwys.

Ymadawodd yn Mehefin, 1823, ac wedi ei ymadawiad ef, bu yr eglwys heb yr un gweinidog sefydlog am bedair blynedd. Yn Ionawr, 1827, daeth Mr. William Waterfield yma ar brawf, ac urddwyd ef Mai 7fed, 1828. Parhaodd ef i lafurio yma am naw mlynedd, ac yn y tymor hwnw ychwanegwyd triugain ac wyth o aelodau at yr eglwys. Yn mysg eraill a dderbyniwyd yma gan Mr. Waterfield, gellid enwi John Rogers. Derbyniwyd ef pan yn bymtheng mlwydd oed. Bu yn weinidog enwog a defnyddiol yn Llundain a manau eraill yn Lloegr, a therfynodd ei yrfa yn Bridgeport yn 1871. Gan fod cofiant iddo yn y *Congregational Year Book* am 1872, a bod Dr. Brown, o Cheltenham, wedi cyhoeddi cyfrol o hanes ei fywyd yn ddiweddar, nid oes galwad am i ni roddi hanes ei fywyd yma. Er i Mr. Waterfield dderbyn cynnifer yma, nid oedd rhif yr aelodau ar ei ymadawiad ef yn Awst, 1837, ond un-a-thriugain. Rhagfyr 20fed, 1838, urddwyd Mr. Richard Brown yma, a bu yma am chwe' mlynedd, yn mha amser derbyniodd driugain o aelodau i'r eglwys. Yn Medi 1844, daeth Mr. James Adams yma ar brawf, a chynaliwyd cyfarfod ei sefydliad yn Mawrth, 1845, pryd y pregethodd Dr. Raffles ac eraill. Wedi bod yma ddwy flynedd, cafodd ar ei feddwl i ymadael a'r Annibynwyr, ac ymunodd ag Eglwys Rydd Scotland.

Yn Mawrth, 1846, rhoddwyd galwad i Mr. Aaron Francis, o Ruthin. Bu ef yn llafurio yma gyda mesur helaeth o lwyddiant am chwe' mlynedd. Derbyniodd driugain-a-deg o aelodau yn yr amser hwnw, a chafodd y capel ei brydferthu a'i adgyweirio yn fawr. Ymadawodd i Rhyl, lle y mae etto. Yn Hydref y flwyddyn 1853, ymsefydlodd Mr. John Clarke yma, ac ymadawodd yn Mehefin, 1855. Dilynwyd ef gan Mr. J. G. Short, yr hwn a fu yn llafurio yn llwyddianus hyd Chwefror, 1860. Yr oedd Mr. Short yn barchus nodedig gyda'r dosbarth gweithiol o boblogaeth y dref, a'r fath oedd serch rhai ato fel yr aeth tri o'r aelodau ar ei ol i Lanceshire, a darfu i ddau o honynt ei ddilyn oddiyno drachefn i'r Iwerddon, lle y bu farw. Ar y Sabboth cyntaf yn Medi, 1860, ymsefydlodd Mr. J. Harvey Pickersgill yma. Rhif yr aelodau ar ddechreuad ei weinidogaeth ef oedd 67, ac yn ystod rhwng tair a phedair blynedd ychwanegwyd dau-ar-hugain atynt. Symudodd Mr. Pickersgill oddiyma yn 1864, a bu Mr. William Edwards, yn awr Kilsby, yma am flwyddyn ar ol ei ymadawiad ef. Yn Hydref, 1868, ymsefydlodd Mr. T. F. Nathan, y gweinidog presenol, yma. Yr oedd yr achos wedi myned mor wan fel nad oedd yma ond 38 o aelodau ar ddechreuad gweinidogaeth Mr. Nathan. Y mae efe wedi derbyn deugain oddiar 1868, ac y mae y capel wedi cael ei adnewyddu a'i brydferthu, fel y mae yn awr yn un o'r addoldai harddaf yn y dref. Mae golwg obeithiol ar yr achos yma yn bresenol, ac yr ydym yn hyderu y bydd arosiad Mr. Nathan yma lawer yn hwy na'i ragflaenafiaid. Gwelir mai Mr. Nathen yw y trydydd-gweinidog-ar-ddeg yma er sefydliad yr achos yn 1783, a bod y gweinidog cyntaf o honynt wedi bod yma am naw-mlynedd-ar-hugain. Felly nid oes ond triugain a dwy o flynyddau i'w rhanu rhwng y deuddeg gweinidog dilynol. Mae yn rhaid fod rhywbeth o le yn yr eglwysi hyny y byddo eu gweinidogion yn eu gadael bob pum' neu chwe' mlynedd. Naill ai y maent yn eglwysi rhy annymunol i weinidogion i allu byw gyda hwynt, neu yntau y maent yn rhai rhy fyrbwyll ac annoeth i ddewis gweinidogion cymwys.*

* Llythyr Mr. Nathan.

Gan ein bod eisioes wedi rhoddi bywgraphiadau Dr. Jenkin Lewis a Dr. George Lewis yn nglyn a hanes yr eglwysi yn Casnewydd a'r Drefnewydd, a bod hanes y gweinidogion Saesonig a'u dilynasant yn Mhenybryn yn gwbl anhysbys i ni, nid oes genym gofnodion bywgraphyddol i'w hychwanegu at hanes yr eglwys hon.

## CEFNMAWR, (Saesneg).

Mae y lle hwn yn mhlwyf Rhiwabon. Yn adeg y cyfyngder yn swydd Lancaster, oblegid rhyfel America, daeth nifer o gyfeillion o Ashton-under-lyne, y rhai oeddynt yn aelodau gyda'r Annibynwyr, yma i weithio. Cawsant hen weithdy saer at eu gwasanaeth gan feistr y gwaith, yr hon a gyfaddaswyd at gynal ysgol Sabbothol. Agorwyd hi yn 1864. Aeth y lle cyn pen deuddeng mis yn rhy gyfyng. Yr oedd yma dros 250 o ysgolheigion. Furfiwyd yma eglwys o ddeuddeg o bersonau, y rhai oeddynt yn flaenorol yn aelodau yn Albion Chapel, Ashton-under-lyne, a gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri J. Hutchinson, Ashton; T. B. Brown, Wrecsam, a T. Davison, y Cwinta. Adeiladwyd y capel yn 1866, a phregethwyd ar ei agoriad gan Dr. Thomas, Stockwell. Mae yn y capel le i 400 i eistedd, ac adeiladwyd ef a thalwyd am dano gan y bobl eu hunain, gyda chymorth ychydig gyfeillion, yn enwedig N. Buckley, Ysw., Ashton. Cyn diwedd y flwyddyn 1872, rhoddwyd galwad i Mr. Edward J. Griffith, (Aberdar), yr hwn a ddychwelodd o Awstralia, a dechreuodd ei weinidogaeth yma y Sabboth cyntaf o Ionawr, 1873, ac y mae yn parhau i lafurio yma gyda derbyniad a pharch, a'r eglwys a'r gynnulleidfa yn graddol gynyddu.

## Y CWINTA.

Achos Saesneg ydyw hwn a ddechreuwyd gan Thomas Barnes, Ysw., o Farnworth, wedi iddo brynu etifeddiaeth y Cwinta, neu fel y gelwir y lle yn awr "The Quinta." Adeiladwyd y capel yn y flwyddyn 1858. Mr. J. Riley oedd y gweinidog cyntaf yma, ond Mr. T. Davison yw y gweinidog presenol, yr hwn sydd yma bellach er's rhai blynyddau. Nid yw y gynnulleidfa yn lluosog, ond y mae Mr. Barnes yn noddwr caredig i'r achos, a theulu y Cwinta yn cyfansoddi rhan fawr o'r gynnulleidfa. Er fod y lle yn sir Ddinbych, y mae yr achos gan mai Saesoneg ydyw mewn cysylltiad a chyfundeb Annibynol sir Amwythig.

## WHEATSHEAF.

Mae y lle hwn o fewn dwy filldir i Wrecsam. Pregethir yma er's 35 mlynedd, ac am ychydig bu y lle mewn cysylltiad a Brymbo o dan ofal Mr. W. Williams. Achos bychan ydyw, ac yn Saesneg y dygir yn mlaen yr holl wasanaeth. Mr. Brown o Wrecsam sydd yn bwrw golwg drosto yn benaf, a chynorthwyir ef gan amryw bregethwyr cynorthwyol sydd yn yr amgylchoedd.

## DINBYCH.

Mae yn ymddangos i'r achos yma gael ei gychwyn trwy lafur Mr. William Jones, yr hwn a drowyd allan gan Ddeddf Unffurfiaeth yn 1662. Gan fod hanes cyflawn o'r eglwys hon wedi ei gyhoeddi gan Mr. B. Williams, gweinidog yr eglwys ar y pryd, mewn ysgrif yn y *Beirniad* yn 1863, ar "Annibyniaeth yn Ninbych," ac wedi hyny ei gyhoeddi yn llyfr bychan ar ei ben ei hun, nis gallwn wneyd dim yn well na rhoddi difyniadau helaeth o'r traethawd rhagorol hwnw.

"Yr oedd Mr. Jones yn enedigol o sir Feirionydd. Wedi derbyn addysg foreuol dda, ymsefydlodd yn athraw ysgol ramadegol yn Ruthin; ond yn fuan, fe'i galwyd oddiyno gan Colonel Twistleton, i fod yn bregethwr yn y Castell. Tua'r flwyddyn 1648, cafodd ei neillduo yn offeiriad y plwyf, yr hon swydd a gyflawnodd gyda ffyddlondeb a doethineb mawr hyd adeg ei ymneillduaeth yn 1662. Cyn i Ddeddf yr Unffurfiaeth ddyfod i weithrediad, cymerodd Mr. Jones daith i Lundain i ymgynghori â Baxter, a dychwelodd yn llwyr benderfynol dros Ymneillduaeth. Wedi ei fwrw allan o'r eglwys, parhaodd i lafurio a phregethu yn y dref a'r gymydogaeth. Gorfodid ef i wneuthur hyn yn lled anghyhoedd, gan fod cymaint o berygl iddo syrthio i ddwylaw yr awdurdodau gwladol oeddynt yn gwylio pob cyfleusdra i boeni a charcharu y gweinidogion a ymneillduasent o'r eglwysi. Pan ddaeth Deddf y Pum' Milltir i weithrediad, yr hon a orchymynai yn gaeth nad oedd un o'r gweinidogion a ddiswyddwyd, i bregethu na gweinyddu yr ordinhadau, o fewn pum' milltir i'r lle yr arferent breswylio ynddo cyn eu diswyddiad, gorfodwyd Mr. Jones i ymadael a'r gymydogaeth; ond cafodd dderbyniad croesawgar mewn palasdy o'r enw Plasteg, yn agos i'r Wyddgrug. Yno y preswyliai hen deulu y Trevors; a chan fod y Mr. Trevor a breswyliai yno yr amser hwnw, yn nghyd a'i briod, yn bobl dduwiol, agorasant ddrws eu ty i'r ffoedig, a chafodd noddfa glyd yno rhag y dymhestl erlidus oedd yn curo arno.

"Trwy garedigrwydd Mr. Trevor, ni welodd Mr. Jones ddim angen, canys trefnodd fod 20p. yn y flwyddyn i'w talu iddo yn rheolaidd tra byddai byw. Bu farw Ionawr 20fed, 1679, mewn cyflawn oed. Claddwyd ef yn mynwent Eglwys Hope. Pregethwyd yn ei angladd gan Dr. Maurice, gweinidog cydymffurfiol yn Abergele. Efe hefyd gyfansoddodd yr argraff Lladin sydd ar gareg ei fedd; ond y mae yn anmhosibl cael gafael yn y gareg hono yn awr, am nad oes gofal priodol wedi ei gymeryd gyda'r hen geryg yn y fynwent. Rhoddodd Dr. Maurice gymeriad uchel i Mr. Jones fel dyn caredig, cristion cywir, a gweinidog ffyddlon i Iesu Grist. Bu Mr. Jones yn y carchar am dri mis oherwydd iddo bregethu mewn ty boneddwr ar ol cael ei orchymyn i fod yn ddistaw gan yr awdurdodau. Gwnawd llawer ymdrech egniol gan ei berthynasau i'w droi yn ei ol i'r Eglwys; a chynygiwyd iddo fwy nag unwaith fywioliaeth dda, os cydymffurfiai; ond ni lwyddai dim i siglo ei afael yn egwyddorion Ymneillduaeth. Yn ngwyneb pob ymosodiad o'r fath, dywedai yn ffyddiog, 'Gwna Duw ofalu—ni ddaw neb o honoch gyda mi i'r farn.' Parhaodd hyd ei fedd yn Ymneillduwr selog. Defnyddiodd ei amser i wneyd yr hyn a allai er llesoli ei wlad a'i genedl. Cyfieithodd amryw lyfrau Seisnig i'r Gymraeg, pa rai, yn dra thebyg, a fuont yn foddion argyhoeddiad i lawer darllenydd. Heddwch i'w lwch. Dyma y fath ddyn oedd ein tad

ni oll, gan hyny, ymdrechwn wisgo ei fantell. Tra y dyoddefodd efe gymaint dros ei egwyddorion, na fydded i ni eu gwadu er mwyn ennill ffafriaeth mawrion y byd hwn.

"Yn y flwyddyn 1675, gwnaeth y Parch. Henry Maurice, gweinidog Ymneillduol yn swydd Frycheiniog, gyfres gyflawn a chywir o'r holl eglwysi Ymneillduol trwy Gymru, yn nghyd ag enwau y gweinidogion a'r swyddogion eglwysig a weinyddent yn yr adeg hono. Danfonodd hi i Mr. Edward Terrill o Bristol, yr hwn a'i cadwodd yn ofalus. Mewn llyfr coffadwriaethol am eglwys y Broadmead yn Bristol, yr hwn a adnabyddir gan haneswyr eglwysig wrth y teitl *Broadmead Records*, cyhoeddwyd y gyfres werthfawr hon megis ag yr ysgrifenwyd hi gan Mr. Maurice. Dywed efe fod yn y flwyddyn hono eglwys Ymneillduol yn bodoli yn Ninbych dan ofal gweinidogaethol y Parch. William Jones. Mae yn dra sicr mai yn ddirgel y cyfarfyddent i addoli, gan fod y gelynion mor ddigllawn wrthynt. Wedi marwolaeth Mr. Jones, bu aelodau yr eglwys fechan hono heb neb i bregethu iddynt yn rheolaidd, nac i'w bugeilio yn yr Arglwydd, hyd y flwyddyn 1690, pan ddaeth y Parch. James Owen, Croesoswallt, i ymweled â hwy. Pan yn pregethu y tro cyntaf mewn ty anedd yn y dref, daeth y gelynion yno i'w aflonyddu. Heblaw curo hen bedyll trystfawr, nes boddi ei swn ef wrth bregethu, anmharchasant ef mewn llawer o ddulliau anheilwng a chreulon. Ond nid gwr i'w ddystewi gan swn pedyll pres, a'i orchfygu gan ysgubion cyflogedig, oedd James Owen. Dangosodd yr amgylchiad hwn fod teimlad cryf yn y dref yn erbyn Ymneillduwyr, ac felly apeliodd at y brawdlys chwarterol am drwydded i'w awdurdodi i bregethu yn y ty anedd rhag-grybwylledig. Gwrthodwyd y cais gan y llys hwn, a chynygiodd drachefn yn y sesiwn sirol; ac er mawr lawenydd iddo ef a'r ychydig saint Ymneillduol yn y dref, llwyddodd yr apel, a rhoddodd y barnwr gerydd llym i'r ynadon a wrthodasant y cais yn y llys chwarterol; a thebygol i'r cerydd hwnw o eiddo y barnwr gael effaith mor ddymunol, nes gwasgar yr ystorm fygythiol oedd yn ymgasglu uwchben Ymneillduaeth yn y dref; canys nid oes genym hanes am erledigaeth yno mwyach. Cafodd James Owen a'i bobl lonyddwch i addoli yn y ty trwyddedig; a boreu'r farn a ddengys y nifer o bechaduriaid a achubwyd trwy ei weinidogaeth rymus a gafaelgar.

"Yn y flwyddyn 1693, yr oedd Mr. Baddy yn weinidog yn Ninbych. Y mae lle ei enedigaeth, ei hanes boreuol, a'r amgylchiadau dan ba rai y daeth i weinidogaethu yma, yn orchuddiedig gan dywyllwch. Ond y mae genym luaws o brofion ei fod ef yn ddyn talentog, ac yn bregethwr poblogaidd. Meddai gyfoeth mawr; ac ystyrid ef yn y dref yn foneddwr o ran cyfoeth ac ymddygiadau. Yr oedd yn fantais i Ymneillduaeth yn yr adeg hono i gael dyn o sefyllfa Mr. Baddy i fod yn weinidog. Credai boneddigion nad oedd neb amgen nag ysgubion pob dim yn pleidio Ymneillduaeth; ond wrth weled dyn o gymeriad, boneddigeiddrwydd, a duwioldeb Mr. Baddy, yn pregethu, ac yn cyfrinachu a'r bobl hyn, newidiwyd eu barn i raddau am gymeriad yr Ymneillduwyr. Ond er fod coethder moesau Mr. Baddy yn ennill ffafr y gelynion, yr oedd yn dramgwydd mawr i rai o'r aelodau. Marchogai geffyl braf, gwisgai yspardynau dysglaer, a thystiai rhai o'r aelodau fod hyny yn anghydweddol a symlrwydd yr efengyl. Nid hir y buont cyn dwyn cyhuddiad yn ei erbyn am falchder, a'r unig ateb a gawsant oedd "fod yn ddrwg iawn ganddo eu bod yn rhoddi yn eu calonau i'w blino, yr hyn a roddai efe am sodlau ei draed."

Nis gwyddom pa bryd y bu Mr. Baddy farw; ond ymddengys yn dra thebygol iddo orphen ei oes yn Ninbych. Priododd un o'i ferched ag un Pugh, masnachwr cyfrifol a chyfoethog yn y dref, Pugh a roddodd dir yn *freehold* i adeiladu y capel cyntaf yn 1742. Ar y tir hwnw y saif yr addoldy presenol; a thra byddo yma faen ar faen, mae yn weddus fod coffadwriaeth Baddy a Pugh yn anwyl genym.

"Yn y flwyddyn 1720, yr oedd Mr. James Jardine yn weinidog yma. Yr oedd efe yn enedigol o Lanboidy, sir Gaerfyrddin. Mae yn dra thebygol ei fod yn aelod yn Henllan neu Rydyceisiaid. Priododd ferch Mr. Baddy, ac efe oedd tad Mr. David Jardine, athraw cyntaf athrofa Abergavenny. Bu yn gweinidogaethu yma am ddwy-flynedd-ar-bymtheg. Nid oes genym nemawr gofnodion i'n galluogi i wybod am natur a llwyddiant gweinidogaeth Mr. Jardine. Bu farw yn 1737, a chladdwyd ef yn mynwent yr Eglwys Wen, lle gwelir ei feddrod hyd y dydd heddyw.

"Yr ydym wedi gweled mai yn y flwyddyn 1742 yr adeiladwyd y capel Ymneillduol cyntaf yn y dref. Un Mr. D. Williams oedd yn weinidog yma yn y flwyddyn hono, ac y mae yn dra sicr fod ganddo law bwysig yn nghodiad y capel, canys yr oedd efe yn ŵr pur awyddus ac ymdrechgar dros lwyddiant yr achos. Methasom yn llwyr a chael nemawr o'i hanes, heblaw yr hyn a ddywed Mr. Morgan:—'Meddylir ei fod yn briod a merch Mr. Thomas, gweinidog yn Pwllheli, ac mai merch iddo yntau oedd y diweddar Mrs. Harries o Bwllheli, yr hon y mae ei choffadwriaeth yn barchus hyd heddyw gan bawb a'i hadwaenai. Yr ydoedd yn wraig dduwiol, synwyrol, a haelionus iawn. Meddylir fod Mr. Williams a'i briod wedi marw yn lled ieuangc, ac i'w merch gael ei dwyn i fyny gyda theulu ei mam yn y Gwynfryn, ger Pwllheli.'

"Mr. Thomas Evans oedd yn weinidog yma yn y flwyddyn 1760. Yr oedd efe yn enedigol o Benymain, sir Fynwy. Urddwyd ef yn weinidog yn Llanuwchllyn. Symudodd i Dinbych, a bu yma am flwyddyn, ac yna symudodd drachefn i Mixinden, yn swydd Gaerefrog, lle y bu farw yn 1779. Ar ei ol ef daeth un William Perkins yma. Ni wyddom ond ychydig iawn am y gwr hwn. Gweinidogaethai yma yn 1776. 'Yr oedd efe yn ddyn corffol a hardd o ran ei berson, gwrol a chryf o ran ei feddwl, ac nid oedd yn fyr mewn doniau naturiol; yr oedd hefyd yn meddu llais eglur a chryf. Rhwng y cwbl yr oedd yn dra phoblogaidd.' Symudodd oddiyma i Bencader. Ar ol Mr. Perkins daeth yma un Mr. Michael Maurice. Dywed Thomas Morgan yn ei ddydd-lyfr air cynwysfawr am dano:—'Yn y flwyddyn 1746, derbyniwyd i'r athrofa (Caerfyrddin) y tri canlynol, yn nghyd ag amryw eraill rhy ddinod i'w crybwyll—Mr. Michael Maurice o Drelech. Urddwyd ef yn Ninbych, yn 1753, ond ni bu yno yn hir. Pregethwr lled sychlyd ydoedd.'

"Canlynydd Mr. Maurice oedd y Parch. Daniel Lloyd. Derbyniwyd ef i athrofa Abergavenny, yn mis Mawrth, 1766. Urddwyd ef yn Ninbych, Chwefror, 1770. Rhif yr aelodau pan ddechreuodd Mr. Lloyd ei weinidogaeth oeddynt 13, a'r gwrandawyr yn 40. Yn 1790, yr oedd rhif yr aelodau wedi cynyddu i 60. Mae lluaws yn dwyn tystiolaeth fod Mr. Lloyd yn gristion gloew, yn feddyliwr grymus, yn weinidog ffyddlon, ac yn dra llwyddianus i ennill pechaduriaid at Waredwr. Yr oedd mewn parch mawr gan gyfoethog a thlawd. Cadwai ysgol ddyddiol, a chyfranai addysg o radd uchel i'r ieuengctyd a ddeuent ato. Mae wedi gadael ei lyfrgell at wasanaeth y gweinidog, pwy bynag fyddo. Nid oes ynddi

fawr o lyfrau gwerthfawr a defnyddiol, ond y mae yma rai o lyfrau ysgol y bechgyn, safle a chynwysiad pa rai sydd yn dangos fod Mr. Lloyd yn ddysgawdwr uchel yn yr oes hono. 'Gadawodd yn ei ewyllys ddiweddaf bump o dai anedd yn y dref tuag at gynal y weinidogaeth, yn y lle y bu ef yn weinidog, tra pery y byd hwn.' Gan fod y gledrffordd sydd yn myned ar hyd y dyffryn yn myned trwy ganol y tai, maent oll wedi eu gwerthu i'r *Denbigh, Ruthin, and Corwen Railway Company*, am *rent charge* blynyddol, ond y mae y *property* mor ddyogel i'w amcan ag yr oedd yn wreiddiol. Yma y gorphenodd ei yrfa Gorphenaf 13eg, 1800, yn 55 mlwydd oed. Claddwyd ef yn meddrod Mr. Jardine.

"Canlynwyd Mr. Lloyd gan y Parch. Thomas Powell. Yr oedd efe yn enedigol o Trecastell, sir Frycheiniog. Derbyniodd ei addysg yn athrofa Gwrecsam. Urddwyd ef i'r weinidogaeth yn Ninbych, Hydref 27ain, 1808. Bu yn gweinidogaethu yma am chwe' blynedd. Yr oedd yn bregethwr defnyddiol; ni ystyrid ef yn un o wŷr mawr y cysegr, ond yr oedd ei bregethau yn hynod afaelgar ac ymarferol. Llafuriodd gyda ffyddlondeb mawr i godi achos crefydd yn y dref a'r cymydogaethau. Efe oedd y prif offeryn i ddechreu yr achos Annibynol yn Llanelwy a Waungoleugoed. Priododd ferch ieuangc o gymydogaeth Aberhonddu, yr hon oedd unig blentyn ei thad a'i mam, ac yn berchen cyfoeth lawer. Yr oedd ei rhieni yn anfoddlon iddi fyned gyda'i gwr i breswylio i Dinbych. Yr oedd eglwys y Plough, Aberhonddu, yn wag yr adeg hono, a rhoddodd alwad i Mr. Powell i ddyfod i'w bugeilio.

"Ar ol ymadawiad Mr. Powell, rhoddodd yr eglwys alwad unfrydol i Mr. Robert Everett, gwr ieuangc genedigol o Newmarket, sir Flint. Derbyniodd yntau ei addysg yn athrofa Gwrecsam. Urddwyd ef yn weinidog Mehefin 1af, 1815. Priododd â Miss Elizabeth Roberts, ail ferch Mr. Thomas Roberts, Rosa, a chwaer i'r Mr. Roberts presenol, yr hwn sydd yn aros yn ddiacon parchus, ffyddlon, a dylanwadol iawn hyd y dydd heddyw. Nid oes ond un dystiolaeth i'w rhoddi am Mr. Everett, fel dyn, cristion, a gweinidog. Yr oedd wedi ennill iddo ei hun safle gynes iawn yn nghalonau ei bobl, a safai yn uchel iawn yn marn y cyhoedd. Meddai alluoedd cryfion, a dawn ymadrodd rhwydd; a phe cawsai aros yn y wlad hon, mae yn sicr y buasai yn un o gewri yr areithfa Gymreig. Bendithiodd Duw ei lafur i raddau helaeth iawn, fel yr ychwanegodd y gynnulleidfa, ac y cynyddodd rhif yr eglwys yn fawr. Yr oedd iddo air da gan yr holl saint, a cherid ef yn anwyl gan bawb a'i hadwaenai. Symudodd oddiyma i'r America yn 1823. Mae yn aros hyd heddyw mewn parch ac anwyldeb dihafal gan y miloedd Cymry a breswyliant y Cyfandir gorllewinol. Heblaw bod yn weinidog da i Iesu Grist, y mae hefyd wedi enwogi ei hun, a gwasanaethu ei gydgenedl, fel golygydd y *Cenadwr*. Yn ddiweddar darfu i athrofa Hamilton, America, anrhydeddu ei hun trwy roddi y teitl D.D. i Mr. Everett, ac o hyn allan adwaenir ef wrth yr enw urddasol Dr. Everett, ac nid oes neb o feibion Gwalia yn deilyngach o barch ac anrhydedd."

Yn ddioed wedi ymadawiad Mr. Everett, rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. David Roberts, Pentir, a chynaliwyd cyfarfod ei sefydliad yma Hydref 23ain, 1823, a bu yma yn ddiwyd, ffyddlon, a llwyddianus hyd ei farwolaeth Rhagfyr 13eg, 1835. Trwy ei ymdrechion ef yn benaf y sefydlwyd yr achosion sydd yn awr yn y Rhiw, Llansanan, Nantglyn, Green, Brookhouse, a phregethodd lawer trwy yr holl wlad oddiamgylch.

Mae y ddau le olaf a enwyd etto yn parhau yn nglyn a Dinbych, ac er nad oes eglwys wedi ei ffurfio yn y Brookhouse, cynhelir yno ysgol Sabbothol, a phregethu rheolaidd. Gadawodd Mr. Roberts yr achos yma mewn sefyllfa gysurus iawn, ac y mae ei goffadwriaeth yn barchus yn yr eglwys hyd y dydd hwn.

"Ni bu yr eglwys yn hir ar ol claddu Mr. Roberts heb edrych allan eilwaith am rywun cymhwys i'w bugeilio. Gosododd ei llygad ar un o gewri yr oes, ac ni ollyngodd ei gafael nes llwyddo ei gael, sef y Parch. William Rees, y pryd hwnw o Fostyn, ond yn awr o Liverpool. Cydnabyddwyd ei berthynas â'r eglwys Chwefror 1af, 1837. Bu yma yn llafurio gyda llwyddiant mawr hyd y flwyddyn 1843, pan y symudodd i gymeryd gofal eglwys y Tabernacl, Liverpool. Trwy weinidogaeth nerthol Mr. Rees, a chydweithrediad llaw Duw, bu yma lwyddiant grymus yn y flwyddyn 1839. Tynwyd i lawr yr hen addoldy, ac adeiladwyd yr un eang a chyfleus presenol yn ei le. Yr oedd traul yr adeiladaeth yn 1,200p., heblaw 100p. oedd yn aros yn ddyled ar yr hen gapel. Mae llawer o'r cyfryw ganoedd wedi eu talu, ond y mae cyfran go helaeth yn aros. Dechreu y flwyddyn llynedd (1862), yr oedd 550p. yn aros. Talwyd 200p. cyn diwedd Rhagfyr. Casglodd yr eglwys yn ystod y flwyddyn at wahanol achosion 340p., heblaw y cymunroddion a ddertynia yn flynyddol. Parhaed yr ysbryd gweithgar hwn, telir y ddyled oll mewn byr amser, a chawn weled diwrnod y jubili cyn hir. Yr oedd cynnulleidfa fawr yn gwrando yn amser Mr. Rees, yn cael ei gwneyd i fyny o amryw o brif deuluoedd y dref a'r cymydogaethau. Gall eglwys Dinbych deimlo yn falch iddi gael yr anrhydedd o eistedd dan weinidogaeth gwr o athrylith a dawn Hiraethog am chwe' blynedd o amser. Mae y ffaith iddi roddi galwad i ddyn o alluoedd Mr. Rees yn siarad yn uchel am ei barn a'i chwaeth. Ar ol i Mr. Rees ymadael, rhoddodd yr eglwys alwad i'r Parch. David Price, y pryd hwnw o Rhosllanerchrugog, ond yn awr o Newark, Talaeth Ohio, yn America. Dechreuodd ei weinidogaeth Awst 10fed, 1843. Bu yn llafurio gyda ffyddlondeb mawr, yn ngwyneb anfanteision luaws, am yr ysbaid o dair-blynedd-ar-ddeg. Yr oedd Mr. Price yn un o bregethwyr mwyaf d niol, poblogaidd, a dewisol Cymru. Cerid ef yn gyffredinol gan yr eglwysi. Yr oedd ei arabedd barod, ei sirioldeb dirodres, a'i anwyldeb cynesgalon, yn tueddu i wneyd lle dwfn iddo yn serch pawb a'i hadwaenent. 'Cyfarfyddodd â mynych ofidiau drwy ruthriadau mynych angau yn gwneyd rhwyg ar ol rhwyg yn ei deulu.' Teimlid galar mawr gan luaws o'i gyfeillion ar ei ymadawiad, a siaredir yn gynes ganddynt yn barhaus am ei enw a'i garedigrwydd. Ar ei ymadawiad i'r Amerig, fel arwydd o barch a chydymdeimlad, rhoddodd yr eglwys anrheg o 40p. iddo. Wedi hyn, bu yr eglwys heb weinidog am bedair blynedd o amser. Yn y cyfamser, adgyweiriwyd y capel, nes y mae yn bresenol y capel harddaf yn y dref. Ond yn anrhaethol bwysicach na hyn, cafodd yr eglwys dywalltiad helaeth o'r Ysbryd Glan yn amser y diwygiad yn 1859-60. Torodd y diwygiad allan pan oedd y Parch. H. E. Thomas, Birkenhead, yma yn *supplio* Tachwedd 27ain, 1859. Mae y ffaith syml hon wedi gwneyd Mr. Thomas, am byth, yn un o anwyliaid plant cynes y diwygiad. Ymddengys fod yr eglwys wedi ei hail wneyd trwyddi gan y diwygiad hwn. Oeraidd a difywyd ydyw y cymeriad a roddir iddi cyn y diwygiad, ond yn awr y mae yn meddu graddau helaeth o wres crefydd. Am flynyddau cyn i'r diwygiad dori

allan, yr oedd wedi myned yn galed ei theimlad, ac wedi myned yn bur ddifater am fywyd a llwyddiant y gwaith. Dywedir wrthym mai peth pur anghyffredin oedd cael un amlygiad o deimlad wrth wrando y genadwri. Ond cafodd y diwygiad ddylanwad mor drwyadl, nes y mae hollol gyfnewidiad wedi cymeryd lle yn y cyfeiriad hwn. Byth ar ol y diwygiad, mae arogl esmwyth ar yr holl foddion; mae yma galonau fuont yn oerion am flynyddau, wedi eu cynhesu gan gariad Duw, fel y credwn nad oes digon o nerth yn nghorwynt toedd y ceubwll i'w ddiffodd mwyach. Derbyniwyd yma ugeiniau yn yr adeg hono, ac y mae y rhan fwyaf o honynt yn aros ar du yr Arglwydd. Mae yma weddio taer, a disgwyliad ffyddiog am i ysbryd Duw ymweled drachefn â'i bobl, nes ail eni tyrfa fawr."

Yn mis Medi, 1861, rhoddodd yr eglwys alwad hollol unfrydol i Mr. B. Williams, Dowlais. Cydunodd yntau â'r cais. Dechreuodd ei weinidogaeth yma Tachwedd 17eg, o'r un flwyddyn. Cynaliwyd cyfarfodydd ei sefydliad Chwefror 19eg a'r 20fed, 1862. Bu Mr. Williams yma dros amryw flynyddau yn barchus a defnyddiol. Yn ei dymor ef yr ailadeiladwyd capel y Green, ac y codwyd yr addoldy hardd a welir yno. Derbyniodd alwad o Canaan, gerllaw Abertawy, a symudodd yno yn ngwanwyn y flwyddyn 1867, lle yr erys etto. Er hyny y mae yr eglwys hon heb sefydlu ar weinidog. Adeiladwyd yma gapel bychan yn agos i'r Castell, a elwir Tower Hill, ac agorwyd ef Tachwedd 6ed a'r 7fed, 1872. Cynhelir ynddo ysgol Sabbothol a chyfarfod gweddi yn rheolaidd, a phregethir ynddo yn achlysurol. Mae yma achos cryf a pharchus, a lluaws o bobl ragorol wedi bod yma o bryd i bryd.

Codwyd y personau canlynol i bregethu yn yr eglwys hon.

Edward Williams. Ganwyd ef yn Glanclwyd, gerllaw Dinbych, Tachwedd 14eg, 1750. Yr oedd ei rieni yn bobl barchus yn eu hardal, yn dda arnynt yn eu hamgylchiadau bydol, a chan mai efe oedd eu hunig fachgen cafodd bob tynerwch, ac addysg ysgolion goreu ei wlad. Anfonwyd ef pan yn un-ar-ddeg oed i'r ysgol i Lanelwy, gyda'r bwriad i'w barotoi i un o'r prif ysgolion, oblegid amcan ei dad oedd ei ddwyn i fyny yn offeiriad; ond gan nad oedd yn gogwyddo at hyny meddyliwyd am iddo fyned yn gyfreithiwr, ond nid oedd ynddo ychwaith duedd at hyny. Yr oedd o duedd fyfyrgar ac yn ymhyfrydu mewn darllen; ac aeth unwaith i wrando un o bregethwyr y Methodistiaid y rhai oeddynt yn tynu sylw mawr yn y dyddiau hyny; a chan nad oeddynt gan mwyaf ond gwyr anllythrenog ystyriai ei dad fod ei fab yn diraddio ei hun a'i deulu wrth ymgysylltu a hwy, ac oblegid hyny gwaharddai ef dan boen ysgymundod o'r teulu na wnelai hyny drachefn. Ond yr oedd y llangc wedi ei ddwyn dan ryw ddylanwadau dyeithr iddo, ac nis gallasai ymryddhau oddiwrthynt. Gwnaeth ei dad bob cynyg i gael ganddo foddloni i ymgyflwyno i weinidogaeth yr Eglwys Sefydledig; ac anfonwyd ef i'r Dderwen i fod dan ofal offeiriad i gael addysg ychwanegol; ond nid oedd dim yn tycio; teimlai ei fod allan o'i elfen yn hollol; a dychwelodd adref i dy ei dad. Yn yr adeg yma, yn rhagluniaethol, ffurfiodd gydnabyddiaeth a Mr. Daniel Lloyd, gweinidog yr Annibynwyr yn Ninbych, a chafodd yn Mr. Lloyd noddwr tyner a chyfarwyddwr caredig, ac ymunodd a'r eglwys dan ei ofal. Gan fod Mr. Lloyd yn wr cyfrifol a chyfoethog boddlonodd gwr Glanclwyd i'w fab gyfathrachu ag ef, a phenderfynodd, ar ol hir wrthwynebu, ei gefnogi i ddilyn ei ogwyddiadau. Anogwyd y gwr ieuangc cyn hir i ddechreu pregethu, ac yn y flwyddyn 1771 derbyniwyd

ef i athrofa Abergavenny. Bu yno yn efrydydd diflino, er iddo unwaith fod yn ymyl cael ei faglu gan olygiadau gwylltion Llewelyn o Lanllieni. Ar derfyniad ei amser yn yr athrofa derbyniodd alwad o Ross yn sir Henffordd, lle y sefydlodd yn 1775. Wedi bod yno ddwy flynedd symudodd i Groesoswallt, lle yr ymroddodd yn egniol i gyflawni ei weinidogaeth. Gan fod Dr. Davies, athraw yr athrofa yn Abergavenny, wedi symud i athrofa Homerton gwahoddwyd Mr. Williams i fod yn olynydd iddo; ond gwrthododd symud o Groesoswallt, ond addawai gymeryd gofal yr athrofa os symudid hi ato, ac felly y bu. Mai 14eg, 1782, y symudwyd yr athrofa, yn cynwys y llyfrgell, a chwech o fyfyrwyr o Abergavenny i Groesoswallt. Gweithiodd Mr. Williams yno yn galed am ddeng mlynedd. Heblaw ei ofal gweinidogaethol, a'i lafur gyda'r athrofa, a phregethu trwy yr holl wlad oddiamgylch, cyfansoddodd amryw lyfrau, yn enwedig ei waith ar Fedydd, yr hwn a gostiodd iddo lafur dirfawr. Derbyniodd alwad o Carr's Lane, Birmingham, a dechreuodd ei weinidogaeth yno y Sabboth cyntaf yn Ionawr, 1792. Yn y flwyddyn hono y cychwynwyd yr *Evangelical Magazine*, a dewiswyd Mr. Williams i fod yn olygydd. Ac yn y flwyddyn hono hefyd, ar gais gweinidogion swydd Warwick, yr ysgrifenodd Mr. Williams anerchiad at yr eglwysi Annibynol, yn galw arnynt i ymdrechion ychwanegol dros helaethiad terfynau teyrnas y Gwaredwr; ac fel ffrwyth yr anerchiad hwnw yn benaf y cychwynwyd Cymdeithas Genhadol Llundain, a chyfarfod gweddi cenhadol y nos Lun cyntaf o bob mis. Yr oedd Mr. Williams erbyn hyn yn cael edrych arno fel un o brif weinidogion ei enwad yn Lloegr, yn gystal ag fel un o'r meddylwyr galluocaf yn ei oes. Cyn pen tair blynedd wedi ei sefydliad yn Birmingham derbyniodd wahoddiad i fod yn athraw yr athrofa yn Rotherham, ac yn weinidog yr eglwys Annibynol yno. Cydsyniodd a hyny, a dechreuodd ei lafur yno yn niwedd Medi 1795; a llafuriodd yno hyd ei farwolaeth Mawrth 9fed, 1813, yn 63 oed.

Bu ei fywyd yn un llafurus a gweithgar, ac nid yw yn debyg ddarfod i neb yn ei oes adael mwy o ddylanwad ar dduwinyddiaeth Lloegr. Mae ei weithiau wedi eu cyhoeddi yn bedair cyfrol hardd dan olygiaeth y diweddar Mr. Evan Davies, Richmond; ac y maent yn drysor anmhrisiadwy. Nis gallwn yma ymgymeryd ag adolygu ei weithiau, nac yn wir i gyfeirio atynt bob yn un ac un, llawer llai y gallwn elfenu ei olygiadau neillduol. Ond addefir yn lled gyffredinol na chafodd yr hyn a elwir yn Galfiniaeth gymhedrol amddiffynydd galluocach yn neb nag a gafodd ynddo ef. Cariodd ei olygiadau ar Iawn a Phrynedigaeth ddylanwad neillduol, a'i eiddo ef a fabwysiadwyd gan ysgol luosog a ddaeth ar ei ol y rhai a alwent eu hunain yn Galfiniaid cymhedrol. Yn ol Dr. Williams y mae yr Iawn yn gyffredinol, a'r Prynedigaeth yn neillduol; y naill yn golygu y pris haeddianol, a'r llall y waredigaeth weithredol trwyddo. Golygai ef fod Iesu Grist yn bridwerth dros bawb, mor bell, ag i symud ymaith bob rhwystr o du y Llywodraethwr mawr i gadw pawb yn ddiwahaniaeth; ac ar yr un pryd credai ei fod yn ei farwolaeth yn sefyll mewn perthynas gyfamodol a'i bobl fel eu Meichniydd, y fath berthynas ag oedd yn sicrhau cymhwysiad o'i haeddiant yn eu ffafr hwy er eu hiachawdwriaeth. Edrychai ar yr Iawn yn cael ei gyflwyno i'r Duw mawr yn ei gymeriad o Lywodraethwr moesol, ac yn y berthynas hono, ei fod yn gyffredinol; a thra yn cydnabod fod y drefn oll o ras, fod y Prynedigaeth yn arbenig yn deilliaw oddiwrtho fel Pen-Arglwydd grasol,

ac yn y berthynas hono yn neillduol i'r eglwys. Amcan mawr ei gyfundraeth ydyw dal yn eglur ryddid a chyfrifoldeb dyn, a'i fod yn gwbl ddiesgus am ei wrthodiad o'r efengyl; ac etto fod iachawdwriaeth pechadur yn hollol o ras penarglwyddiaethol Duw.

Bydd ei enw yn disgyn yn barchus i oesau dyfodol fel meddyliwr o'r radd flaenaf, fel duwinydd efengylaidd, ac fel gweinidog cwbl ymroddgar i'w waith; ac y mae yn anrhydedd i eglwys Dinbych mai ynddi y derbyniwyd ef yn aelod, ac mai o honi yr aeth allan yn bregethwr.

Evan Lewis. Bu trwy ei oes yn bregethwr cynorthwyol yn Rhuthyn; ac yr oedd gan bawb yn dderbyniol a pharchus.

Thomas Davies. Treuliodd ei oes yn Abertawy, ac yr ydym wedi cyfeirio ato yn nglyn a'r Pentre.

William Jones. Bu yn gweinidogaethu am oes hir yn Nghaernarfon ac Amlwch, a cheir byr goffâd am dano yn nglyn a'r lle blaenaf.

Watkin Williams. Cawn gyfeirio ato pan ddeuwn at hanes y Drewen, sir Aberteifi.

Thomas Jones. Urddwyd ef yn Nhrefdraeth, sir Benfro. Bu wedi hyny yn Tiers Cross. Enciliodd i'r Eglwys Sefydledig, ac y mae yn awr yn offeiriad yn Llanybri.

William Jones. Urddwyd ef yn Waungoleugoed, a symudodd i Flint lle y bu farw.

Edward Edwards. Yr oedd ef yn fab i Thomas Edwards, Penisa'rdref, ac yn nai i Dr. Edward Williams. Addysgwyd ef yn Rotherham. Sefydlwyd ef yn Ware, swydd Herts, ond gwaelodd ei iechyd a bu farw Ionawr 3ydd, 1831, yn 32 oed.

William Caledfryn Williams. Yr ydym eisioes wedi rhoddi byr goffâd am dano yn nglyn a hanes y Groeswen.

Thomas Pierce. Treuliodd ei oes yn Liverpool lle y daw ei hanes dan ein sylw.

Robert Roberts. Addysgwyd ef yn athrofa Blackburn, ac y mae yn awr yn East Bergholt, swydd Suffolk.

John Jones. Bu yn athrofa y Drefnewydd. Mae yn weinidog yn Bromyard, swydd Henffordd.

John Roberts. Yr oedd efe yn fab i John Roberts, Lon y Llythyrdy. Bu farw o'r darfodedigaeth, Medi 1af, 1824, yn 25 oed, yn dra buan ar ol iddo ddechreu pregethu. Dywed Mr. Roberts am dano fel y canlyn yn y *Dysgedydd* am Ion. 1825:—"Yr oedd yn ddyn ieuangc llafurus, ac awyddus am wybodaeth, egniol o blaid yr ysgol Sabbothol, diwyd yn mhob moddion gras, a pharod ac ewyllysgar i gynorthwyo yr achos mawr hyd eithaf ei allu yn mhob ystyriaeth. Yr oedd ei weinidogaeth yn dra efengylaidd, ysgrythyrol, a bywiog, ac yn gymeradwy iawn gan lawer o'i wrandawyr. Yr oedd yn cydnabod ei ffaeledd yn ostyngedig, 'Mae'r Arglwydd yn gwybod fy mod wedi bod lawer gwaith ger ei fron gyda galar, gofid, a chywilydd, yn cydnabod fy ngwendid a'm colliant, sef sydynrwydd a gwylltineb fy ysbryd, ac yn llefain am nerth idd ei lywodraethu. Y mae y pren sydd yn yr ardd yn dyst fy mod wedi bod yn wylo dano lawer canwaith, oherwydd fy anmherffeithrwydd.' Pan oedd angeu yn ei rym yn chwalu y ty pridd, a'r enaid yn cymeryd ei aden i fyd yr ysbrydoedd, dywedodd yn orfoleddus, 'Noddfa, noddfa, noddfa.'

Claddwyd ef yn ol ei gyfarwyddyd ei hun yn yr Eglwys Wen, y 4ydd dydd o fis Medi diweddaf, pan yr oedd canoedd o'i hen gyfeillion a'i gymydogion yn ei hebrwng i lan y bedd, i'w ddodi i orwedd yn ei wely pridd, mewn gwir ddyogel obaith o adgyfodiad gorfoleddus yn more y farn ddiweddaf."

Thomas Roberts. Dygwyd ef i fyny yn athrofa Aberhonddu, ac y mae yn awr yn weinidog yn Llanrwst.

Lewis Roberts. Mab yr hen weinidog. Dygwyd ef i fyny yn athrofa Aberhonddu, ac y mae yn awr yn weinidog yn Dorrington, gerllaw yr Amwythig.

Edwin Roberts. Mae ef yn aros yn yr eglwys yn bregethwr cynorthwyol parchus.

David Lloyd Jones. Addysgwyd ef yn athrofa y Bala. Mae yn awr yn terfynu ei weinidogaeth yn Rhuthyn, ac ar ymfudo i Patagonia.

John Walters. Erys ef yn yr eglwys yn bregethwr derbyniol a chymeradwy.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Nid oes genym unrhyw gofnodion i'w gwneyd am weinidogion cyntaf yr eglwys hon rhagor yr hyn a wnaed eisioes yn hanes yr eglwys. Yr ydym wedi cyfeirio at Mr. Powell yn nglyn a Brynbiga; ac y mae pedwar o hen weinidogion yr eglwys hon yn fyw etto, fel nad oes genym ond dau i gyfeirio atynt.

Daniel Lloyd. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1745. Dygwyd ef i fyny yn Mhenybanc, yn mhlwyf Llanwrtyd. Derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yno, ac yno y dechreuodd bregethu. Derbyniwyd ef i athrofa Abergavenny, yn mis Mawrth, 1766; urddwyd ef yn Ninbych, Chwefror, 1770. Rhydd Mr. Jones, Amlwch, rai ffeithiau dyddorol am amser gweinidogaeth Mr. Lloyd:—"Wedi iddo sefydlu yn y weinidogaeth, priododd un Anne Edwards, aelod o'r eglwys dan ei ofal, a merch i John Edwards o Benisa'rdref, yr hon a fu yn ymgeledd gymhwys iddo am ei oes, ac yn weddw yn nhy y capel am rai blynyddau ar ol ei gladdu. Yr oedd yn ei ddyddiau ef Ysgotiaid a Seison yn y gynnulleidfa, ac yn aelodau o'r eglwys dan ei ofal. Byddai Mr. Lloyd yn cynal gwasanaeth Seisnig o flaen yr un Cymreig bob bore Sabboth; ac weithiau yn y prydnawn hefyd. Yr wyf yn cofio hefyd filwyr Ysgotaidd *(cavalry)* a fu yn y dref dros amser yn dyfod i'r gwasanaeth Seisnig; a byddai yr olwg ar y capel, er yn ddyeithr, eto yn hardd. Deuai y Cymru i mewn y bore (oddieithr ychydig oedd yn deall Saesneg ac yn hoffi ei wrando) pan y byddai y Saeson yn myned allan. Yr oedd cynnulleidfa Dinbych y pryd hyny yn fwy lluosog yn y bore nag un adeg arall o'r dydd." Prif fai bywyd gweinidogaethol Mr. Lloyd oedd gormod o arafwch i symud gydag angenrheidiau yr oes. Yr oedd teimlad yr oes yn galw am fywyd a thân yn y weinidogaeth; ond cadwai efe at yr hen drefniadau oeraidd a difywyd, ac mewn canlyniad ciliodd llawer o'r prif aelodau; ymadawodd lluaws o'r gwrandawyr i fanau lle caffent weinidogaeth fywiog, a gwanychodd yr achos yn ddirfawr. Dywed Caledfryn, yr hwn a fagwyd yn Ninbych, ac sydd yn un o'r rhai addasaf yn Nghymru i roddi barn ar y pwngc, fel hyn,—"Clywais pan oeddwn yn fachgen y byddai Thomas Edwards, o'r Nant, yn arfer gwrando yn y capel yma, ac iddo ddigio wrth Mr. Llwyd,

y gweinidog, fel y gelwid ef gynt, am iddo omedd iddo gael cenad i ganu carol yn amser y gwyliau. Yr wyf yn cofio yr edrychid ar aelodau yr eglwys yma, tua haner can' mlynedd yn ol, fel hen lanwyr parchus, hynod lym dros eu trefniadau a'u ffurfiau, ond yn bur sychlyd. Nid oeddynt yn plygu fawr gyda'r oes, pan oedd achos y Methodistiaid yn dân ac yn lluched i gyd. Yr oedd cryn wrthwynebiad mewn rhai o honynt i 'orfoleddu.' Gadawodd amryw y lle, ac aethant at y Methodistiaid, yn amser Mr. Llwyd, mewn canlyniad i hyny. Yr oeddynt hwy am gael eu defodau fel gwŷr y llan, yn barchus (*respectable*), heb roddi nemawr ryddid i'r teimladau dori dros y llestri." Yr oedd Mr. Lloyd yn nodedig o barchus gan yr holl wlad; ond y mae yn ddiamheu y gwnaethai fwy o'i ol pe buasai ei weinidogaeth o nodwedd mwy ymosodol. Bu farw Gorphenaf 13eg, 1800, yn 55 oed.

David Roberts. Ganwyd ef yn y Felinisaf, yn mhlwyf Llangan, sir Gaerfyrddin. Yr oedd ei dad yn henuriad ac yn bregethwr cynorthwyol parchus yn eglwys Henllan. Bedyddiwyd ef Ebrill 14eg, 1787, gan Mr. Richard Morgan, Henllan. Derbyniwyd ef yn aelod Gorphenaf 8fed, 1804, ac ymddengys iddo ddechreu pregethu cyn hir. Pregethodd ei bregeth gyntaf yn nhy Enoc Rees, gwehydd, hen ddiacon parchus yn Rhydyceisiaid. Ei destyn oedd Pregethwr xi. 9, "Gwna yn llawen wr ieuangc," &c. Wedi gorphen ei amser fel efrydydd yn athrofa Gwrecsam derbyniodd alwad o Lanfyllin, ac urddwyd ef yno y Mawrth cyntaf ar ol y Pasg, 1810. Llafuriodd yno am yn agos i bum' mlynedd, ac yna symudodd i Fangor a'r canghenau cysylltiedig. Trwy ei lafur ef tra yno y codwyd capel yn Bethesda, ac wrth weled fod y llafur yn ormod iddo rhoddodd yr eglwys yn Mangor i fyny yn 1822, gan gyfyngu ei hun i'r eglwysi yn y wlad. Preswyliai ar y pryd hwnw yn Plas Pentir. Yn 1823, ar ymadawiad Mr. Everett i America, derbyniodd alwad o Ddinbych, a symudodd yno i lafurio gyda llwyddiant a pharch mawr dros weddill ei oes. Mae yn anmhosibl defnyddio geiriau rhy gryfion wrth ganmol ffyddlondeb, diwydrwydd, a gofal gweinidogaethol Mr. Roberts.

"Yr oedd Mr. Roberts yn un rhagorol o ran mwyneidd-dra a chyfeillgarwch ei ysbryd; yn Gristion syml a dirodres; yn bregethwr eglur a melus; a hoffus iawn gan ei wrandawyr yn gyffredinol. Disgynai ei ymadroddion fel 'gwlith-wlaw ar irwellt,' Fel gweinidog yr ydoedd yn barchus iawn, ac o ddylanwad mawr ar bobl ei ofal. Meddai ar lawer o ysbryd cyhoeddus, a medr neillduol i ddenu eraill i gydweithredu er lledaenu teyrnas y Gwaredwr. Er nad ymddangosai yn ei bregethau yn dduwinydd dwfn, a manwl o ran ei wybodaeth, etto ceid ef mewn cyfeillach yn dduwinydd da, a chywir ei syniadau am athrawiaethau yr efengyl." Bu farw Rhagfyr 13eg, 1835, yn 48 oed, a chladdwyd ef yn mynwent yr Eglwys Wen, a'r Sabboth olaf o'r flwyddyn hono, traddodwyd pregeth angladdol iddo yn nghapel Lon Swan, gan ei gyfaill Mr. Williams o'r Wern, oddiar Actau xiii. 36, "Canys Dafydd, wedi iddo wasanaethu ei genhedlaeth ei hun trwy ewyllys Duw, a hunodd, ac a ddodwyd at ei dadau, ac a welodd lygredigaeth."

## GREEN.

Yr oedd amryw o'r ardal yma yn cyrchu yn rheolaidd i Ddinbych er cychwyniad Ymneillduaeth yno, ond nid ymddengys fod pregethu wedi bod

yma hyd yr adeg pan yr oedd Mr. Powell yn weinidog yn Ninbych. Pregethid yn Tyddynlunt, Trefnant Farm, Greenisaf, a Parklane. Thomas Pierce, Ty'nylon, oedd un o'r crefyddwyr cyntaf y mae genym hanes am dano yma. Bu ef farw yn y flwyddyn 1775. Wedi hyny Zacheus Pierce ei fab, ac Elizabeth ei wraig, ac Elizabeth a Mary Pierce eu merched, John Ellis, saercoed yn *Forge*, Bodffari. Efe oedd tad Mr. M. Ellis, Mynyddislwyn; Ellis Ellis, Mostyn; Mrs. Foulkes, Ty'nffordd, yr oedd hi yn fodryb i'r enwog Dr. Edward Williams o Rotherham; Robert Ellis, o'r Geinos, Betti Williams, Penyffordd; Robert Hopson, Mary Jones, o'r Pant, a Foulk Jones, o'r Hendy. Mewn blynyddoedd diweddarach bu W. Williams, Acerlas, a'i deulu, yn ymdrechgar iawn gyda'r achos yma. Cynhelid cyfeillachau yn Parklane am flynyddoedd. Symudwyd oddiyno er mwyn cyfleusdra i'r Greenisaf, ac yno cychwynwyd ysgol Sabbothol, a phregethu bob prydnawn Sabboth. Cafwyd tir at adeiladu capel bychan yn y Green, ac agorwyd ef Gorphenaf 26ain a'r 27ain, 1827. Ni fwriedid ef ond i wasanaethu fel ysgoldy. Mae y lle o'r dechreuad yn gangen o eglwys Dinbych. Cedwid yma gymundeb yn achlysurol er's blynyddau er mwyn y rhai na allant fyned i'r dref, ac yn awr cedwir yma gymundeb a phob moddion yn rheolaidd. Yn nhymor gweinidogaeth Mr. B. Williams, adeiladwyd yma gapel newydd hardd, yr hwn a agorwyd yn y flwyddyn 1864. Mae yma achos siriol, ond nis gellir disgwyl yma gynnulleidfa luosog, gan nad yw poblogaeth y wlad ond teneu. Llafuriodd yr hen bregethwr ffyddlon John Jones yma am lawer o flynyddoedd, ac y mae etto yn fyw rai sydd wedi bod o help mawr i'r achos yma.

## MOELFRA.

Ymddengys na bu dim pregethu gan yr Annibynwyr yn mhlwyfydd Llansantsior a Llanefydd cyn dechreu y ganrif bresenol. Yn y flwyddyn 1801, ar wahoddiad Mr. Thomas Davies, Fforddlas, daeth Mr. Thomas Jones, yr hwn oedd ar y pryd yn cadw ysgol yn Ninbych, ar un Sabboth i'r ardal i bregethu. Pregethodd mewn ffermdy bychan a elwir Cae'r moch. Yr oedd yr oedfa wedi ei chyhoeddi yn lled gyffredinol trwy yr ardal, ac erbyn yr amser yr oedd lluaws, nid bychan, wedi dyfod yn nghyd i glywed a gweled y peth newydd hwn yn eu cymydogaeth. Wedi i Mr. Jones ddyfod, a dechreu y moddion, safai y bobl o hirbell fel pe buasai arnynt ofn dyfod yn rhy agos i'r gwr a'r gwaith a ymddangosai iddynt hwy mor ddyeithr. Daethant yn nes, nes, yn ystod yr oedfa, a chyn y diwedd cafodd Mr. Jones arwyddion amlwg mai llaw yr Arglwydd a'i harweiniasai ef yno. Cyrchodd yma yn gyson bob Sabboth o hyny allan, a gwnaeth ei feddwl i fyny mai dyma y maes oedd wedi ei nodi gan ragluniaeth iddo ef i lafurio arno. Er mwyn cyfleusdra aed i ysgubor lle a elwir yn Ysguboriau, ac wedi hyny drachefn i'r Tylgarth, ac yno corpholwyd yr eglwys, ac yr urddwyd Mr. Jones yn weinidog yn y flwyddyn 1804. Yr un flwyddyn cafwyd lês am 999 mlynedd ar dir i adeiladu capel, yr hwn a agorwyd y flwyddyn ganlynol. Llwyddodd yr achos yn fawr, fel y bu raid yn 1823 ei helaethu, a thrwy lafur Mr. Jones llwyr dalwyd am dano. Parhaodd Mr. Jones i gyrchu yma o Dinbych ar bob tywydd am 24 mlynedd, ond yn 1825, symudodd i Lansantsior i fyw, a thros yr holl ysbaid parhaodd i wasanaethu yr efengyl yn rhad. Gwael-

odd ei iechyd, a bu farw Tachwedd 9fed, 1831. Yn Tachwedd y flwyddyn ganlynol dechreuodd Mr. Edward Williams, Main, ei weinidogaeth yma, a bu yma am fwy na phum' mlynedd, ac yna symudodd i Lanfairmuallt. Wedi hyny, daeth Mr. John Roberts, Llanbrynmair, yr hwn a briododd un o ferched yr hybarch Thomas Jones, yn weinidog yma, ac wedi aros yma am flwyddyn, dychwelodd i Lanbrynmair. Rhoddwyd galwad i Mr. David Hughes, B.A., myfyriwr o Brif Ysgol Glasgow, ac urddwyd ef yn Llansantsior, Medi 14eg, 1841. Bu Mr. Hughes yma dros rai blynyddoedd, ac yna symudodd i Manchester. Yn haf y flwyddyn 1847, rhoddwyd galwad i Mr. Ellis Thomas Davies, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yn Llansantsior, Rhagfyr 8fed, 1848, yn nglyn ag agoriad y capel newydd yno. Mae Mr. Davies yn parhau i lafurio yma mewn cysylltiad a Llansantsior ac Abergele.

Mae yn ymddangos mai yma y derbyniwyd y ddau frawd Thomas Parry, Blackburn, a John Lewis Parry, East Cowes, yn aelodau, ac mai yma y dechreuasant bregethu. Cyrchent yma yn rheolaidd o Abergele, ac fel yr ydym eisioes wedi cael achlysur i sylwi, yr oeddynt yn ddynion o alluoedd meddyliol pell uwchlaw y cyffredin.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Thomas Jones. Ganwyd ef yn Nhrecyrnfawr, yn mhlwyf Llanwinio, yn sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1773. Yr oedd ei dad yn frawd i Mr. Benjamin Jones, Pwllheli, wedi hyny, ac anfonwyd ef at ei ewythr, yr hwn oedd ar y pryd yn Rhosymeirch yn weinidog, ac yno y derbyniwyd Mr. T. Jones yn aelod. Wedi bod yno ddwy flynedd, dychwelodd adref at ei rieni, ac anogwyd ef gan yr eglwys yn Henllan i ddechreu pregethu. Derbyniwyd ef i'r athrofa Henaduriaethol oedd ar y pryd yn Abertawy, ac yr oedd yn fyfyriwr ynddi pan y symudwyd hi i Gaerfyrddin. Bu yn yr athrofa bum' mlynedd, a chan ei fod wedi cael manteision mwy na chyffredin cyn myned yno, daeth yn ysgolhaig rhagorol. Yn y flwyddyn 1799, ymwelodd a'r Gogledd, a daeth i Ddinbych yn 1800, wedi marwolaeth Mr. Lloyd, ac anogwyd ef i ymsefydlu yno. Oherwydd rhyw amgylchiadau methodd ef a rhai o'r aelodau gyd-dynu, ac felly rhoddodd i fyny bob meddwl am fod yn weinidog yno, ond gan ei fod eisioes wedi agor ysgol o radd uchel yno, ac yn gwneyd yn dda, penderfynodd aros yn Ninbych. Sefydlodd ei lygad ar gymydogaeth Moelfra a Llansantsior, a thrwy ei lafur ef codwyd capeli yn y ddau le. Codwyd capel hefyd yn Colwyn, a bu yn ymdrechgar i gasglu er llwyr ddileu eu dyled. Teithiodd trwy ranau o Gymru, Lloegr, a Scotland er gwneyd hyny. Elai yn rheolaidd yr holl ffordd o Ddinbych bob Sabboth i wasanaethu yn nghylch ei weinidogaeth, heb dderbyn unrhyw dal am ei lafur. Priododd a Miss Edwards o'r Rhos, yn mhlwyf Llandrillo, yr hon a fu iddo yn wraig rinweddol. Ganwyd iddynt ddwy ferch, ac yn y flwyddyn 1815, wedi cystudd trwm, bu farw y fam. Yn y flwyddyn 1825, symudodd Mr. Jones gyda'i ddwy ferch i fyw i Lansantsior, er mwyn bod yn fwy cyfleus i wasanaethu pobl ei ofal. Er ei fod o gyfansoddiad cryf, etto yr oedd ei lafur caled wedi effeithio arno. Cafodd glefyd trwm yn y flwyddyn 1830, a bu yn gorwedd am fisoedd, ac ni chwbl wellhaodd o hono, er iddo breg-

ethu amryw weithiau wedi hyny. Yn mis Medi, 1831, cychwynodd gyda'i ddwy ferch ar ymweliad a'i gyfeillion yn y Deheudir, mewn gobaith yr adferid ei iechyd, a theimlodd raddau o wellhad, ond yn Ninasmawddwy ar ei ddychweliad, cymerwyd ef yn glaf drachefn, ac er iddo adfywio am ychydig, etto yr oedd yn amlwg fod angau wedi gosod ei law oer arno. Ei eiriau diweddaf wrth ei ddwy ferch a adawai yn amddifaid, oedd am iddynt wneyd yn fawr o Iesu Grist, yr hwn oedd yn gwneyd yn anwyl o hono ef yn yr awr gyfyng hono. Bu farw Tachwedd 9fed, 1831, yn 58 oed, a chladdwyd ef yn ymyl capel y Dinas. Yr oedd Mr. Jones yn ol tystiolaeth pawb a'i hadwaenai yn ddyn o ddeall cryf, ac o ddysgeidiaeth helaeth, yn gristion cywir a dihoced, ac fel pregethwr yn onest a didderbynwyneb, ond yn hollol efengylaidd. Nid myned i mewn i lafur eraill a wnaeth, ond "ymorchestodd i bregethu yr efengyl lle ni enwid Crist," ac ni bu ei "lafur yn ofer yn yr Arglwydd."

## LLANSANTSIOR.

O gylch y flwyddyn 1815, gosododd Mr. T. Jones ei lygaid ar Lansantsior fel maes llafur gobeithiol mewn cysylltiad a Moelfra. Trwyddedodd dŷ Hugh Davies, y Gemig, at bregethu ynddo. Ar un o'r Sabbothau cyntaf, tra yr oedd lluaws o bobl yn disgwyl am yr oedfa, daeth offeiriad y plwyf atynt gan fygwth eu cospi onid ymwasgarent, a chwythai fygythion a chelanedd yn erbyn y dyn a feiddiai wneyd cynwrf yn ei blwyf ef trwy ddyfod yno i bregethu. Ofnai y bobl druain y byddai yn ddrwg ar Mr. Jones, ond pan ddaeth yno, dywedodd iddo gyfarfod a'r offeiriad, ac iddo ddangos iddo ei hawl i bregethu, ac am iddynt beidio ofni, na feiddiai neb ei atal. Cafwyd llonyddwch o hyny allan. Dechreuwyd ysgol Sabbothol a chyfarfod gweddi, ac aeth y lle y cyfarfyddent ynddo yn rhy gyfyng cyn hir. Cafodd Mr. Jones lês ar dir o dan y lle yr oedd *Turnpike-gate* y Llan, gan y Milwriad Hughes o Ginmel, (Arglwydd Dinorben wedi hyny), ac adeiladwyd capel arno yn y flwyddyn 1825, a pharhaodd yr achos i fyned rhagddo yn llwyddianus. Mae y lle o'r dechreuad wedi bod o dan yr un weinidogaeth o Moelfra, ac felly y mae yn parhau. Yn nechreu y flwyddyn 1847, cafodd yr eglwys yma orchymyn gan Arglwydd Dinorben i beidio cynal moddion yn y capel ar nos Sabbothau, gan fod yn ei dyb ef annhrefn mawr yn nglyn a chyfarfodydd hwyrol. Yr oedd y lês a gafwyd yn awr wedi rhedeg allan, ac yr oedd yn amlwg fod ei Arglwyddiaeth am ddangos ei awdurdod. Yn fuan ar ol hyn, cafwyd gorchymyn ganddo i dynu yr adeilad i lawr, a chymeryd y defnyddiau i'r lle y mynent, ond na roddai efe dir i adeiladu capel yn un lle yn y gymydogaeth ar unrhyw delerau. Pa fodd bynag, sicrhawyd tir yn agos i'r fan lle y safai yr hen gapel. Prynodd Mr. Kerfoot ef, a thrwy ei offerynoliaeth ef yn benaf adeiladwyd capel yn rhyddfeddiant i'r eglwys. Yr oedd Mr. Kerfoot wedi priodi merch ieuengaf yr hen weinidog, ac yn gystal a bod yn ŵr cyfoethog, yr oedd yn gristion cywir, a sicrhai ar ei wely marw ei fod yn teimlo ei fod wedi cael braint fawr i fod yn offeryn i ddyogelu lle o addoliad i'r eglwys a blanasai ei ffyddlawn dad-yn-nghyfraith, pan yr oedd y penaethiad yn ymgynghori i lethu yr achos yn y lle. Agorwyd y capel Rhagfyr 8fed, 1848, yr un adeg ag yr urddwyd Mr. E. T. Davies.

Yn y blynyddoedd diweddaf gwnaeth perchenog presenol Cinmel, H. R. Hughes, Ysw., gyfnewidiadau mawr yn mhentref Llansantsior a'r gymydogaeth; tynodd i lawr ddwy ran o dair o'r tai yn y Llan, ac adeiladodd rai eraill, ac amcana adeiladu ychwaneg etto yma a thraw yn yr ardal, eangodd derfynau ei barc, a chafodd ganiatad y senedd i newid llawer ar y brif-ffordd a ffyrdd eraill yn y wlad, yr hyn a wnaeth leoliad y capel yn anghyfleus dros ben, ond cynygiodd roddi mwy o dir ac adeiladu capel gwell a helaethach yn gyfnewid am dano, mewn lle mwy canolog a chyfleus i'r ardal yn awr, gerllaw y Bodoryn, os cydsyniai yr eglwys a'r ymddiriedolwyr. Ar ol llawer o ymgynghori, cydsyniwyd yn unfrydol i dderbyn y cynygiad, ac felly, yn y flwyddyn 1866, adeiladwyd yr addoldy hardd a chyfleus presenol, heb gostio ffyrling i'r eglwys, ac yno yr ymgyfarfyddant i addoli yn bresenol. Mae goruwchreolaeth ddwyfol wedi bod yn amlwg iawn dros yr achos yma; ac y mae y capel, yn ol y rhagolygon presenol, yn y man goreu i ateb angen yr holl gymydogaeth.

## ABERGELE.

Cyrchai rhai aelodau oddiyma i Lansantsior a Moelfra, ond ni wnaed cynyg ar sefydlu achos yma cyn y flwyddyn 1842. Ymgymerwyd a'r gwaith yn benaf gan Mr. Jeremiah Jones, gwr ieuangc o Lanfyllin, yr hwn hefyd a urddwyd yn weinidog yn y lle. Cododd yma gapel yn y flwyddyn 1842, ond bron erbyn bod y capel yn barod bu farw y gweinidog ieuangc. Bu y gofal am ychydig ar ol hyny ar Mr. Jonah Lloyd, ond yn y flwyddyn 1849, cymerodd Mr. E. T. Davies ofal yr eglwys mewn cysylltiad a Llansantsior a Moelfra, ac y mae efe yn parhau yn weinidog yma. Nid oedd nifer yr aelodau yma ar y pryd ond tri-ar-ddeg o bobl "druain dlodion" iawn, a dyled o 100p. ar y capel, a 4p. 4s. i'w dalu yn flynyddol o *groundrent!* Dan fendith y nef, cynyddodd y gynnulleidfa a'r eglwys yn rhyfeddol yn ngwyneb y fath anfanteision, fel yr arweinid y rhai a wyddent oreu am ei hanes i ddyweyd gyda diolchgarwch, "O'r Arglwydd y daeth hyn; hyn oedd ryfedd yn ein golwg ni!" Pregethid yn Saesnaeg yma bob Sabboth yn yr haf trwy y blynyddoedd, ac ar gais J. Crossley, Ysw., ac eraill, ymofynwyd am le i adeiladu capel mwy cyfleus ac eangach, er mantais yr ymwelwyr Seisnig yn yr haf, yn gystal a'r eglwys a'r gynnulleidfa reolaidd, ac yn y flwyddyn 1861, adeiladwyd yr addoldy hardd presenol ar dir rhydd *(freehold)*. Yr oedd y draul uwchlaw 2,100p., ac y mae yn agos i dair rhan o bedair o'r ddyled wedi ei thalu, trwy ymdrech gartrefol fawr a haelioni lluaws o garedigion yr achos mewn lleoedd eraill yn Lloegr a Chymru, ac yn enwedig yr *English Chapel Building Society*. Ac er mai ychydig mewn cymariaeth ydyw nifer yr eglwys, ac nad oes *neb* o'r "cyfoethogion" yn perthyn iddi, hyderir yn lled gryf y bydd y ddyled yn fuan wedi ei llwyr dalu. Cynwysa yr addoldy eisteddleoedd i 400, a chynelir moddion Saesnaeg ynddo am 11 o'r gloch y boreu bob Sabboth trwy y flwyddyn, ac yn ystod misoedd yr haf am 11 y boreu, a 7 yr hwyr. Bu y diweddar Mr. Jones o'r Bodoryn, (gynt o'r *Bee Hotel*), a Mr. Kerfoot o'r Bodoryn, o gymhorth nid bychan yn y symudiad gyda'r capel newydd.

## BETTWS ABERGELE.

Ni wnaed cynyg hyd yn ddiweddar at godi achos Annibynol yn y lle hwn. Yr hen frawd ffyddlon Thomas Roberts fu ar llaw flaenaf yn y gorchwyl, a chefnogid ef yn egniol gan Meistri W. Parry, Colwyn, ac E. T. Davies, Abergele. Llwyddwyd i gael tir at adeiladu ychydig allan o'r pentref, a chodwyd capel bychan arno, yr hwn a agorwyd Mai 29ain a'r 30ain, 1872. Nid yw ond achos bychan, ac y mae yr anhawsder i gael gweinidogaeth gyson yn anfantais iddo, ond hyderir er hyny y daw rhagddo gydag amser.

## RHIW.

Dechreuwyd pregethu yma gyntaf tua'r flwyddyn 1808, mewn lle a elwid Rhydgaled, gan Mr. Powell, yr hwn oedd ar y pryd yn weinidog yn Ninbych, ond wedi ymadawiad Mr. Powell rhoddwyd ataliad ar y pregethu yma dros dymor. Wedi dyfodiad Mr. Roberts i Ddinbych, ail ddechreuwyd pregethu yma, a chynorthwyid ef gan Mr. Thomas Ellis, Llangwm, a Mr. Robert Daniel, Rhydlydan. Adeiladwyd yma gapel yn y flwyddyn 1831, a bu teulu y Llwydiaid, Tantryfan, yn llawer o gefn i'r achos yn y lle. Y gweinidog cyntaf a fu yma, ar ol i Mr. Roberts, Dinbych, roddi y lle i fyny, oedd Mr. Ismael Jones, yr hwn a ymsefydlodd yma yn y flwyddyn 1829, ac a fu yma hyd y flwyddyn 1832, pryd y symudodd i Hermon, Llangadwaladr, Mon. Bu Mr. R. P. Griffiths yn aros yma am ychydig ar ol hyny, hyd nes iddo dderbyn galwad o Lanberis, ac ymsefydlu yno. Rhoddwyd galwad i Mr. Thomas Ridge, ac urddwyd ef yma yn y flwyddyn 1835. Ni bu yma ond ychydig amser, derbyniodd alwad o Langwyfan, a symudodd yno. Daeth Mr. Thomas Jones, myfyriwr o athrofa Neuaddlwyd, yma i gadw ysgol, ac urddwyd ef yma yn mis Ebrill, 1840. Bu yma am ychydig amser, ac yna dychwelodd i sir Aberteifi, ac oddiyno symudodd i Adulam, Merthyr, ac oddiyno i Aberaman, lle y bu farw. Bu gofal yr eglwys yma am ychydig ar ol hyny ar Mr. Thomas Griffith, yr hwn a fuasai yn weinidog yn Rhydlydan, a bu yma hyd fis Mai, 1848, pryd y derbyniodd alwad o Gapel-helyg, sir Gaernarfon. Yn y flwyddyn 1853, rhoddwyd galwad i Mr. Robert Roberts, Ceidio, a bu yma hyd y flwyddyn 1859, pryd y symudodd i'r Graig, Rumni. Daeth Mr. George Rhydero yma i gadw ysgol, a gofalodd am yr achos hyd nes yr analluogwyd ef gan lesgedd. Rhoddwyd galwad i Mr. William Powell, aelod o Lanelli, sir Frycheiniog, ac urddwyd ef Ebrill 4ydd, 1863. Bu Mr. Powell yma yn ddiwyd dros rai blynyddoedd, ond rhoddodd y gofal i fyny, ac yn mhen amser ymfudodd i America, lle y mae etto. Yn niwedd 1870, rhoddwyd galwad i Mr. John A. Davies, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Chwefror 3ydd, 1871, ac y mae yn parhau i lafurio yn y lle; ac yn 1873, helaethwyd y capel. Mae yr achos yn edrych yn siriol, er wedi gweled llawer o gyfnewidiadau. Mae ty yn nglyn a'r capel, yr hwn a roddwyd i'r eglwys gan T. Lloyd, Tantryfan. Heblaw teulu Tantryfan, bu John Jones, Rhydgaled; Robert Davies, Tycelyn, ac eraill yn help mawr i'r achos yma yn ei gychwyniad.

Codwyd yma ddau bregethwr, sef William Griffith, sydd yn awr yn Dyserth, a Robert Griffith, sydd yn awr yn sir Gaernarfon.

## LLANSANAN.

Dechreuwyd pregethu yma tua'r flwyddyn 1828, gan Mr. D. Roberts, Dinbych, a'r pregethwyr a'i cynorthwyent. Yn mysg cychwynwyr yr achos yma yr oedd William Rees, (Dr. Rees, Liverpool, yn awr); Hugh Roberts, a Joseph Davies, Llys Aled. Adeiladwyd y capel yma yn 1830, yr hwn a alwyd yn Capel Aled. Mae yr achos yma o'i ddechreuad wedi bod mewn cysylltiad â'r Rhiw, oddigerth am un tymor y rhoddodd yr eglwys hon alwad i Mr. James Bowen, ac urddwyd ef yma Ionawr 18fed, 1859. Bu Mr. Bowen yma yn dra egniol. Talwyd dyled y capel, ac ad-drefnwyd ef yn nhymor ei weinidogaeth. Symudodd yn nechreu 1863 i Bethel a Smyrna, gerllaw Croesoswallt, ac er hyny y mae y lle, fel cynt, mewn cysylltiad â Rhiw a Nantglyn.

Codwyd y personau canlynol i bregethu yma:—

William Rees, D.D. Nid rhaid i ni ddyweyd dim am dano ef, gan fod ei enw a'i glod trwy yr holl eglwysi; a gobeithio fod yr adeg yn mhell pan y gelwir ar neb i ysgrifenu ei fywgraphiad.

Edward Llwyd, Pencraigfawr. Bu gyda'r achos o'i gychwyniad, ac yn pregethu am ddeng mlynedd, ac yr oedd yn bregethwr gwreiddiol hollol, ac yn mhob ystyr cyfrifid ef yn ŵr tra rhagorol. Bu farw Medi 7fed, 1845, yn 45 oed.

George Peart. Yr ydym eisioes wedi cyfeirio ato yn hanes Dwygyfylchi.

Evan Owen. Mae yn awr yn weinidog yn Llansantffraid. Bu am flynyddoedd yn ffyddlon iawn gyda'r achos hwn.

## NANTGLYN.

Pregethwyd yma gyntaf gan Mr. Roberts, Dinbych, yn nhy John Williams, y gof. Efe a Hugh Hughes, Waun; Evan Evans, Rhydgoch, a Thomas Williams, Glydfa, oedd noddwyr cyntaf yr achos yn y lle. Adeiladwyd y capel yn y flwyddyn 1833. Mae y lle o'r dechreuad wedi bod mewn cysylltiad a'r Rhiw. Bu y ddyled yn faich trwm yn hir, ond trwy ymdrech a charedigrwydd cyfeillion Dinbych, a chynorthwy o leoedd eraill, y mae hono wedi ei symud. Gwelodd yr achos yma adegau isel iawn, ac ofnwyd fwy nag unwaith y buasai raid cau y lle i fyny. Da genym ddeall fod yn awr olwg fwy addawol ar bethau.

Codwyd yma un pregethwr, sef Robert Evans, yr hwn er's blynyddau sydd wedi ymfudo i America.

## RHUTHYN.

Mae yn ymddangos fod pregethu wedi bod yn y dref hon er dyddiau boreuaf Ymneillduaeth yn ein gwlad, er mai yn nechreu y ganrif hon y dechreuwyd yr achos Annibynol sydd yma yn bresenol. Yn mis Tachwedd, 1672, trwyddedwyd yma dŷ un John Roberts at bregethu gan y Cynnulleidfaolwyr. Tebygol i Meistri John Owen, a Jonathan Roberts, ac eraill, bregethu llawer yma yn y cyfnod hwnw; ac yn 1662, trowyd Mr. Ellis

Rowlands allan o Eglwys y plwyf hwn gan Ddeddf Unffurfiaeth. Yr oedd efe yn ddyn da, ond ar ol ei fwrw allan o'i fywioliaeth bu mewn caledi mawr. Cadwai ei wraig ysgol yn sir Gaernarfon er eu cynaliaeth. Bu farw tua'r flwyddyn 1683. Ond y mae yn ymddangos i'r achos a gychwynwyd yma y pryd hwnw ddarfod yn llwyr, ac aeth mwy na chan' mlynedd heibio cyn i unrhyw ymdrech gael ei wneyd i'w ail gychwyn. Dechreuwyd yr achos sydd yma yn bresenol tua'r flwyddyn 1805, trwy lafur Meistri D. Jones, Treffynon, a T. Jones, Moelfra. Pregethent mewn gwahanol fanau yn y dref lle y rhoddid iddynt ddrws agored. Daeth Mr. Benjamin Evans, myfyriwr o'r athrofa yn Ngwrecsam yma yn fuan, yn cael ei gynal yn benaf gan Mr. T. Jones o Gaer. Ardrethwyd ty bychan yn Mhorth y Dwr, yr hwn a gyfaddaswyd at gynal moddion crefyddol ynddo. Urddwyd Mr. Evans yma Ebrill 2il, 1807. Llwyddodd yr achos yn ddymunol yn nhymor gweinidogaeth Mr. Evans, ond eu bod dan anfantais fawr o eisiau gwell lle i addoli. Wedi bod yma ddeng mlynedd, symudodd i Bagillt, lle y treuliodd weddill ei oes. Bu yr eglwys yma am ddeng mlynedd ar ol hyny heb neb yn neillduol i fwrw golwg drosti, a dyoddefodd yr achos yn fawr yn yr ymddifadrwydd hwnw. Yn yr adeg hono bu Mr. Powell, Dinbych, yn dyfod yma, ac un Mr. Rowlands; a phregethai Mr. Evan Lewis lawer yma, ac ar Sabbothau cymundeb newidiai â rhai o'r gweinidogion. Yn y flwyddyn 1827, rhoddwyd galwad i Mr. Evan Price, myfyriwr yn athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef Gorphenaf 3ydd, 1828. Yn y flwyddyn hono cafwyd tir at adeiladu mewn lle cyfleus yn nghanol y dref. Codwyd capel hardd, ond aeth y draul yn fawr, a chan nad oedd y gynnulleidfa ond bechan, teimlwyd y baich yn drwm, ac yr oedd llawer o'r gweinidogion mewn pryder beth a ddeuai o'r achos. Ymroddodd Mr. Williams o'r Wern, a Mr. Jones, Treffynon, yn egniol i gynorthwyo y cyfeillion yn y lle; ac ystyriai Mr. Williams ei lafur a'i hunanymwadiad gydag adeiladu y capel yma yn un o brif orchestion ei fywyd. Er fod Mr. Price yn ddyn gwybodus a dysgedig, nid rhyw lwyddianus iawn y bu yn y weinidogaeth; ac wedi bod yma fwy nag wyth mlynedd, ymadawodd ac aeth i ryw barth o Loegr, lle y bu dros ychydig. Dychwelodd i Cilcenin, ei fro enedigol, ac yn y cylchoedd hyny y mae yn aros etto, ond heb un cysylltiad rhyngddo a'r weinidogaeth. Gwelodd yr eglwys yma dymor digalon yn y blynyddau hyny, hyd y flwyddyn 1839, pryd y rhoddwyd galwad i Mr. Richard Jones, Aberhosan, ac y cydsyniodd yntau a'r gwahoddiad. Bu ei ddyfodiad yma yn fywyd o feirw i'r achos. Profwyd yma adfywiad grymus, ac ad-dalwyd i'r eglwys am y blynyddoedd blaenorol o aflwyddiant; ond ni bu tymor Mr. Jones ond byr, bu farw yn nghanol ei lwyddiant ac yn nghanol ei boblogrwydd, Hydref 26ain, 1841. Yn y flwyddyn 1843, rhoddwyd galwad i Mr. Aaron Francis, Drefnewydd, a bu yma yn barchus a defnyddiol hyd y flwyddyn 1846, pryd y symudodd i Benybryn, Wrecsam. Cyn diwedd y flwyddyn 1848, rhoddwyd galwad i Mr. John Roberts, Llanbrynmair, a dechreuodd ei weinidogaeth yma yn ddioed, a bu yma am fwy nag wyth mlynedd yn barchus a phoblogaidd. Yr oedd baich trwm o ddyled yn aros pan sefydlodd Mr. Roberts yma, er fod ymdrech mawr wedi ei wneyd yn flaenorol i'w dileu. Costiodd y capel 1,340p., ond yr oedd 440p. yn aros arno. Rhoddodd Mr. J. Davies, Plas-yr-hall, gynygion haelionus, ond amodol, y rhai a dderbyniwyd gan y gweinidog a'r eglwys, a thrwy gydweithrediad cartrefol agos yn hollol, llwyddwyd

i gael y capel yn rhydd. Yn y flwyddyn 1857, derbyniodd Mr. Roberts alwad o Aldersgate-street, Llundain, a symudodd yno. Wedi bod am ddwy flynedd heb weinidog, rhoddwyd galwad i Mr. Robert E. Williams, Llanddeusant, Mon, yr hwn a fu yma hyd y flwyddyn 1862, a symudodd i Birmingham. Yn y flwyddyn 1864, dechreuodd Mr. John Davies, Amwythig, ei weinidogaeth yma, a bu yma hyd y flwyddyn 1868, pryd y rhoddodd y weinidogaeth i fyny, ac y mae yn awr yn byw yn y Groes, gerllaw Dinbych. Cyn diwedd y flwyddyn 1869, rhoddwyd galwad i Mr. David Lloyd Jones, Manchester, ac y mae yntau yn awr wedi rhoddi y weinidogaeth yma i fyny, ac ar ymfudo i Patagonia. Gwelir fod yr eglwys yma wedi myned trwy lawer o gyfnewidiadau a symudiadau yn ystod ei hanes, ac er iddi weled rhai cyfnodau siriol a llwyddianus, gweloddd hefyd dymhorau tywyll a chymylog; ond y mae yma trwy y cwbl gynnulleidfa dda, ac ysgol Sabbothol fywiog, ac eglwys weithgar, er nad ydyw yn lluosog. Coffeir yn barchus am enwau Meistri John Davies, Plas-yr-hall; John Bryan, ac Edward Jones, fel rhai a fu yn golofnau cryfion i'r achos yma am dymor hir.

Nid ydym yn cael enwau neb a gyfodwyd yma i bregethu ond Zecheus Owens, yr hwn a fu yn bregethwr cynorthwyol am flynyddau. Yr oedd Evan Lewis wedi dechreu pregethu cyn dyfod yma o Ddinbych. Bu yn dra defnyddiol fel pregethwr yma, ac yn yr eglwysi cylchynol dros 60 mlynedd. Bu yma achos Saesoneg ar un adeg, a chodwyd yma gapel hardd, yn benaf trwy lafur Mr. Jones, Brynhyfryd, ond y mae yr achos wedi darfod, a'r capel wedi ei werthu er's blynyddau. Mae yr eglwys yma yn awr yn myned i ad-drefnu y capel trwy draul o 700p.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

RICHARD JONES. Ganwyd ef yn y Bala, sir Feirionydd, Hydref 26ain, 1813. Rhwymwyd ef yn egwyddorwas gyda Mr. Thomas Evans, Cyfrwywr, Bala, a thra yno derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys Annibynol. Ymroddodd a'i holl egni gyda chrefydd yn ddioed wedi ei dderbyniad yn aelod. Pan yn 17 oed, llwyddodd i ffurfio "Cymdeithas araethyddol yr ieuengctyd ar faterion crefyddol," ac yn y cyfarfodydd hyny y dechreuodd ei ddoniau ymddadblygu. Cymhellwyd ef cyn hir i arfer ei ddawn i bregethu. Nid oedd dim yn hynod ynddo ar ei gychwyniad, ond ei fod yn synwyrol a threfnus. Derbyniwyd ef i athrofa Drefnewydd, ac yno ymroddodd i ddysgu y pethau a dybiai ef yn fwyaf angenrheidiol i'r weinidogaeth. Ymhyfrydai yn benaf mewn duwinyddiaeth, a daeth yn amlwg yno yn yr awydd oedd ynddo i wneyd daioni. Efe oedd un o'r dirwestwyr cyntaf, os nad y cyntaf, yn yr athrofa, ond ni bu yn hir cyn cael ei holl gydfyfyrwyr yn gyffelyb iddo. Derbyniodd alwad o Aberhosan, gerllaw Machynlleth, ac urddwyd ef yno Ebrill 4ydd, 1837. Ymroddodd yn egniol i gyflawni ei weinidogaeth. Ni bu ei dymor yno ond byr, ond bu yn nodedig o lwyddianus. Pregethai yn rymus ac awdurdodol. Dywedai yn llym a chyffrous wrth bechaduriaid annychweledig a chrefyddwyr diwaith, ond yr oedd yn nodedig o dyner o'r saint gweiniaid, ac yn ymgeleddgar o'r ieuaingc. Darllenodd yn yr adeg yma waith Dr. Jenkyn ar "Waith yr Ysbryd," a llyngcodd ei olygiadau yn lled lwyr. Ysgrifenodd gyfres o erthyglau i'r *Dysgedydd* ar "Y Dylanwadau Dwyfol,"

y rhai a dynodd sylw, ac a barodd lawer o siarad. Bu dadl faith rhyngddo a'r hybarch D. Morgan, Llanfyllin, Manchester y pryd hwnw. Profodd Mr. Jones trwy yr ysgrifau hyny ei fod yn ysgrifenydd galluog, ac yn ddadleuydd medrus a boneddigaidd, er o bosibl y buasai barn addfetach yn peri iddo gymedroli llawer ar ei olygiadau. Derbyniodd alwad o Ruthyn yn 1839, lle y bu yn ddefnyddiol iawn, a chyrhaeddodd boblogrwydd mawr fel pregethwr. Ei brif ragoriaethau fel pregethwr oeddynt, eglurder a difrifolder. Ond byr fu ei dymor. Rhybuddiwyd ef gan ei feddyg yn nechreu y flwyddyn 1841 i fod yn ochelgar, gan fod nychdod yn ei gyfansoddiad. Yn Medi, 1841, aeth i gyfarfod blynyddol Mostyn, a chan nad oedd yn iach pan y cychwynodd, effeithiodd y daith yn niweidiol arno. Aeth oddiyno i agoriad capel Penpyllau, ac oddiyno i Liverpool erbyn y Sabboth, lle y pregethodd yn rymus ac effeithiol i gynnulleidfaoedd lluosog. Dychwelodd ddydd Llun i'r Wyddgrug, i dy ei fam, yn bur wael. Yr ail hwyr Sabboth wedi iddo gyrhaedd ty ei fam, sef Hydref 17eg, nid oedd esmwythder heb iddo gael pregethu. Aeth i'r capel, er yn wan, a phregethodd oddiar Rhuf. xii. 20. Pregethodd yn effeithiol, ond yr oedd wedi llwyr ddiffygio. O hyny allan gwaelodd yn raddol. Yr oedd yn berffaith ymostyngol i ewyllys yr Arglwydd, er fod ganddo fawr ofal calon am y "praidd bychain" a adawai ar ei ol. Aeth ei glefyd mor gryf fel y collodd bob ymwybyddiaeth, ond pregethu, gweddio, ac areithio yr oedd y pryd hyny. Daeth ato ei hun yn hollol cyn ei farw. Galwodd ei berthynasau ato i ffarwelio ag ef, a dywedodd wrthynt, "Cawn weled ein gilydd etto ar fryniau anfarwoldeb." Bu farw Hydref 26ain, 1841, yn 28 oed. Claddwyd ef yn mynwent capel y Wyddgrug, a dangosodd eglwysi Rhuthyn, Graigfechan, a'r Pwllglas, yn gystal a'i frodyr yn y weinidogaeth, y parch mwyaf i'w goffadwriaeth ar ei gladdedigaeth.

Rhoddwn yma y difyniad canlynol o lythyr o eiddo Dr. Rees, Liverpool, yr hwn a ymddangosodd yn ei gofiant, gan ei fod yn cynwys disgrifiad cywirach a chyflawnach o hono na dim a allwn ni ei dynu.

"Yn ystod y tair blynedd y bu yn Rhuthin, cyd-deithiais lawer iawn ag ef yma a thraw i gyfarfodydd, ac anfynych iawn yr elai y naill o honom i un man heb y llall. Cefais felly y fantais i gael llawn adnabyddiaeth o hono; ac fel y cynyddai fy adnabyddiaeth o hono, cynyddai hefyd fy nghariad ato. Fel cyfaill a chydymaith, yr oedd yn gyfryw a ennillai serch ac ymddiried gwresog a chyflawn. Gwir elfenau cyfeillgarwch, sirioldeb, callineb, cymwynasgarwch, ffyddlondeb, &c., oeddynt wedi hyfryd gydgyfarfod ynddo, ac yn prydferth gyd-dymeru ei holl ymddygiadau. Ei sirioldeb a'i gwnelai yn gyfaill difyrus; ei gallineb, yn gyfaill buddiol; ei gymwynasgarwch, yn gyfaill gwerthfawr; a'i ffyddlondeb, yn gyfaill cyflawn. Cyfaill ydoedd Jones yn mhob ystyr, i ddyddanu, cynghori, cynorthwyo, a chadw cyfrinach. Cyfaill ag y byddai yn dda gan ei gyfeillion bob amser ei weled; y teimlent werth a buddioldeb ei gyfeillach; a'r ymddiried llawnaf yn ei gywirdeb a'i ffyddlondeb. Cyfaill a gymerai achos ei gyfeillion fel ei achos personol ei hun; a wir lawenhâi yn eu llwyddiant, ac a wir gydymdeimlai â hwynt yn eu hadfyd. Am y cyfryw gyfaill gellir dyweyd yn ngeiriau Solomon am wraig rinweddol, 'Gwerthfawrocach ydyw na'r carbuncl.' Un o ragorfreintiau penaf bywyd ydyw cael y fath un, ac un o'r colledion trymaf ydyw ei golli wedi ei gael. Llawer o honom a allem sefyll uwchben ei feddrod, a dywedyd, 'Gofid sydd arnom am danat ti, ein brawd Jones; cu iawn fuost genym ni.'

"Fel Pregethwr. 'Efe oedd ganwyll yn llosgi ac yn goleuo; a ninau oeddym ewyllysgar i rodio dros amser yn ei oleuni ef.' Ei bregethau oeddynt wedi eu myfyrio yn dda; ac nid yn unig myfyriai hwynt yn dda yn yr ystafell, traddodai hwynt hefyd yn dda yn yr areithfa. Berwai ei galon allan y pethau da a wnaethai i'r brenin, ei dafod oedd 'bin ysgrifenydd buan.' Nid mater heb deimlad, na theimlad heb fater, fyddai ganddo, ond y ddau yn nghyd; mater wedi ei chwilio a'i fyfyrio nes ei ddeall a'i deimlo—a theimlad wrth ei osod allan a'i dygai at deimladau ei wrandawyr. Yr oedd ei chwaeth yn goeth a phuraidd, ni ddefnyddiai un amser gymhariaeth nac ymadrodd isel-wael; ond geiriau detholedig a chymeradwy, teilwng o urddas a nodwedd y weinidogaeth efengylaidd. Yr oedd ei bregethau bob amser yn wir ddefnyddiol, yn goleuo y deall, yn deffro y gydwybod, yn cynhyrfu y serchiadau, ac yn gadael argraffiadau ar y galon. Ennillodd boblogrwydd helaeth iawn mewn ychydig iawn o amser, ac yr oedd yn wir deilwng o hono. Dywedai y diweddar Williams o'r Wern, wedi ei wrando yn pregethu unwaith yn Liverpool, 'Yr wyf yn teimlo fy hun yn foddlonach i farw wedi clywed y bachgen yna yn pregethu; ni bydd angen am danaf fi, y mae eraill yn codi ag ydynt wedi eu dysgu i drin arfau y weinidogaeth.'

"Fel Gweinidog. Yr oedd yn meddu ar gymhwysderau helaeth iawn i ymdrin â materion eglwysig;—ennillai awdurdod, cariad, ac ymddiried yr eglwys dan ei ofal; oblegid gweinyddai ei swydd mewn ysbryd doethineb, cariad, a phwyll. Nid llai oedd ei barch yn mysg ei frodyr yn y weinidogaeth, er ei fod yr ieuengaf yn mron yn ein plith. Yr oedd genym oll fawr ymddiried i'w farn a'i gynghor; edrychem arno fel henafgwr, a pharchem ef fel y cyfryw.

"Bu ei ddyfodiad i Ruthyn megis bywyd o feirw i'r eglwys hono, a'i changhenau. Amlhaodd y gwrandawyr, a chwanegwyd llawer at rifedi yr eglwysi yn Ruthyn, Pwllglas, a'r Graigfechan. Ennillodd barch a chymeradwyaeth yr holl dref, Eglwyswyr, a phob enwad o Ymneillduwyr, a gyd-dystiant yn dda am dano, ac a gydalarant ar ei ol. Y nos Sabboth y traddodid ei bregeth angladdol, yr oedd y capel yn llawer rhy fychan i'r gynnulleidfa a ewyllysient fod yn bresenol i ddwyn eu tystiolaeth o barch i'w goffadwriaeth, a gorfu i lawer ymadael o eisiau lle. Gellir dyweyd nad yn aml y cwympodd i'r bedd un ag y tywalltwyd cymaint o ddagrau ar ei ol. 'Oedd gariadus ac anwyl yn ei fywyd,' ac y mae ei enw a'i goffadwriaeth yn beraidd iawn yn nhir y rhai byw. Mewn sylwadau o'r fath hyn, yn gyffredin, arferir dyweyd cryn lawer am dduwioldeb y gwrthddrych; ond ni ddywedaf fi ond hyn ar y pen yma—Dywedodd ddigon ei hun yn ei fywyd; nid amheuai neb a adwaenai Jones ei dduwioldeb—yr oedd ei pherarogl ar ei holl fywyd. 'Efe a aeth i dangnefedd,' ac efe a 'orphwys yn ei ystafelloedd,' wedi byr-ddydd heulog, a llafur caled a llwyddianus."

## LLANDEGLE.

Mae yn ymddangos y pregethid yn achlysurol yma gan fyfyrwyr yr athrofa oedd y pryd hwnw yn Ngwrecsam, a chan Mr. Benjamin Evans, Rhuthyn. Pregethid yn nhy un Thomas Parry am gryn amser, lle hefyd y cynhelid ysgol Sabbothol. Cyfaddaswyd rhyw le yn Penystryd at

addoli cyn y flwyddyn 1813, oblegid ar y 24ain o Ebrill y flwyddyn hono yr apeliodd Mr. Evans, Rhuthyn, at Esgob Llanelwy am drwydded arno at bregethu. Mae copi o'r cais hwnw yn awr ger ein bron yr hwn a anfonwyd i ni gan gyfaill o'r ardal.* Adeiladwyd yma gapel wedi hyny yr hwn a agorwyd Hydref 9fed, 1817. Yn nglyn a hanes agoriad y capel dywedir fod yr ardal wedi mwynhau rhan helaeth o lafur y myfyrwyr yn Ngwrecsam am ugain mlynedd. Costiodd y capel 200p. Cymerodd Mr. John Griffith, aelod o Drelech, ofal yr eglwys, ac urddwyd ef yn fuan ar ol agoriad y capel. Yr oedd yn flaenorol i hyny wedi pregethu dros dymor yn yr ardal. Bu gofal yr eglwys hon arno hyd y flwyddyn 1839 pryd y cyfyngodd ei lafur i Lanarmon. Cafwyd yma ychwanegiad mawr yn yr adfywiad y flwyddyn hono, a'r flwyddyn ganlynol adeiladwyd yma gapel newydd helaeth a hardd gwerth 400p., yr hwn a agorwyd Mehefin 8fed a'r 9fed, 1841. Galwyd ef Pisgah. Cymerodd Mr. Samuel Evans, aelod o Rhosllanerchrurgog, ofal yr eglwys yma yn 1840, er nad urddwyd ef hyd Mawrth 14eg, 1843. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri W. Rees, Dinbych; D. Price, Rhos; J. Davies, Penuel; J. Parry, Wern, ac eraill. Mae Mr. Evans wedi llafurio yma er hyny yn ddyfal a chyson. Teithiodd yma yn rheolaidd o Riwabon bob Sabboth ac yn aml yn yr wythnos am ddwy-flynedd-ar-hugain, a rhoddodd ei lafur oll yn rhad am un-mlynedd-ar-ddeg heblaw gwneyd llawer er cynorthwyo yr eglwys i dalu dyled y capel. Yn y flwyddyn 1868, yn mhen pum'-mlynedd-ar-hugain ar ol ei urddo, ar awgrym Mr. Enoch Moss Wigan, hen aelod o'r eglwys, penderfynodd yr eglwys wneyd Tysteb i Mr. Evans, fel amlygiad o'i gwerthfawrogiad o'i lafur. Cyfranodd Mr. Moss 20p., a thrwy garedigrwydd yr eglwys ac ychydig o gyfeillion y tu allan iddi cyflwynwyd iddo 118p., mewn cyfarfod a gynhaliwyd yma Mehefin 14eg, 1871. Mae y gynnulleidfa yma wedi dyoddef yn fawr oddiwrth fynych symudiadau; ac yn y deng mlynedd diweddaf yn arbenig y mae wedi cael colledion trwy farwolaeth ffyddloniaid, a symudiad llawer o deuluoedd defnyddiol; ond er hyn oll y mae yr achos mewn gwedd siriol, a'r capel yn ddiweddar wedi myned o dan adgyweiriadau, a'r holl ddyled wedi ei thalu. Coffeir yn barchus am ffyddlondeb yr hen frawd Robert Jones, Siop, a'i briod Sinah Jones. Buont yn swcr mawr i'r achos o'i gychwyniad hyd derfyn eu hoes. Mae etto yn fyw amryw weinidogion a wyr pa mor garedig a llettygar fuont.

## NEBO, BWLCHGWYN.

Mae y lle hwn yn mhlwyf Gwrecsam. Cangen ydyw o Brynseion, Brymbo. Yr oedd Thomas Parry, Ffynon-y-cwrw, yn un o hen aelodau Harwd; ac yr oedd ef a'i deulu ac un neu ddau arall o'r ardal yn cyrchu yno yn gyson trwy y blynyddoedd. Cynhelid ysgol Sabbothol, a phregethid yn aml yn *Granary* Ffynon-y-cwrw. Bu Mr. Williams o'r Wern yn pregethu yno lawer gwaith. Yn y flwyddyn 1852, wrth weled y boblogaeth yn cynyddu, adeiladwyd yma gapel, a ffurfiwyd yr aelodau oedd yn yr ardal yn eglwys gan Mr. W. Lloyd, yr hwn oedd ar y pryd yn weinidog yn Brymbo a'r Wern, a thrwy offerynoliaeth yr hwn yn

* Mr. T. D. Jones, Pontystyllod.

benaf y codwyd y capel. Llwyddodd yr achos yma yn fawr fel yr aeth y capel yn fuan yn rhy fychan, ac ychwanegwyd darn ato nes ei wneyd gymaint arall. Yn y flwyddyn 1858, oherwydd fod ei ofalon gweinidogaethol yn cynyddu, rhoddodd Mr. Lloyd yr eglwys i fyny, a chymerodd Mr. S. Evans ei gofal mewn cysylltiad a Llandegla, ac felly y mae yn parhau. Yn y flwyddyn 1865, oherwydd cynydd y boblogaeth, penderfynwyd adeiladu capel newydd hardd a chyfleus, yr hyn a wnaed; a thrwy gydymdrech y gweinidog, yr eglwys, a'r ysgol Sabbothol yr oedd yr holl ddyled wedi ei thalu yn gynar yn 1873, a chynhaliwyd cyfarfod Jubili yn Mehefin y flwyddyn hono. Mae golwg addawus iawn ar yr achos yma yn ei holl ranau. Erys yr hen frawd ffyddlon a chywir Thomas Parry yma etto, ac y mae yn cydweithio yn siriol a'r tô ieuangc sydd wedi codi ar ei ol.

## LLANARMON.

Dechreuwyd pregethu yma mewn lle a elwir Tybrith, gan Mr. B. Evans, Rhuthyn, a'r myfyrwyr oedd yn yr athrofa yn Wrecsam. Yn y flwyddyn 1811, daeth Mr. David Thomas, myfyriwr o'r athrofa, i'r ardal, a bu yma dros rai misoedd. Casglodd gynnulleidfa yn nghyd, a chafwyd cyfarfod pregethu i'r lle, a chaniataodd y Methodistiaid fenthyg capel Rhiwiâl i'w gynal. Pregethwyd ynddo gan Meistri D. Jones, Treffynon; D. Davies, Rhesycae; W. Williams o'r Wern; G. Lewis, D.D., Llanuwchllyn, ac un Morris, meddyg, o Bulkley. Coffeir etto gan rai am y cyfarfod. Aeth Mr. Thomas ymaith yn y flwyddyn 1812, ac yn mhen amser ymsefydlodd yn sir Fynwy, a bu yn weinidog yn Llanfaches, lle y ceir ei hanes. Aeth yr achos yn lled isel ar ol hyny. Tua'r flwyddyn 1816, daeth Mr. John Griffith i Landegle, a phriododd ferch Daniel Haigh, ac yn mhen ychydig daeth i fyw i Grianrhyd, a phregethai yno ac yn Tybrith bob yn ail. Urddwyd ef yn Llandegle yn mis Mawrth, 1818. Adeiladwyd yma gapel yn y flwyddyn 1822, a galwyd ef Philadelphia, a bu Mr. Griffith yn llafurio yma hyd ei farwolaeth Mehefin 18fed, 1847. Y flwyddyn ganlynol rhoddwyd galwad i Mr. William Parry, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Mehefin 2il, y flwyddyn hono. Helaethwyd y capel yn mhen dwy flynedd wedi dyfodiad Mr. Parry yma, a bu yn ddefnyddiol yn y lle hyd Awst, 1859, pryd y symudodd i Colwyn. Y flwyddyn wedi ymadawiad Mr. Parry, rhoddwyd galwad i Mr. John Meirion Ellis, mab Mr. R. Ellis, Brithdir, ac urddwyd ef yn weinidog yma Mehefin 7fed, 1860. Ni bu ei dymor ond byr, ymaflodd y darfodedigaeth ynddo, a bu farw Ebrill 2il, 1862. Rhoddwyd galwad ar ol marwolaeth Mr. Ellis, i Mr. Elias Owen, yr hwn a fuasai am ychydig yn athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma, ond ni bu ei arosiad yma ond byr. Darfu ei gysylltiad a'r eglwys, ac yn mhen amser ymfudodd i America. Wedi hyny rhoddwyd galwad i Mr. Lewis Williams, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Tachwedd 30ain, 1866. Bu Mr. Williams yma yn barchus a defnyddiol hyd y flwyddyn 1869, pryd y symudodd i'r Bontnewydd, gerllaw Caernarfon. Mae yma gapel newydd hardd, a chynnulleidfa dda, ac y mae yr eglwys wedi rhoddi galwad i Mr. Price Hough, myfyriwr o athrofa y Bala, ac yntau wedi cydsynio a'r gwahoddiad, a bwriada ddechreu ei weinidogaeth yma yn ddioed.

Codwyd yma ddau bregethwr, sef Isaac Pickering, yr hwn a fu yn weinidog yn Bangor-is-y-coed a Daniel Parry, yr hwn a fu yn bregethwr cynorthwyol parchus yn yr eglwys am yn agos i haner can' mlynedd.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

JOHN GRIFFITH. Ganwyd ef yn mhlwyf Trelech, sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1777. Derbyniwyd ef yn aelod yn nghapel y Graig, a dechreuodd bregethu, ac wedi bod am ychydig yn yr ysgol dan ofal Mr. Peter, Caerfyrddin, aeth i'r Gogledd. Bu dros ryw ysbaid yn y Wyddgrug a Bulkley, a thua y flwyddyn 1861, daeth i Iâl, a phriododd yno. Wedi byw am ychydig yn Llandegle, symudodd i Grianryd, lle y treuliodd ei oes. Llafuriodd yn ddiwyd yn ei gylch, a thrwy ei ymdrechion ef yn benaf y codwyd capeli Llandegle, Llanarmon, Blaenau, a'r Grianryd. Yr oedd Mr. Griffith yn ddyn bywiog ei ysbryd, o alluoedd cryfion, ac yn nodedig am ei graffder a'i synwyr. Pregethai yn fywiog a melus, ac nid anturiai byth i ddyfroedd rhy ddwfn iddo. Gwasanaethai ei eglwysi agos am ddim trwy ei oes, ac yn hyny gwnaeth gam ag ef ei hun, a chamarferodd hwythau. Yr oedd yn fedrus fel meddyg anifeiliaid, ar yr hyn yr ymddibynai yn benaf am ei fywioliaeth, a'r hyn a'i gwnai yn gymeradwy iawn yn ei wlad. Cafodd gystudd chwerw, a dyoddefodd boenau dirfawr yn ei flynyddoedd diweddaf. Bu farw Mehefin 18fed, 1847, yn 70 oed, a chladdwyd ef wrth gapel Llanarmon.

JOHN MEIRION ELLIS. Ganwyd ef yn Llanystymdwy, sir Gaernarfon, yn y flwyddyn 1836. Mab hynaf Mr. Robert Ellis, y pryd hwnw o Roslan, yn awr o'r Brithdir, ydoedd. Derbyniwyd ef yn aelod yn y Brithdir, a dechreuodd bregethu yn Llanuwchllyn, pan yno yn cadw ysgol. Urddwyd ef yn Llanarmon Mehefin 7fed, 1860, ac yr oedd yn ŵr ieuangc o alluoedd cryfion, ac yn dalentog fel pregethwr, ond nad oedd ond egwan o gyfansoddiad. Wedi llafurio yn Llanarmon am ddeunaw mis, cafodd alwad o Tanygrisiau a Rhiw, Ffestiniog, a bwriadai symud yno, ond dyryswyd ei holl amcanion. Ymaflodd afiechyd angeuol ynddo, ac wedi diboeni am rai wythnosau, bu farw Ebrill 2il, 1862, yn 26 oed, a chladdwyd ef yn meddrod ei deulu yn mynwent Rhydymain.

## BLAENAU.

O gylch y flwyddyn 1838, dechreuwyd cadw ysgol Sabbothol yn nhŷ un Thomas Hughes, a deuai Mr. Griffith, Llanarmon, yno i bregethu yn achlysurol. Yn y flwyddyn 1840, rhoddwyd tir gan Thomas Hughes i adeiladu capel, a chodwyd un bychan, yr hwn a alwyd Hermon, Blaenau Tryddyn. Ardal fynyddig, ddiarffordd, ydyw, ac i Lanarmon y cyrchai yr ychydig a elai oddiyma i le o addoliad. Un William Roberts oedd y diacon cyntaf yma, yr hwn a fu yn ei swydd hyd ei farwolaeth. Dilynwyd ef gan John Williams, a pharhaodd yntau hyd ei farwolaeth. Gweinyddir y swydd yn awr gan John Nuttal, Rhydtalog. Cafwyd yma gryn adfywiad yn y blynyddoedd 1859 a 1860, pryd yr ychwanegwyd yn fawr at nifer yr aelodau. Yn y flwyddyn 1865, ailadeiladwyd a helaethwyd y capel, a thrwy gydymdrech yr eglwys a'r ardal, talwyd am dano, a

bwriedir cael darn o dir wrtho yn lle claddu. Mae yr achos mewn agwedd obeithiol. Mae y lle o'r dechreuad mewn cysylltiad gweinidogaethol a Llanarmon, ond bu Mr. Roberts, Coedpoeth, yn dyfod yma hefyd ddwywaith yn y mis, o'r flwyddyn 1866 hyd y flwyddyn 1873, ond oherwydd gwendid ei iechyd bu raid iddo roddi i fyny.

## GRIANRYD.

Dechreuwyd pregethu yma, fel y gwelsom, yn foreu yn hanes yr achos yn Llanarmon, ond o gylch y flwyddyn 1840, meddyliodd Mr. Griffith am gael capel bychan yma. Cododd ef gan mwyaf ar ei draul ei hun, a bu yn hir iawn ar waith. Agorwyd ef yn y flwyddyn 1843. Pregethodd Meistri J. Parry, Wern; O. Owens, Rhesycae; J. Davies, Penuel, a T. Ridge, Llangwyfan, ar yr achlysur. Ailadeiladwyd y capel yn y flwyddyn 1859, ac agorwyd ef cyn diwedd y flwyddyn hono. Mae yma achos cryf a blodeuog, ac er y dechreuad y mae wedi bod dan yr un weinidogaeth a Llanarmon.

## GRAIGFECHAN.

Dechreuwyd yr achos hwn yn y flwyddyn 1805, gan Mr. B. Evans, Rhuthyn, ond buont am lawer o flynyddoedd heb le cyfleus i addoli ynddo. Pregethid fynychaf yn nhy Robert Roberts, Graigfechan, yr hwn oedd yn bregethwr cynorthwyol parchus, ac a fu o lawer o help i'r achos. Cyfaddaswyd wedi hyny hen dy at addoli. Adeiladwyd y capel yn 1839. Bu y lle mewn cysylltiad a Rhuthyn o ddechreuad yr achos hyd ymadawiad Mr. Roberts oddiyma i Lundain yn 1857. Yn nhymor ei weinidogaeth ef gwnaed ymdrech egniol i gael y capel yn rhydd o ddyled. Yn 1864, unodd Graigfechan a Pwllglas i roddi galwad i Mr. Robert Parry, Sarn, Newmarket, a bu yma hyd y flwyddyn 1867, pryd y symudodd i Victoria, sir Fynwy. Wedi bod am dymor heb weinidog, rhoddwyd galwad i Mr. John Pritchard, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Mawrth 23ain, 1870. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. J. Peter, Bala; holwyd y gofyniadau gan Mr. R. W. Griffith, Bethel; dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. S. Evans, Llandegle; pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. D. Griffith, Portdinorwig, ac i'r eglwys gan Mr. D. Ll Jones, Rhuthyn. Bu Mr. Pritchard yma yn dderbyniol hyd Awst, 1873, pryd y cymerodd ofal Corwen a Chynwyd.

Nis gwyddom am neb a godwyd i bregethu yma ond Robert Roberts, at yr hwn yr ydym eisioes wedi cyfeirio.

## PWLLGLAS.

Bernir i'r achos yma ddechreu o gylch 1800, ac yr oedd cymundeb yn cael ei gynal yma cyn ffurfiad yr eglwys yn Rhuthyn, ond nis gwyddom pa bryd y codwyd y capel yma. Mewn cysylltiad a Rhuthyn y bu y lle hwn o'i ddechreuad, hyd nes iddynt ymuno a'r Graigfechan yn 1864 i roddi galwad i Mr. R. Parry, ac er hyny y mae y ddau le mewn cysylltiad a'u gilydd.

Bu achos yn cael ei gynal am dymor yn Derwen, a bu ar un adeg yn dra addawol, ond ni chafwyd yno le i godi capel, ac ymddengys i'r ychydig oedd yno lesghau, a rhoddi y lle i fyny. Mae Mr. Robert Evans, Derwen, yn parhau i ddyfod yma, ac yn pregethu yn achlysurol. Nis gwyddom ddim am sefyllfa bresenol yr achos yn y lleoedd hyn gan nad anfonodd neb atom.

## LLANGWYFAN.

Dechreuwyd yr achos yma yn y flwyddyn 1830, yn benaf trwy ymdrechion Zecheus Owen, Evan Lewis, John Bryan, Edward Jones, a Thomas Jones o Ruthyn, a hwy a ymgymerodd yn benaf ag adeiladu y capel yn y flwyddyn 1832. Bu Mr. W. Jones yma yn cadw ysgol, ac yn pregethu yma am tua dwy flynedd ar gychwyniad yr achos, ac aeth oddiyma i Flint. Ffurfiwyd eglwys yma, cynwysedig o 15 o aelodau, yn Ebrill, 1834, gan Mr. E. Price, Rhuthyn, ac wedi i Mr. Lewis Everett fod yma yn cadw ysgol ac yn pregethu am fwy na blwyddyn, rhoddwyd galwad iddo i ddyfod yma yn weinidog, ac urddwyd ef Ionawr 1af, 1835. Bu yma yn dra defnyddiol am ddwy flynedd, nes y derbyniodd alwad o Lanrwst, ac y symudodd yno. Dilynwyd ef yma gan Mr. Thomas Ridge, Llansanan, yr hwn a fu yma dros amryw flynyddoedd, ond rhoddodd yr eglwys yma i fyny yn 1843, gan gyfyngu ei lafur i Jerusalem, yr ochr arall i'r mynydd. Dychwelodd Mr. Everett yma o Lanrwst y flwyddyn ganlynol, ond gan fod yr eglwys yn rhy wan i'w gynal, nid arhosodd yma yn hir. Symudodd i Ochryfoel. Bu pregethu am dymor hir yn Bodffari, ac yr oedd golwg lewyrchus ar yr achos yno unwaith, ond trwy ryw amgylchiadau rhoddwyd ef i fyny. Ni bu yma yr un gweinidog sefydlog wedi ymadawiad Mr. Everett, ond ymddibynir am help gweinidogion a phregethwyr cynorthwyol; ond y mae yr achos wedi dyoddef yn fawr oddiwrth yr amddifadrwydd.

Yma y derbyniwyd Richard Foulkes Edwards (Risiart Ddu o Wynedd), ac yma y dechreuodd bregethu. Yr oedd yn ŵr ieuangc talentog, yn fardd galluog, ac yn bregethwr rhagorol. Wedi bod yn athrofa y Bala, derbyniodd alwad o Mynyddislwyn, ond oblegid gwaeledd ei iechyd, nis gallodd ei derbyn ar unwaith. Aeth i America, lle yr oedd ei rieni, gan obeithio y gwnaethai y fordaith les iddo, ond ni ddychwelodd. Bu farw Mawrth 8fed, 1870, yn 34 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Rosendale.

## GALLEGFA.

Dechreuwyd cynal ysgol Sabbothol a moddion achlysurol yn yr ardal hon tua'r flwyddyn 1835, gan gyfeillion Pendref, Rhuthyn. Yn Penybryn y cafwyd drws agored gyntaf, ac wedi bod yno am flynyddau, symudwyd yn mhellach i'r wlad i fferm a elwir Tyddyn Roger. Wrth weled y lle hwnw yn anghyfleus, symudwyd i dŷ hen bobl o'r enw Robert a Gwen Edwards. Nid oeddynt ond hen bobl dywyll ac anllythyrenog, ond wrth ddilyn yr ysgol llwyddasant i ddysgu darllen ychydig. Cofleir am bregeth nodedig o eiddo Mr. Richard Jones ar un prydnawn Sabboth yma, yr hon a ddilynwyd ag effeithiau neillduol. Llwyddodd person y plwyf i gael gan yr hen bobl gau eu drws yn erbyn yr ysgol, a phan aed yno un boreu

Sabboth, caed y drws wedi ei gau, a llyfrau yr ysgol wedi eu taflu yn bentwr i ffos gerllaw. Agorodd Robert Jones a'i wraig, oedd yn byw yn y drws nesaf, eu tŷ, ac yno y buwyd nes y symudodd y teulu hwnw i Langwyfan. Derbyniodd hen wraig dawel o'r enw Mary Rowlands yr arch i'w thŷ. Ceisiodd y person ddylanwadu arni hithau i'w cau allan, ond yn ofer, ac wedi methu, dylanwadodd ar warcheidwaid y plwyf i atal ei thâl, a llwyddodd yn hyny, ond gofalodd cyfeillion Rhuthyn na bu yr hen wraig ar ei cholled. Wedi ei marw hi, aed i dŷ Simon Hughes, ac wedi hyny i'r Berthengron, ac oddiyno i dŷ Mary Williams, yr hon oedd yn byw gyda'i brawd, ond aeth yn rhyw anghydfod rhwng y ddau fel y cauwyd y drws yno yn erbyn y cyfarfod gweddi un boreu Sabboth. Cymerwyd ty gwag ar ol hyny yn Pentrenewydd, ac yno y buwyd am flynyddau, nes marw y perchenog, a daeth dau yn mlaen i feddianu y lle, a'r diwedd fu i'r drws hwnw gael ei gau, a chymerwyd meddiant o'r bwrdd a'r meingciau oedd ynddo yn perthyn i'r achos. Ar ol hir grwydro, yn 1858, cynygiodd Dr. Prytherch dir i godi capel bychan, a derbyniwyd y cynyg yn ddiolchgar, a phenderfynodd cyfeillion Rhuthyn adeiladu yn ddioed, a rhoddodd y gymydogaeth bob help mewn cludo defnyddiau, yn enwedig Mr. Owen o'r Cwrt, yr oedd ef bob amser yn barod. Galwyd y capel Bryn Seion, ac y mae yma achos siriol iawn, ac o dan yr un weinidogaeth a Rhuthyn. Bu cyfeillion Pendref yn dra ffyddlon i ddyfod yma i gynorthwyo. Pregethodd Evan Lewis a Zecheus Owen lawer yma, ac y mae enwau Evan Thomas, Nant; John Jones, Prior-street; W. Jones, Joiner; Edward Jones, Post-office; Robert Roberts, Teiliwr; Zecheus Lloyd, ac eraill mewn coffadwriaeth parchus yma. *

## LLANGWM.

Mae Llangwm mewn rhan uchel a mynyddig o sir Ddinbych, ac yn terfynu ar sir Feirionydd. Bu yma bregethu yn achlysurol mewn anedddai yn y plwyf gan weinidogion y Bala, ac eraill, ond yn y flwyddyn 1798, daeth Mr. Thomas Ellis, yr hwn oedd yn bregethwr cynorthwyol perthynol i eglwys y Bala, i fyw yma i le o'r enw Tyddyn Eli, a ddaethai yn feddiant iddo ar ol marwolaeth ei dad. Cofrestrwyd y ty at bregethu Tachwedd 18fed, 1799, a dechreuodd Mr. T. Ellis bregethu yn ei dŷ ei hun. Yn mhen pedair blynedd corpholwyd yma eglwys gan Mr. Thomas o'r Bala, cynwysedig o bump o aelodau, a deuai Mr. Thomas yma yn fisol i weini yr ordinhadau. Aeth yr achos rhagddo yn gysurus, a chynhelid yma bob moddion yn rheolaidd, a deuai gweinidogion De a Gogledd yma wrth deithio y wlad. Yn 1821, rhoddodd Mr. T. Ellis lês ar ddarn o'i dir, yn y lle mwyaf cyfleus i'r holl ardal i godi capel arno, yr hwn a agorwyd Tachwedd 19eg a'r 20fed, 1821. Rhoddodd yr eglwys fechan yn y capel newydd alwad i Mr. T. Ellis i fod yn weinidog, ac urddwyd ef Rhagfyr 24ain, 1822, pan oedd yn 57 oed, ac wedi bod yn pregethu am 28 mlynedd. Llafuriodd yma yn ddiwyd a ffyddlon hyd ei farwolaeth Mehefin 20fed, 1843. Yn y flwyddyn 1840, yr oedd yr eglwys wedi rhoddi galwad i Mr. Humphrey Ellis i gydweinidogaethu a'i hybarch dad,

* Cawsom y ffeithiau uchod gan Mr. John Hughes, yr hwn a fu yma gyda'r achos yn ei holl dreigliadau.

ac urddwyd ef yn Mhentre-llyn-cymer Mehefin 30ain, 1840. Bu Mr. Ellis yma yn ddiwyd a gofalus am ddeng mlynedd, nes yn Hydref, 1850, rhoddodd yr eglwysi yma i fyny, gan gymeryd gofal yr eglwysi yn Corwen a Llandrillo. Cyn pen blwyddyn, rhoddodd yr eglwysi hyn alwad i Mr. John Edwards, a fuasai yn fyfyriwr yn athrofa y Bala, ac urddwyd ef Tachwedd 5ed, 1851. Llafuriodd Mr. Edwards yma yn ddyfal hyd nes y cafodd ergyd ysgafn o'r parlys, yr hyn a'i hanalluogodd i gyflawni ei weinidogaeth, er ei fod mewn iechyd da, ac yn gallu dyfod i'r capel yn gyson. Wedi aros blynyddoedd, ond heb weled gobaith am i Mr. Edwards allu ailymafael yn ei waith, rhoddwyd galwad i Mr. Ellis Jones, aelod o Drawsfynydd, ac urddwyd ef yn y Gellioedd, Mehefin 8fed, 1871. Mae Mr. Jones yn parhau yma yn barchus a defnyddiol. Adeiladwyd yma gapel newydd hardd, a bu Mr. Humphrey Ellis yn nodedig o garedig mewn caniatau tir ychwanegol i hyny, a chyfranu yn helaeth ato, heb son am yr help mawr a roddodd gyda chludo y defnyddiau. Agorwyd ef Ebrill 1af a'r 2il, 1873.

Nid ydym yn cael fod yr un pregethwr wedi codi yma ond Humphrey Ellis, mab yr hen weinidog. Wedi symud oddiyma, yn Bethel gerllaw y Bala, y dechreuodd Mr. Robert Ellis o'r Brithdir, mab arall yr hen weinidog bregethu.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

THOMAS ELLIS. Ganwyd ef Tachwedd 1af, 1765, yn Hendreddu, gerllaw y Bala. Yr oedd ei rieni yn bobl onest a chyfrifol, ac yn gymunwyr yn yr Eglwys Wladol, ond arferent wrando yn achlysurol ar yr Ymneillduwyr. Dygwyd Thomas Ellis i fyny gyda'i rieni, a chafodd well addysg na phlant amaethwyr yr oes hono yn gyffredin. Arferai wrando yn benaf ar yr Annibynwyr, a derbyniwyd ef yn aelod yn y Bala pan yn 25 oed. Dechreuodd bregethu yn niwedd y flwyddyn 1792, yr un pryd a Mr. D. Jones, wedi hyny o Dreffynon. Bu am flwyddyn yn yr athrofa yn Wrecsam ar ei draul ei hun, a chyrhaeddodd yno wybodaeth dda o'r iaith Saesneg. Ar farwolaeth ei dad yn 1794, daeth Tynant, Llangwm, i'w feddiant, ac yn 1798, priododd a Jane, unig ferch Robert Evans o'r Bala, yr hon hefyd oedd yn aelod yn y Bala, ac aeth i Langwm i fyw. Agorodd Thomas Ellis ei dŷ, a phregethodd ynddo, a gwahoddai eraill i ddyfod yno i'r un perwyl, a thrwy ei lafur ef y codwyd yr achos yn Llangwm a Pentre-llyn-cymer. Pregethai lawer trwy holl eglwysi y wlad, ac yr oedd yn barchus a chymeradwy gan bawb. Urddwyd ef Rhagfyr 24ain, 1822, a pharhaodd trwy ei oes yn gyflawn a difwlch gyda'r achos.

Yr oedd yn ddyn mawr a chryf, ond yn heyw a gwisgi yn ei ddyddiau goreu. Amaethwr ydoedd yn ei wisg a'i ddiwyg, ac nid ymhonodd i fod yn ddim amgen. Yr oedd yn ddyn siriol a charedig, ac yn wybodus a deallgar mewn pethau cyffredin. Cyfrifid ef gan bawb yn gymydog cymwynasgar a heddychol, ac yn ei holl drafodaeth fasnachol yn nodedig am ei gywirdeb. Yr oedd yn gristion syml a dihoced, ac yn drwyadl yr hyn y proffesai ei fod. Yn ei bregethau dangosai gyfarwydd-der mawr yn yr ysgrythyrau, ac yr oedd yn glir a sefydlog yn ei olygiadau ar yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb. Pregethai yn bwyllog, ond fel y gwresogai yn ei fater, deuai yn fwy grymus a nerthol. Byddai yn llym iawn yn

erbyn pechod, a gofidiai ei enaid am anwiredd y wlad. Mwynhaodd ddyddiau da, a chafodd yr hyfrydwch o weled dau o'i feibion yn y weinidogaeth. Robert Ellis, ei fab hynaf, yr hwn a urddwyd yn Rhoslan, ac Humphrey Ellis, ei fab ieuengaf, yr hwn a urddwyd yn gydweinidog ag ef. Gwaelodd ei iechyd yn niwedd y flwyddyn 1842, a gwywodd yn raddol hyd ei farwolaeth Mehefin 20fed, 1843, yn 78 oed, a chladdwyd ef yn ol ei ddymuniad yn mynwent capel Pentre-llyn-cymer.

## PENTRE-LLYN-CYMER.

Mae y lle hwn mewn cilfach dawel a neillduedig ar fynydd Hiraethog, o fewn tair milldir i Gerigydrudion. Cychwynwyd yr achos yma gan Mr. Thomas Ellis, Llangwm. Wrth ei fod yn dychwelyd o Ddinbych ar un boreu Llun, sylwodd fod ardaloedd Hafodelwy a'r Ffrithoedd heb na llan na chapel yn agos iddynt, a bod y trigolion yn marw o eisiau gwybodaeth. Parodd hyn iddo droi o'r brif-ffordd a myned i Bentre-llyn-cymer i ofyn i Humphrey Llwyd, y melinydd, a ga'i efe ddyfod i'w dŷ i bregethu. Caniataodd y melinydd iddo ei ddymuniad, a threfnodd i fyned yno erbyn dau o'r gloch y Sabboth canlynol. Pan ddaeth i olwg y lle, yr oedd yno fagad o bobl wedi dyfod yn nghyd, ac yn brysur gyda'u chwareuon, ond mor gynted ag y gwelsant y pregethwr, rhoddasant y chwareu heibio. Safodd ar ben careg farch, ac wedi darllen a gweddio, pregethodd oddiar Actau xiv. 15:—"Ha wŷr, paham y gwnewch y pethau hyn? dynion hefyd ydym ninau, yn gorfod goddef fel chwithau, ac yn pregethu i chwi ar i chwi droi oddiwrth y pethau gweigion yma at Dduw byw." Ymddygodd y gynnulleidfa yn weddaidd ar y cyfan, oddigerth un Robert Daniel—ïe yr hen Robert Daniel, Rhydlydan, wedi hyny, yr hen bregethwr cymeradwy—yr oedd yn llangc bywiog, yn llawn ysfa ddireidus am chwareu. Bu yma bregethu cyson wedi hyny, a llwyr ddilewyd yr hen chwareuon llygredig o'r ardal. Cyfarfyddodd yr achos yma ar ei gychwyniad a llawer o wrthwynebiadau. Rhoddodd y tir feddianydd orchymyn caeth i'w denantiaid i beidio caniatau pregethu yn ei dai ef, a bod yn well ganddo ef eu rhoddi ar dân na bod pregethu ynddynt. Er y bygythion oll ni roddwyd i fyny bregethu, ond bu raid symud i'r Ffrithoedd, yr hyn nad oedd mor gyfleus a'r Pentre. Cyn hir cododd erledigaeth o'r un natur yno hefyd, ac erbyn hyn yr oedd y cyfeillion yn ddigalon iawn, ni wyddent pa le i droi, ond deallwyd fod y boneddwr a waharddodd bregethu yn ei dai yn y Pentre wedi ei ddwyn i amgylchiadau a'i gorfododd i werthu ei etifeddiaeth i foneddwr rhydd a haelionus, o'r enw James Blair, Ysw., o swydd Stafford, yr hwn yn dirion iawn a ganiataodd dŷ gwag oedd yn y Pentre i fod yn dŷ i addoli, a'r un boneddwr mewn adeg ddiweddarach a ganiataodd ddarn o dir mewn lle cyfleus i adeiladu capel, gyda darn helaeth o dir wrtho yn lle claddfa. Yn y flwyddyn 1823, adeiladwyd yma gapel a mynwent yn nglyn ag ef, ond ni chaed gan neb o'r ardalwyr gladdu eu meirw yno hyd nes y gorchymynodd yr hen weinidog gael ei gladdu yno ei hun. Arferai ddyweyd, "Rhaid i mi farw, ac i chwithau fyn'd a fi yno i'm claddu, ac yna dichon y deuwch yno ataf wedi hyny." Ac felly fu, ac y mae yno ddegau wedi eu claddu ar ei ol.

Adeiladwyd yma gapel newydd yn y flwyddyn 1868, ac agorwyd ef Medi 23ain a'r 24ain. Bu y gymydogaeth yn garedig a haelionus yn ei

adeiladiad. Mae y lle o'r dechreuad o dan yr un weinidogaeth a Llangwm, ac felly y mae yn parhau, fel nad rhaid i ni ailadrodd dechreuad a diweddiad tymor pob gweinidog. Mae yma gynnulleid a gref o bobl ddeallgar a chrefyddol, ac amryw o deuluoedd cryfion sydd yn noddwyr caredig i'r achos. Cofir yma yn hir am Thomas Jones, William Davies, a'u teuluoedd; Peter Roberts a Lowry ei chwaer; Hugh a Catherine Roberts, Cadwaladr Jones, John Davies, Edward Davies, John Thomas, Edward Roberts, John Jones, Ffrithoedd, a'u teuluoedd, yn nghyda llawer eraill a fuont ffyddlon a charedig i'r achos, rhai o ba rai sydd yn aros, ond y rhan fwyaf a hunasant.

Codwyd yma ddau bregethwr, sef Evan Lloyd a fu yn weinidog yn Hebron, Lleyn, ac a fu farw yn fuan, a Lloyd B. Roberts, sydd yn awr yn weinidog yn y Borth, gerllaw Porthmadog.

## GELLIOEDD.

Mae y lle hwn yn mhen uchaf plwyf Llangwm. Arferid pregethu ar derfynau plwyfi Llangwm a Llantawr gan weinidogion y Bala, ac eraill, yn achlysurol, cyn diwedd y ganrif ddiweddaf. Ar ·ol dyfodiad Mr. Thomas Ellis yma i fyw, dechreuodd bregethu yma yn rheolaidd, a chynhelid yma ysgol Sabbothol a chyfarfodydd gweddio, ond aelodau yn Llangwm oeddynt, ac elent yno bob mis i gymundeb. Yn y flwyddyn 1844, meddyliodd Mr. H. Ellis a'r cyfeillion yma mai gwell a fuasai cael capel i'r ardal, a sicrhawyd tir i'r perwyl. Codwyd capel bychan cyfleus, a chan fod gan y bobl galon i weithio, a chludo y defnyddiau yn rhad, nid aeth y draul arianol ond 50p. Daeth yr achos rhagddo yn fawr, ac yn 1864, bu raid helaethu y capel. Mae yma gynnulleidfa fywiog a gweithgar, a'r achos yn ei holl ranau yn myned rhagddo yn llwyddianus. Mae y lle o'r dechreuad mewn cysylltiad gweinidogaethol a Llangwm a Phentre-llyn-cymer. *

## PENTREFOELAS.

Gan fod hanes cyflawn a dyddorol am yr achos yma am yr haner can' mlynedd·cyntaf o'i hanes wedi ei gyhoeddi yn y *Dysgedydd* am 1855. Tu dal. 37, nis gallwn wneyd dim yn well na'i osod i mewn yma. Parotowyd ef gan Mr. Roberts, Liverpool, yr hwn oedd yn weinidog yma ar y pryd. "Tybir mai yn nghylch y flwyddyn 1800 y dechreuwyd pregethu yn y gymydogaeth hon gan yr Ymneillduwyr. Ymddengys fod y bobl yn gyffredin yn dra llygredig y pryd hwnw. Ymgyfarfyddent yn dyrfaoedd lluosog mewn lleoedd penodedig ar y mynyddoedd, i dreulio eu Sabbothau mewn chwareuyddiaethau. Eu cyfeillachau ar nosweithiau yr wythnos oeddynt y 'nosweithiau llawen,' a'u cyfarfodydd blynyddol oeddynt y 'gwylmabsantau.' Er mor uchel eu bri oedd y cyfarfodydd llygredig hyn, nid oedd neb yn dyweyd gair yn eu herbyn, nac yn gweled unrhyw niwaid ynddynt.

* Yr ydym yn ddyledus yn benaf i Mr. H. Ellis, Llangwm, am hanes yr eglwysi hyn.

"Y diweddar Barch. Azariah Shadrach oedd yr offeryn a ddefnyddiodd yr Arglwydd i ddechreu yr achos yma. Chware teg i'r hen Shadrach! Dechreuodd gryn lawer o achosion newyddion, dyfrhaodd lawer o eglwysi gweiniaid, a gwnaeth lawer o ddaioni, a dyoddefodd dipyn o erledigaeth. Er ei holl ddiffygion fel awdwr, yr oedd ynddo lawer o gymhwysderau at amgylchiadau ei oes. Er nad oedd yn athronydd dwfn, nac yn feirniad craff; etto, medrai ennill sylw, a chyrhaedd calonau ei wrandawyr, yr hyn sydd fwy nag a fedr rhai o'r athronyddion sychion a chwarddant am ei ben. Y mae llawer o'r eglwysi a sefydlwyd ganddo ef yn awr yn gryfion a blodeuog; a diau fod ei goffadwriaeth yn barchus gan lawer, megis ag y mae gan yr eglwys hon. Gadawn i Mr. Shadrach ei hun adrodd hanes ei ymdrechiadau i ddechreu yr achos yma. Efe a ddywed fel y canlyn yn y *Cerbyd o Goed Libanus*, tu dal. 188-190:—

"'Pan yn weinidog yn Llanrwst, yr oeddwn yn myned yn lled aml i'r Bala a Llanuwchllyn i bregethu, ac i gael cynghor ac addysg gan y Parch. George Lewis. Nid oedd genyf un lle i bregethu ynddo yr amser hwnw yn ardal eang Pentrefoelas a Rhydlydan; ac yr oedd y trigolion yn gyffredin yn hynod o dywyll, a rhai o honynt o duedd erledigaethus. Teimlwn awydd neillduol ynof am gael lle i bregethu yn y gymydogaeth hono. Yr oeddwn i a'r Parch. John Evans, Amlwch, yn myned gyda'n gilydd unwaith i gyfarfod mawr ag oedd yn y Bala, ac ychydig o gyfeillion o Gapel Garmon yn myned gyda ni ar eu traed; a phan yn aros ychydig i orphwys yn ochr pont Pentrefoelas, anogais Mr. Evans i bregethu ychydig yn y fan hono i ni, a gwnaeth felly. Ond er ucheled yr oedd efe yn bloeddio, ni ddaeth nemawr o neb allan o'r pentref i wrando arno. Hon, mae yn debyg, oedd y bregeth gyntaf a draddodwyd gan un o'r Independiaid yn ardal Pentrefoelas a Rhydlydan. Teimlwn hefyd awydd neillduol yn fy meddwl am gael lle i bregethu yn ardal Rhydlydan. Wrth holi a chwilio, cefais genad i bregethu yn ochr ty bychan, o'r enw Ty'nygors, yn ngodre y mynydd sydd uwchlaw Rhydlydan, sef yn agos i'r ffordd sydd yn myned i'r Bala, a'r testyn oedd,—"A'r efengyl hon am y deyrnas a bregethir trwy yr holl fyd, er tystiolaeth i'r holl genhedloedd: ac yna y daw y diwedd," Mat. xxiv. 14. Wedi hyny, cymerais dŷ bychan wrth bont Rhydlydan i gael pregethu ynddo, ac yr oeddwn yn talu yr ardreth am dano fy hun. Byddwn yn arfer dyfod o Drefriw yn gyffredin bob nos Fawrth i Rhydlydan i bregethu. Yr oedd genyf tua deng milldir o ffordd i ddyfod, ac yr oeddwn yn arfer cario canwyllau gyda mi, i gael pregethu yn eu goleu; ac nid hawdd y cawn oleuo canwyll mewn un ty yn yr ardal, oherwydd rhagfarn y bobl, ond yn nhy Evan Jones, y tafarnwr, yr hwn oedd yn hen ŵr serchog iawn. Pan oeddwn yn pregethu yn Rhydlydan ar ryw nos Fawrth, ac amryw o bobl wedi ymgasglu yn nghyd i wrando, a rhai allan yn y drws, daeth pendefig heibio, sef Mr. Humphreys, Rhydlanfair, heddynad; a chymerodd arno dyngu cwnstebli i ddyfod i mewn i'm dal i, a daethant yn mlaen ataf dan radd o gryndod, gan ddywedyd fod Mr. Humphreys wrth y drws yn ceisio genyf ddyfod allan. Ufuddheais yn uniongyrchol, ac aethum allan a'm trwydded (*licence*) yn fy llaw, oblegid nid oeddwn yn arfer myned i bregethu i un man yr amser hwnw heb fy nhrwydded genyf. Yr oedd Mr. Humphreys ar gefn ei geffyl mawr, a'i *whip* yn ei law, ac yn rhuo ac yn bygwth yn ddychrynllyd, ac efe a ymaflodd yn y drwydded o'm llaw. Aethum gydag ef tua milldir o ffordd, dan ymddiddan ag ef; yna efe a roddodd y drwydded yn ol i mi,

ond etto yn parhau i fygwth yn fawr. Ond ni wnaeth efe ddim rhagor o aflonyddwch i mi. Terfysgodd yr oedfa y noson hono a pharodd i rai o'r gwrandawyr ofni a chrynu yn fawr. Wedi bod yn pregethu ryw dro wedi hyny ar brydnawn Sabboth yn Rhydlydan, a rhai cyfeillion o Gapel Garmon gyda mi, wedi bod yn gwrando arnaf, pan yn myned adref o'r cyfarfod, yn agos i Pentrefoelas, gwelwn bendefig yn dyfod i'm herbyn, wedi dyfod allan o'r gwasanaeth prydnawnol, â golwg ddychrynllyd arno, a dechreuodd fy rhegi i yn arswydus, am fy mod yn dyfod i bregethu i'w ardal ef. Yr oedd gwraig clochydd Pentrefoelas wedi bod yn gwrando arnaf, a phan welodd hi y boneddwr yn dyfod i'm cyfarfod, hi a redodd o'r neilldu i ymguddio. Fel hyn y dechreuodd achos yr Independiaid yn ardal Rhydlydan. Tua'r amser hwn y dechreuais gadw cyfeillach grefyddol yno, a chefais y fraint fawr o gorpholi eglwys i Grist yn yr ardal dywyll hono. Pan yn derbyn yr aelodau cyntaf i mewn, yr oeddwn yn gofyn iddynt, gan ddal y Bibl yn fy llaw o'u blaen, a oeddynt yn bwriadu cymeryd gair Duw yn rheol iddynt? Atebent hwythau eu bod, trwy gymhorth gras y nef. Amryw o'r bobl dywyll ag oedd yno yn gwrando oeddynt yn synu atynt, oblegid meddylient eu bod wedi tyngu eu hunain i'm canlyn i, greadur gwael, fel pe buaswn yn myned dros foroedd i barthau pellaf y byd. O! mor fawr oedd tywyllwch llawer o ddynion yn yr amser hwnw. Felly mi a gefais gryn lawer o ofid i'm meddwl wrth ddechreu yr achos yn Rhydlydan, oblegid tywyllwch a thuedd erledigaethus rhai dynion. Ond mi gefais fil mwy o ofid oblegid fy llygredd a'm hanmherffeithrwydd fy hun yma, a phob man arall, nag a gefais oddi wrth neb rhyw ddynion erioed. Ond diolch i'r Arglwydd, y mae yr achos wedi myned yn mlaen, ac wedi llwyddo yn rhyfeddol yn ardal Rhydlydan; ac y mae yno gynnulleidfa flodeuog yn bresenol, a llawer wedi cael eu goleuo yn hynod. Cafodd yr eglwys ei chorpholi yn y flwyddyn 1804, a gwraig clochydd Pentrefoelas * a roddodd y cynorthwy cyntaf at achos yr Ymneilldtuwyr yn yr ardal hono, sef pwys o ganwyllau i mi bregethu yn eu goleu; a chlywais ddyweyd ei bod wedi parhau i roddi yr un peth dros amryw o flynyddau hyd ddydd ei marwolaeth. Gobeithiaf ei bod hithau yn bresenol ar fryniau purdeb, wedi cael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni.'

"Yn y flwyddyn 1806, symudodd Mr. Shadrach i Dalybont, gan adael yr eglwys amddifad yn y 'ty bychan wrth bont Rhydlydan.' Bu yr ychydig gyfeillion yn ymgyfarfod yn y ty hwnw am yn nghylch pum' mlynedd, pryd y bu raid i'r perchenog ei gael at wasanaeth arall. Wedi hyny ymunasant gyda y Trefnyddion Calfinaidd i gyd-gynal moddion crefyddol yn ysgubor Ty'nrhos. Yno buont hyd y flwyddyn 1810, pryd yr adeiladwyd y capel cyntaf yma; yna dechreuodd yr eglwys fechan 'gadw ty, a bod yn llawen fam plant.'

"Cafwyd cryn drafferth i gael tir i adeiladu arno. Wedi i Mr. Edwards, oedd yn byw yn Hendre-house, ger Llanrwst, roddi addewid am ddarn o dir, daeth Dr. Lewis, Llanuwchllyn, yma i'w gyfarfod i gytuno am dano. Cyfarfuant yn yr *Inn*, Cerniogemawr, a gwnaed cytundeb ysgrifenedig am y darn tir. Pan yn dychwelyd adref y noson hono, cyfarfu Mr. Edwards â'r Parch. Ellis Wynne, person Pentrefoelas, yr hwn a ddywedai y rhoddai

* "Clochydd Pentrefoelas" y pryd hwnw ydoedd y diweddar Mr. John Thomas, y bardd. Bu ef a'i wraig yn dra charedig i'r achos yn ei gychwyniad. Bu eu tŷ yn gartref i weinidogion yr Annibynwyr am flynyddau lawer.

efe botel o win iddo os torai y cytundeb a wnaethai am dir i adeiladu addoldy. 'Os rhoddwch chwi ddwy mi wnaf,' ebai Edwards. 'O'r goreu, mi roddaf ddwy,' ebai y person. Do, rhoddodd y mab Scefa—olynydd Judas, ddwy botel o win i ddyn am dori ei air, a gwrthod tir i adeiladu ty i addoli Duw. Clywodd y Dr. Lewis am hyn cyn ymadael o'r gymydogaeth, ac yn ddioed efe a anfonodd bapyr y cytundeb i Lundain i gael ei *stampio.* Pan gyfarfu Mr. Edwards â Dr. Lewis y tro nesaf, dywedai ei fod am dori y cytundeb a wnaethai ag ef am y tir. 'Y mae yn rhy ddiweddar,' meddai y Dr., gan ei hysbysu fod y papyr wedi ei *stampio.* Erbyn hyn yr oedd gwin y person wedi ei yfed, a'i ddichell wedi methu. Cafwyd y tir, ond bu raid rhoddi 60p. am dano, er nad oedd ond darn bychan a diwerth.

"Syrthiodd y gofal o arolygu y gwaith o adeiladu ar y Dr. Lewis; efe hefyd a roddodd arian at ddwyn y gwaith yn mlaen. Aeth y draul rhwng pob peth yn 372p. Aeth y Parch. Thomas Thomas, yr hwn a fu yn weinidog yma am ychydig amser, i Lundain i gasglu; a thrwy fod y Dr. Arthur Jones yno ar y pryd, ac yn rhoddi ei ddylanwad o'i blaid, llwyddodd i gasglu 160p. Trwy hyn, a'r cynorthwy a gafwyd oddiwrth yr Undeb er talu dyledion addoldai, yn nghyd ag ymdrechion cartrefol llwyddwyd i dalu y cwbl ond 5p. Rhoddwyd hyny ar y capel newydd.

"Parhaodd yr eglwys hon am beth amser mewn cysylltiad gweinidogaethol â Llanrwst a Threfriw. Wedi ymadawiad Mr. Shadrach, bu dan ofal y Parch. Lewis Powell, mab y diweddar Barch. Jonathan Powell o Rosymeirch, am ryw hyd. Efe a ymadawodd yn lled fuan, ac a ymunodd â'r Eglwys Sefydledig. Wedi hyny bu y Parch. Peter Griffiths, Llanrwst, yn gweinidogaethu yma am beth amser. Yn y flwyddyn 1819, rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. T. Thomas, gwr ieuangc o'r Deheudir. Wedi bod yn ymdrechgar a llwyddianus iawn, fel y nodwyd, i gasglu at ddyled y capel, efe a ymadawodd yn mhen blwyddyn neu ddwy.* Tua'r flwyddyn 1822, cymerodd y Parch. John Roberts, Capel Garmon, ofal yr eglwys, a pharhaodd i weinyddu iddi hyd y flwyddyn 1834. Bu yr eglwys wedi hyn heb yr un gweinidog hyd oni ddaeth y Parch. Thomas Griffiths yma yn 1838. Y pryd hwnw y tynwyd yr hen gapel i lawr, ac yr adeiladwyd un arall helaethach yn ei le. Trwy gael y cludiad am ddim, yn nghyda defnyddiau yr hen gapel, llwyddwyd i adeiladu y capel presenol am 190p. Trwy y 5p. oedd ar yr hen gapel yr oedd swm y ddyled yn 195p. Agorwyd y capel presenol, ac urddwyd Mr. Griffiths i waith y weinidogaeth Hydref 24ain, 1838. Bu Mr. Griffiths yn llafurio yma gyda graddau helaeth o lwyddiant hyd ddiwedd y flwyddyn 1844."

Yn nechreu y flwyddyn 1845, rhoddwyd galwad i Mr. William Roberts, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Mehefin 17eg, y flwyddyn hono. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri E. Evans, Maentwrog; G. Peart, Dwygyfylchi; J. Parry, Machynlleth; W. Edwards, Aberdar; C. Jones, Ffestiniog; W. Lloyd, Wern; D. Price, Dinbych; D. Morgan, Llanfyllin; ac M. Jones, Bala. Nid oedd rhifedi yr eglwys pan sefydlodd Mr. Roberts yma ond 91. "Nid oedd dim o ddyled y capel wedi ei thalu y pryd hwn,

* Yr oedd y T. Thomas yma yn frawd i Mr. D. Thomas, Nebo, sir Fynwy. Dychwelodd i Forganwg lle y treuliodd weddill ei oes, ond heb un cysylltiad rhyngddo a'r weinidogaeth.

ond dechreuwyd ymosod arni yn fuan, a thrwy ddal ati, yr oedd erbyn dechreu y flwyddyn hon, wedi ei thynu i lawr i 40p. Gan ei bod eleni yn haner can' mlynedd er pan ddechreuwyd yr achos yma, gwelai pawb y priodoldeb o gael y capel yn rhydd o'i ddyled, fel y gallem gael cyfarfod jubili o'r iawn ryw. Gosodwyd y peth o flaen y gynnulleidfa, a phenderfynodd pawb, fel un gwr, y mynent dalu y ddyled bob dimai cyn yr elai y flwyddyn hon allan. Nodwyd 17 o gasglyddion, pa rai a fuont ffyddlawn ac ymdrechgar iawn yn y cyflawniad o'u swydd. Taled yr Arglwydd iddynt am eu caredigrwydd i'w achos! Y mae nifer y cyfranwyr yn 307. Y mae y symiau a gyfranwyd yn amrywio o ddimai i un-swllt-ar-hugain. Y mae swm y casgliad yn 40p. 17s. 5c., sef 17s. 5c. yn fwy na swm y ddyled. Yn awr *y mae yn gapel rhydd.* Ni bu yn rhydd erioed o'r blaen, a gobeithiwn nad â yn gaeth byth mwyach. 'Nid oes yma onid ty i Dduw, a dyma borth y nefoedd.'" Cafwyd yma gyfarfod jubili Tachwedd 6ed a'r 7fed, 1854. Llafuriodd Mr. Roberts yma yn ddiwyd, ac yr oedd yr eglwys pan ymadawodd uwchlaw 200 o rifedi.* Derbyniodd alwad gan yr eglwys sydd yn awr yn Great Mersey-street, Liverpool, a thraddododd ei bregeth ymadawol yma y Sabboth olaf yn Awst, 1861. Yn y flwyddyn 1864, rhoddwyd galwad i Mr. Richard W. Roberts, Clarach, sir Aberteifi, a llafuriodd yma yn ddyfal hyd ddiwedd Chwefror, 1871, pryd y symudodd i Ystradgynlais, ac er hyny y mae yr eglwys hon yn amddifad o weinidog.

Codwyd y personau canlynol i bregethu yn yr eglwys hon:—

Robert Daniel. Bu yn bregethwr cynorthwyol cymeradwy yn yr holl amgylchoedd am lawer o flynyddoedd, ac y mae ei enw yn barchus hyd heddyw.

Owen Thomas. Mae yn awr yn weinidog yn Brynmair, sir Aberteifi.

Griffith Thomas. Mae yn byw yn Penisa'rwaun, ac yn gofalu am yr eglwys yn Llanrug.

David Roberts. Mae yn awr yn Rhiw, gerllaw Dinbych, ac yn parhau i bregethu.

Evan Thomas. Mae yn ddiacon ac yn bregethwr perthynol i'r eglwys yn Ninbych.

Ellis Jenkin Roberts. Erys ef yn yr eglwys yn bregethwr cynorthwyol.

Robert Rowlands. Addysgwyd ef yn athrofa y Bala, ac urddwyd ef yn Aberaman, lle y mae etto.

Mae yma ysgoldy a elwir Glanyrafon ar y ffordd oddiyma i Ddinbych, er cadw ysgol Sabbothol a chyfarfodydd gweddi a phregethu yn achlysurol. Adeiladwyd ef yn nhymor gweinidogaeth Mr. W. Roberts, ac y mae wedi bod yn gaffaeliad mawr i'r ardal hono.

"Cyfarfyddodd yr eglwys hon a chryn lawer o wrthwynebiadau er ei dechreuad, a hyny yn benaf oddiwrth Eglwyswyr. Er eu gwaethaf yr ennillodd bob modfedd o'r tir sydd yn ei meddiant; ac nid oes ganddi etto ddim cynorthwy i'w ddisgwyl oddiwrthynt. Gweithiodd ei ffordd yn mlaen, a chynyddodd er gwaethaf pob gwrthwynebiad. Bu rai troion yn 'helbulus gan dymhestl, ac yn ddigysur;' ond y mae yn *fyw*, ac yn ddigon cref a chalonog i *weithio*. Y mae ganddi rai adgofion gofidus, ond y mae ganddi lawer mwy o rai cysurus. Cafodd y fraint o 'gynal gair y bywyd' am ddeng-mlynedd-a-thriugain, a bu ei dylanwad daionus o fendith annhraeth-

* Llythyr Mr. Ellis Roberts.

adwy i'r gymydogaeth. Y mae llawer o blant Duw wedi eu geni a'u magu ynddi. Y mae llawer wedi myned o honi i'r nefoedd, ac y mae yma lawer etto ar eu ffordd yno. Y mae cryn gyfnewidiad er gwell yn agwedd pethau yn awr ragor pan y deuai Shadrach a chanwyllau yn ei boced yma, ddeng-mlynedd-a-thriugain yn ol, ond y mae yn debyg y bydd yma gyfnewidiad mwy er gwell yn mhen triugain-mlynedd-a-deg etto." Ni bu yr un o'r gweinidogion a fu yma farw mewn cysylltiad a'r eglwys, ac felly nid oes genym i'w ychwanegu gofnodion bywgraphyddol am weinidogion ymadawedig.

## GAPEL GARMON.

Saif yr addoldy hwn ar ymyl yr hen ffordd sydd yn arwain o Lanrwst i Yspyty Ifan, hon ydoedd y brif ffordd gynt rhwng y ddau le uchod. Y man y capel yn nghanol y wlad—pellder o ddeutu dwy filldir o Lan Capel Garmon, ac yn mhlwyf Llanrwst. Dywedir fod Capel Garmon wedi bod yn blwyf ar ei ben ei hun, ond iddo gael ei uno a phlwyf Llanrwst.

Tybir fod yr achos crefyddol wedi ei ddechreu yma tua yr un adeg ac y dechreuwyd yr achos yn Llanrwst, yn y flwyddyn 1790. Bu llawer o bregethu yn Higart, Bryn Ifan, a Tyddynbychan. Dr. Lewis, Mr. A. Shadrach, Mr. Jonathan Powell, a Mr. Robert Roberts, Tyddyn-y-felin, Llanuwchllyn, fu yn pregethu mwyaf yn yr ardal yn yr adeg hono. Cafodd yr hen efengylwyr gwrol hyny lawer o'u herlid ar eu hymweliadau a'r lleoedd a nodwyd. Bu "yr hen Squire Humphreys, Rhydlanfair," fel y gelwid ef, yr hwn ydoedd yn ynad heddwch, yn dilyn ôl traed yr hen bregethwyr i'r tai lle y byddent, fel bwystfil yn arogli ysglyfaeth. Y mae yr hen bobl yn cofio aml frwydr galed rhyngddynt. Dywedir iddo ddyfod i'r Higart unwaith pan oedd Robert Roberts, Tyddyn-y-felin, yn pregethu yno, pryd y daeth Robert Roberts, yr hwn oedd ddyn corphol, allan gyda ffon ddefnyddiol, a bygythiodd ei rhoddi ar gefn yr erlidiwr os na chaffai lonydd ganddo, ac iddo fyned adref yn lled ddistaw y tro hwnw. Adroddir hefyd iddo ddyfod i Bryn Ifan, gyda phump o gwnstabliaid, pan oedd y Dr. Lewis yn pregethu yno, ond rhoddodd y Dr. ar ddeall iddo fod ganddo awdurdod gyfreithlawn i bregethu, ac yna cafodd lonydd.

Nid ydym yn sicr pa bryd yr adeiladwyd addoldy yma, ond credwn mai tua y flwyddyn 1820 neu 1822. Galwyd ef Siloam. Cafwyd y capel yn benaf trwy lafur Mr. John Roberts, y gweinidog wedi hyny. Bu y diweddar William ac Edward Morris, Careg-coediog; William Jones, Bancog, a Robert Jones, Moeliwch, yn ffyddlon i'w gynorthwyo. Bu y pedwar a enwyd yn golofnau yr achos yma am flynyddoedd. Y mae y ddau olaf yn fyw etto; y cyntaf yn aelod yn Dolyddelen, a'r olaf yn Nebo. Yn ol cyfrif Mr. John Roberts, costiodd y capel a'r ty 159p. 0s. 5½c., yr oedd yr ardalwyr yn cario y cwbl ato. Helaethwyd y capel wedi hyny. Mae yn mesur yn awr 12 llath wrth 8. Cangen o'r eglwys hon yw Nebo. Bu cychwyniad yr achos yno yn foddion i wanhau yr achos yn Siloam. Mr. John Roberts oedd y gweinidog cyntaf yno, ond nis gwyddom yn scir pa bryd yr urddwyd ef, na pha bryd y rhoddodd ei weinidogaeth i fyny. Bu Dolyddelen, Bethel, Nebo, a Siloam yn un weinidogaeth dan ei ofal ef. Bu yr eglwys am dymor wedi hyny dan ofal gweinidogaethol Mr. W. Roberts, Pentrefoelas. Ymroddodd Mr. Roberts o ddifrif i dalu y ddyled oedd yn aros ar y capel, a gweithiodd yn gymeradwy iawn tra bu yr

eglwys dan ei ofal. Wedi hyny rhoddodd yr eglwys hon, mewn cysylltiad a'r eglwys yn Bettwsycoed, alwad i Mr. Thomas Evans, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Mehefin 30ain, 1868. Rhifedi yr eglwys yn awr ydyw oddeutu 45. Y mae yr eglwys hon wedi cael y cymeriad o fod yn eglwys heddychol iawn o'r dechreu. Yn y flwyddyn 1869, prynodd yr eglwys haner erw o'r maes lle y saif y capel arno i wneyd mynwent, a John Jones, Careg-coediog, oedd y cyntaf a gladdwyd yn y fynwent newydd. Yr oedd John Jones yn aelod o'r eglwys yn Siloam, ac yr oedd yn ŵr call, yn gymydog caredig, ac yn hynod yn ei garedigrwydd i bregethwyr. Dechreua yr eglwys yn awr (1874) adeiladu capel newydd ar y tir a brynwyd. Costia y capel newydd tua 350p. Y mae y cyfeillion yn eu plith eu hunain wedi casglu 100p. mewn addewidion cyn dechreu. Gwneir tai o'r hen gapel.

Codwyd y personau canlynol yn bregethwyr yn yr eglwys hon:—

John Evans. Urddwyd ef yn Beaumaris, lle y treuliodd y rhan fwyaf o'i oes.

John Jones, Bancog. Bu yn bregethwr cynorthwyol parchus am oes hir. Treuliodd y 35 mlynedd olaf o'i oes yn Green, Dinbych, ac yr oedd iddo air da gan bawb.

William J. Williams. Bu ef farw Mawrth 21ain, 1869, yn 30 oed, ar derfyn ei dymor yn athrofa y Bala, a phan yn bwriadu sefydlu yn Llanon a Nebo, sir Aberteifi, ac ar y Sabboth y bwriadai ddechreu eu weinidogaeth. Yr oedd yn ddyn ieuangc rhinweddol, ac yn bregethwr cymeradwy.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

John Roberts. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1785, yn Llidiart-y-godart, yn mhlwyf Llanrwst. Nid oedd ei rieni yn grefyddol, ac ni chafodd pan yn blentyn fanteision addysg ddyddiol na Sabbothol, ond yr oedd ganddo gof rhagorol yr hyn a fu o help mawr iddo. Pan tua 19 oed aeth ar gais modryb iddo i wrando pregeth yn Higart, yr hon a effeithiodd yn fawr arno, a chyn hir ymwasgodd a'r dysgyblion yn y lle. Gwnaeth ei hun yn ddefnyddiol iawn yn yr ysgol Sabbothol, a'r cyfarfodydd gweddi, ac wrth ganfod rhagoroldeb ei ddawn, anogwyd ef i ddechreu pregethu, yr hyn a wnaeth tua'r flwyddyn 1812. Efe fu a'r llaw flaenaf yn nghodiad capel Siloam, Capel Garmon, ac yno yn y flwyddyn 1825, (fel y tybir), yr urddwyd ef. Bu gofal Dolyddelen hefyd arno, a Bethel, Pentrefoelas, am lawer o flynyddoedd, ac yn ei dymor ef yr adeiladwyd Nebo, lle yr aeth nifer o aelodau Siloam. Ni chafodd trwy ei oes ond y nesaf peth i ddim oddiwrth ei weinidogaeth, ond dibynai am ei fywioliaeth ar ei fferm, Bryn Ifan. Yr oedd yn bregethwr rhagorol, craff a miniog yn ei holl sylwadau, ac yr oedd ei lais a'i draddodiad yn nodedig o effeithiol. Teithiodd lawer gyda Mr. Williams o'r Wern, trwy Ogledd a De yn nghanol ei oes. Rhoddodd y weinidogaeth yn Siloam i fyny fwy nag ugain mlynedd cyn ei farwolaeth, ac yr oedd yn dyoddef oddiwrth y crydcymalau, fel nad allai fyned ond ychydig oddicartref, ac am y pedair blynedd olaf o'i oes, dyoddefodd boen mawr oddiwrth y *cancer* ar ei wyneb. Bu farw Ionawr 19eg, 1869, yn 84 oed, wedi bod yn pregethu am yn agos i 60 mlynedd.

## NEBO.

Saif y capel hwn tua haner y ffordd rhwng Llanrwst a Phentrefoelas, o fewn Capel Garmon yn mhlwyf Llanrwst. Yr oedd yn yr ardal rai aelodau yn perthyn i Siloam, a rhai i Nantyrhiw. Dechreuwyd cynal ysgol Sabbothol yn Ty'nyfelinisaf, a deuai Griffith a William Morris, meibion Careg-coediog, yma yn gyson. Symudwyd yr ysgol i Moeliwrch-uchaf, lle y daeth rhagddi yn fawr, a cheid ambell bregeth a chyfarfod gweddi yno. Aed wedi hyny i'r Orsedd-wen-fawr, a choffeir am Mr. Williams o'r Wern yn pregethu yno gydag arddeliad mawr, a'r bobl yn myned adref dan orfoleddu. Symudwyd i Bryn-yr-esgob, ty Robert Roberts, aelod ffyddlon yn Higart, ac er mwyn cyfleusdra i'r rhai o ochr Nantyrhiw, cynhelid moddion yn Brynbras. Cafodd un Robert Jones lês ar ddarn o dir am 99 o flynyddoedd, a chododd gapel bychan arno yn 1833, a thŷ o dan yr un tô, ac yn mhen amser gwerthodd ef i'r eglwys am 120p. Bu Mr. John Roberts, Bryn Ifan, yn gofalu am y lle am dair neu bedair blynedd, ond er hyny hyd yn awr y mae y lle mewn cysylltiad gweinidogaethol a Phentrefoelas.

Yn y flwyddyn 1868, adeiladwyd yma gapel newydd hardd a chyfleus, ac erbyn dechreu haf 1873, yr oedd ei holl ddyled wedi ei dalu, a chadwyd yma gyfarfod jubili Mai 20fed a'r 21ain. Mae yma achos siriol dros ben, ac y mae yn ennill dylanwad beunydd yn yr ardal.

## LLANRWST.

Dechreuwyd pregethu yma yn y flwyddyn 1790, gan Mr. W. Hughes, y pryd hyny o Fangor. Bu ef yn ymdrechgar iawn yma, a goddefodd erledigaeth am ei ffyddlondeb. Pan unwaith yn pregethu yn y farchnadfa, gwysiwyd ef gan yr ynadon oeddynt yn cynal eu cyfarfod yn yr *Eagles* i ymddangos ger eu bron, a dirwywyd ef i ddeg punt, ac un o'i wrandawyr i swm cyffelyb. Yn fuan ar ol hyny daeth Mr. William Hughes, Brynbeddau, yma yn ei ymdaith fel efengylwr teithiol trwy y rhanbarth yma o'r wlad, a chymerodd dŷ anedd, yn yr hwn y pregethai bob yn ail Sabboth dros ysbaid, ac ymwelid a'r lle gan weinidogion oedd yn y Gogledd ar y pryd. Wedi ymadawiad Mr. Hughes i'r Dinas, a sefydliad Mr. Daniel Evans yn Mangor, deuai yntau yma yn rheolaidd, ac y mae yn debyg mai efe a ffurfiodd yr eglwys yma, ac yn Nhrefriw, yr hon ar y dechreu oedd yn un. Trwy gymhelliad Mr. Evans daeth Mr. Azariah Shadrach, yr hwn oedd yn aelod gwreiddiol o eglwys Trewyddel, yma. Yn mhlith yr aelodau cyntaf a ffyddlonaf yn yr ardaloedd hyn, yr oedd Jane Thomas, Cwmanog, a'i merch Jane Jones, Pantsiglen. Ar ol i Mr. Shadrach fod yma dros rai Sabbothau, dychwelodd i'w wlad, ac yn ei absenoldeb aeth Jane Jones, Pantsiglen, i'r Bala i gyfarfod gweinidogion a gynhelid yno, i'w gwahodd i ddyfod yma i urddo Mr. Shadrach. Gofynodd Dr. Lewis iddi, "A oedd gobaith iddo gael tamaid o fara os deuai?" Dywedodd hithau na chai fod arno eisiau tra y byddai tamaid ar ei bwrdd hi, a bu gystal a'i gair. Urddwyd ef yn 1802, a llafuriodd yma, ac yn yr holl wlad oddiamgylch, yn ddiwyd ac egniol hyd y flwyddyn 1806, pryd y symudodd i Dalybont, sir Aberteifi. Bu yr eglwys yma ar ol hyny am rai blynyddoedd heb weinidog. Yn yr adeg hono yr ymunodd Mr. Richard

Roberts, Melinycoed, a'r achos, yr hwn oedd ddyn gwybodus a pharchus yn y gymydogaeth. Yr oedd wedi bod yn aelod gyda'r Methodistiaid Calfinaidd am 42 o flynyddoedd. Daeth i'r gyfeillach yma ar ol pregeth gan Dr. Phillips, Neuaddlwyd. Pan ddeallodd y Dr. ei fod wedi aros ar ol, a'i fod wedi treulio ei oes gyda'r Methodistiaid, cynghorodd ef i lynu wrthynt. Dywedai yntau ei fod wedi treulio chwech saith gyda'r Methodistiaid, a'i fod am dreulio hyny a ga'i o'r seithfed saith gyda'r Annibynwyr, a bu yn aelod defnyddiol yma dros weddill ei oes. Bu ei ymuniad a'r achos yn galondid mawr i'r eglwys, ac yn godiad iddi yn ngolwg y gymydogaeth. Trwy ei offerynoliaeth ef y codwyd y capel cyntaf yma; addolid hyd hyny mewn hen gapel i'r Methodistiaid. Rhoddwyd galwad i Mr. Lewis Powell, myfyriwr yn athrofa Gwrecsam, a mab i Mr. Jonathan Powell, Rhosymeirch, ac urddwyd ef yma Medi 21ain, 1810. Bu Mr. Powell yma am ychydig yn llafurus, ac yn 1813, codwyd yma gapel newydd, ond yn fuan wedi ei adeiladiad, ymadawodd Mr. Powell i'r Crwys, gerllaw Abertawy, gan adael baich trwm o ddyled ar y gynnulleidfa fechan. Rhoddwyd galwad ar ol hyny i Mr. Peter Griffiths, myfyriwr o'r athrofa yn Ngwrecsam, ac er fod drysau eraill yn agored o'i flaen, dewisodd Mr. Griffiths ymsefydlu yma. Urddwyd ef yma yn mis Tachwedd, 1814. Nid oedd yma yr un ysgol Sabbothol yn y lle ar ei sefydliad, nac ond 35 o aelodau rhwng Llanrwst, Trefriw, a Nantyrhiw, a dyled o 600p. ar y capel, ond ymroddodd Mr. Griffiths i weithio, a theithiodd Gymru a Lloegr i dalu y ddyled, a llwyddodd i ddileu dwy ran o dair o honi. Yr oedd yma cyn ei ymadawiad ysgol Sabbothol flodeuog, ac eglwys yn rhifo 80. Trwy ryw annghydwelediad rhyngddo a rhai personau, a'r rhagfarn a gyfodid yn erbyn ei athrawiaeth, rhoddodd yr eglwys i fyny yn 1822, er iddo barhau yn aelod yn y lle hyd y flwyddyn 1829, pryd y symudodd i Penyclawdd, sir Forganwg; ond dychwelodd i'r ardal yma drachefn yn mhen ychydig flynyddoedd, ac yma y bu farw Mai 16eg, 1858, yn 74 oed. Yr ydym eisioes wedi gwneyd byr grybwylliad am dano yn nglyn a Phenyclawdd.

Dilynwyd ef yma gan Mr. Evan Davies (Eta Delta), myfyriwr yn athrofa y Drefnewydd, ac urddwyd ef Chwefror 8fed, 1827. Bu Mr. Davies yma yn egniol a llwyddianus yn ei dymor. Gwnaed llawer o gyfnewidiadau yn y capel yn ei amser ef, ac adeiladwyd ty mewn cysylltiad ag ef, ond ni bu hyny mewn un modd yn welliant i'r capel. Ymadawodd Mr. Davies oddiyma i Lanerchymedd yn 1834; a chyn pen dwy flynedd rhoddwyd galwad i Mr. Lewis Everett, Llangwyfan. Bu golwg siriol a llewyrchus ar yr achos yma yn nhymor Mr. Everett; mwynhawyd yma ddiwygiad grymus, ac yr oedd yn y lle nifer o ddynion gweithgar; ond llesgaodd yr achos i fesur ar ol y cyffroad hwnw, ac yn y flwyddyn 1844, dychwelodd Mr. Everett i hen faes ei lafur yn Llangwyfan. Cyn diwedd y flwyddyn ganlynol, rhoddwyd galwad i Mr. Ismael Jones, Hermon, Mon, ond ni bu tymor ei arosiad ef yma ond byr. Yn 1850, daeth Mr. W. Caledfryn Williams yma o Alder'sgate-street, Llundain, a bu yma yn barchus a llwyddianus am bum' mlynedd, ond ar ol ailbriodi a sefydlu yn Mangor i fyw, yr oedd yn anghyfleus iddo ddyfod yma, ac felly rhoddodd yr eglwys i fyny, a chyn hir derbyniodd alwad o'r Groeswen, lle y bu yn gysurus hyd derfyn ei oes. Cyn diwedd y flwyddyn 1857, rhoddodd yr eglwys yma alwad i Mr. Thomas Roberts, Newmarket, a dechreuodd ei lafur yma yn 1858, ac y mae yn parhau yma yn y weinidogaeth.

Codwyd y personau canlynol i bregethu yma :—

Evan Thomas. Urddwyd ef yn Trallwm, a bu am dymor maith yn Meifod, ac y mae yn awr yn byw yn Llanfyllin, ond heb ofal gweinidogaethol.

Robert Thomas. Brawd yr uchod. Urddwyd ef yn Nghroesoswallt, symudodd oddiyno i'r Rhyl, ac y mae yn awr yn weinidog yn Flint.

Robert David Thomas (Iorthryn Gwynedd). Urddwyd ef yn Penarth, sir Drefaldwyn, ac y mae yn awr yn America.

William Williams. Urddwyd ef yn Colwyn, ac yno y mae etto yn byw, ond heb ofal gweinidogaethol.

Nid ydym yn gwybod am neb arall a godwyd yma. Gwelir fod yr achos hwn o'i gychwyniad wedi myned trwy lawer o gyfnewidiadau, ac nid oes genym fantais i wybod nemawr am ei sefyllfa bresenol gan nad anfonwyd i ni unrhyw wybodaeth. Gan na bu neb o'r gweinidogion a fu yma farw mewn cysylltiad a'r eglwys, nid oes genym gofnodion bywgraphyddol i'w rhoddi.

## NANTYRHIW.

Dechreuwyd pregethu yn y gymydogaeth yma yn fuan wedi dechreu yn Llanrwst, ac mewn cysylltiad a'r dref y mae y lle hwn wedi bod bob amser. Nid oes genym unrhyw fanylion i'w rhoddi am hanes yr achos, na'r treigliadau fu arno. Adeiladwyd addoldy newydd yma yn nhymor gweinidogaeth Mr. Davies, ac adeiladwyd y capel presenol yn 1867, ac y mae yma achos siriol iawn.

## LLANSANTFFRAID-GLAN-CONWY.

Dechreuwyd pregethu yma yn 1832, mewn lle a elwir Tanydderwen, gan Mr. John Senner, pregethwr cynorthwyol o Pentir, gerllaw Bangor, yr hwn a ddaethai i fyw i Factory wlân yn yr ardal. Adeiladwyd yma gapel yn Brynrhys, a ffurfiwyd eglwys—pump mewn nifer—ac yn 1833, agorwyd y capel ac urddwyd Mr. Senner yn weinidog. Bu Mr. Senner yma hyd y flwyddyn 1847, pryd y symudodd i Bethesda, lle y bu byw dros weddill ei oes. Nid oedd yma ond pedwar-ar-ddeg o aelodau ar ei ymadawiad, a dyled o nawugain punt ar y capel. Daeth Mr. Evan Owen, Llansanan, yma yn Mai, 1847, ac wedi llafurio yma yn ddiwyd am yn agos i ddeng mlynedd, urddwyd ef Ebrill 13eg, 1857. Llwyddwyd i dalu y ddyled fel nad oes ond 30p. yn awr; ac er y mynych symudiadau, y mae nifer yr aelodau yn fwy na dau cymaint na'r hyn oeddynt pan ddaeth Mr. Owen yma. Mae Mr. Owen wedi ei analluogi i gyflawni ei weinidogaeth oblegid ergyd a gafodd o'r parlys, ac er ei fod yn well nag y bu, nid yw yn debyg y bydd mwy yn alluog i gyflawni ei weinidogaeth. Bu yr hen frawd John Williams yn ffyddlon iawn; dewiswyd ef yn ddiacon ar ffurfiad yr eglwys, ac ni chollodd ond un cymundeb trwy ei oes.

---

Nid oes genym ond ychydig i'w ychwanegu am y sir hon at yr hyn a roddasom yn nglyn a'r eglwysi. Drwg genym na buasem yn alluog i roddi hanes cyflawnach a manylach am rai lleoedd, ond methasom er pob

ymdrech a chael gafael ar y defnyddiau; ac ni wnaeth rhai gymaint ag ateb ein gofyniadau, er i ni anfon atynt unwaith ac eilwaith. Dangosodd y rhan fwyaf er hyny y parodrwydd mwyaf i'n cynorthwyo, a derbynied y cyfryw ein diolchgarwch cynesaf. Gwelir fod Ymneillduaeth wedi dechreu yma yn foreu, a gallasai yr Annibynwyr o ran y fantais a gawsant ar y maes yma, gymeryd meddiant llawer llwyrach o hono. Aeth mwy na chan' mlynedd heibio ar ol sefydliad yr eglwysi cyntaf yn y sir, heb i unrhyw ymdrech gael ei wneyd i eangu terfynau yr achos. Bu dyfodiad yr athrofa i Wrecsam yn achlysur neillduol i sefydlu nifer o eglwysi yn y rhan hono i'r wlad, ac ymddengys i'r myfyrwyr fod yn nodedig o egniol ac ymdrechgar i agor drysau newyddion i bregethu, a chychwyn eglwysi sydd erbyn hyn yn llewyrchus a blodeuog. Rhodd arbenig o eiddo yr Arglwydd i'r sir hon oedd sefydliad Mr. Williams o'r Wern ynddi, a rhwng ei boblogrwydd fel pregethwr, a'i ysbryd cyhoeddus, rhoddodd fywyd newydd i'r enwad ynddi. Bu Mr. A. Shadrach hefyd o wasanaeth dirfawr mewn cŵr arall o'r sir; ac erys llafurus gariad Meistri T. Jones, Moelfra; T. Ellis, Llangwm; D. Roberts, Dinbych, ac eraill, mewn coffadwriaeth barchus, ac ni wybyddir hyd y dydd y datguddir pob peth, y daioni anrhaethol a wnaethant. Yn eu tymor hwy y sefydlwyd y rhan fwyaf o'r achosion sydd yma, ac nid yw rhai o honynt wedi gwneyd y cynydd a allesid ddisgwyl er marwolaeth eu sylfaenwyr. Mae yn y sir rai eglwysi cryfion a lluosog, a'u dylanwad yn fawr er daioni yn eu hardaloedd, ac y maent yn ennill tir beunydd; ond y mae yma hefyd gryn nifer o eglwysi bychain, nychlyd, ac o ddiffyg gofal bugeiliol priodol, wedi dyoddef yn ddirfawr. Mae argoelion llawer mwy ffafriol hefyd yn awr nag a fu, a'r cyflenwad o weinidogion yn helaethach, er fod yma etto gryn nifer o eglwysi heb weinidogion, ac o dan y drefn Annibynol, y mae hyny yn rhwym o fod yn anfanteisiol. Ar y cyfan y mae capeli da trwy y sir, a'r rhan fwyaf o honynt yn rhydd oddiwrth ddyled, a llawer o leoedd bychain a fu yn dyoddef yn hir oddiwrth feichiau trymion, wedi eu cwbl ddiddyledu; ond y mae y capeli sydd etto mewn rhai lleoedd lled bwysig yn annheilwng o'r oes ac o'r enwad. Nid yw yr eglwysi hyd y gwyddom yn cael eu blino gan gynhenau ac ymrysonau; ac yn eu gwybodaeth a safon eu sancteiddrwydd, nid ydym yn tybied eu bod, a'u cymeryd at eu gilydd, ar ol i eglwysi siroedd eraill, er ar yr un pryd, teimla y dynion goreu ynddynt fod ganddynt "dir lawer i'w feddianu" wrth "fyned rhagddynt at berffeithrwydd."

# SIR ABERTEIFI.

Amgylchynir y sir hon ar y gogledd gan For y Werydd, a rhanau o siroedd Meirionydd a Maldwyn; ar y dwyrain gan siroedd Maldwyn, Maesyfed, a Brycheiniog; ar y de gan siroedd Brycheiniog, Caerfyrddin, a Phenfro, ac ar y gorllewin gan For y Werydd. Ei harwynebedd yw 443,387 o erwau; a'i phoblogaeth yn 1861, oedd 72,245, ac yn 1871, 73,488. Y mae yma lawer o diroedd breision a chynyrchfawr yn nyffrynoedd Teifi, Aeron, a'r Rheidiol, ac mewn amryw fanau eraill ar gyffiniau y mor, ond y mae yma hefyd beth dirfawr o diroedd cymharol ddiffrwyth, a mynyddoedd annghwrteithadwy. Ar amaethyddiaeth a mordwyaeth yr ymddibyna mwyafrif y trigolion; ond y mae rhai canoedd yn y pen gogledd-ddwyreiniol o'r sir yn ymddibynu ar y cloddfeydd cynyrchfawr o fŵnoedd plwm ac arian sydd yn cael eu gweithio yma er's dros dri chant o flynyddoedd. Cyfodir yma tua gwerth can' mil o bunau yn y flwyddyn o'r mŵnoedd hyn.

Cafodd egwyddorion Ymneillduaeth eu cofleidio yma gan lawer o'r trigolion er yn gynar yn nhymor y Werin-lywodraeth, ac y maent wedi dal eu gafael yma, ac ennill tir yn raddol o'r pryd hwnw hyd yn awr, fel y mae sir Aberteifi, er's blynyddau bellach, yn un o'r siroedd mwyaf Ymneillduol a chrefyddol yn y Dywysogaeth. Cafodd deg o weinidogion eu tori allan o'u bywioliaethau yn yr Eglwysi Plwyfol yma gan Ddeddf Unffurfiaeth yn 1662, a thrwy eu llafur hwy yn benaf y casglwyd yr eglwysi Ymneillduol hynaf yn y sir. Mae amryw o'r eglwysi hyny, er's oesau bellach, fel y cawn achlysur i sylwi etto, wedi myned i feddiant yr Undodiaid a'r Methodistiaid Calfinaidd. Yr Annibynwyr a'r Methodistiaid yw y ddau brif enwad yma, ac y mae y ddau agos, os nad yn hollol gyfartal o ran rhif. Nid oes nemawr o Fedyddwyr mewn un parth o'r sir, heblaw Aberteifi ac Aberystwyth, a chymydogaethau uniongyrchol y trefydd hyny. Nid oes dros ddwy neu dair o gynnulleidfaoedd cymharol gryfion gan y Wesleyaid trwy yr holl sir; ac y mae gan yr Undodiaid nifer o gynnulleidfaoedd mewn rhanau o'r wlad ar lanau afon Teifi. Nid oes ond ychydig o'r boblogaeth Gymreig trwy y sir yn perthyn i'r Eglwys Wladol. Rhif yr eglwysi Annibynol yn nghyfundeb y sir hon yw 66, ond fod deg o'r cyfryw yn sir Gaerfyrddin, a rhif yr aelodau yn 1870, oedd 11,389.

## EBENEZER, LLANGYBI.

Cyn y gallwn yn drefnus roddi hanes yr eglwys hon, mae yn ofynol i ni fyned dros hanes yr hen eglwysi o ba rai y tarddodd, y rhai sydd er's oesau bellach wedi myned drosodd at enwadau eraill. Un eglwys yr ystyrid holl Ymneillduwyr y sir hon yn amser y Werin-lywodraeth, a Mr. Rees Powell o Lanbedr, a ystyrid fel eu prif weinidog. Ond ar ddyfodiad Deddf Unffurfiaeth i rym yn 1662, methodd Mr. Powell a dangos digon o nerth egwyddor i sefyll yn y tywydd garw oedd o flaen yr Anghydffurfwyr, ac felly yn mhen ychydig wedi cael ei droi allan o'i fywioliaeth eglwysig yn Llanbedr, cefnodd ar Anghydffurfiaeth, ac ymunodd a'r Eglwys Sefydledig. Mewn canlyniad i hyny, bu raid i Annibynwyr y sir edrych allan am un arall, mwy egwyddorol na Mr. Powell, i fod yn fugail arnynt. Disgynodd eu dewisiad ar Mr. David Jones, yr hwn a drowyd allan gan Ddeddf Unffurfiaeth, naill ai o Lanbadarnfawr neu o Lanbadarnodwyn. Nid ydym yn sicr o ba un o'r ddau le y trowyd ef allan. Parhaodd Mr. Jones i fod yn weinidog i'r eglwys eang a gwasgaredig hon hyd 1694, ac o bossibl, rai blynyddau ar ol hyny. Yn mhen uchaf y sir, trwy y gwahanol ardaloedd o Lanbedr i Lanbadarnfawr, y preswyliai yr aelodau yn benaf. Yr oedd Mr. Jones yn cael ei gynorthwyo yn y weinidogaeth gan amryw frodyr gweithgar a theilwng:—megis Morgan Howell, John Hanmer, Evan Hughes, ac eraill. Yn y flwyddyn 1672, pan roddwyd ychydig ryddid i'r Anghydffurfwyr, cymerodd y pregethwyr hyn drwyddedau i bregethu, a thrwyddedwyd amryw anedddai i fod yn lleoedd at addoli ynddynt. Cafodd Morgan Howell drwydded i bregethu yn nhŷ John Jones, Llwynrhys, yn mhlwyf Llanbadarnodwyn, Hydref 28ain, 1672. Hefyd yr un dydd, trwyddedwyd tai Dafydd Rees, Llanfihangel; Phillip Dafydd, o ryw le nas medrwn ddarllen yr enw yn yr hen lawysgrif; Dafydd Jones o Landdewibrefi; Dafydd Hughes, Cellan, ac Evan Dafydd, Llanbadarn, a chymerodd Dafydd Jones ac Evan Hughes drwyddedau i bregethu yn y lleoedd hyn fel gweinidogion Annibynol.* Wedi cael nawdd Deddf Goddefiad, casglwyd cynnulleidfaoedd rheolaidd yn Cellan, Cilgwyn, Llwynypiod, Abermeurig, Blaenpenal, Ciliau Aeron, Crugymaen, ac amryw fanau eraill. Wedi marwolaeth yr hen weinidogion a grybwyllwyd uchod, bu yr eglwysi hyn am oddeutu haner can' mlynedd dan ofal yr enwog a'r llafurus Phillip Pugh, a'i gynorthwywyr a'i ragflaenoriaid, Jenkin Jones, Evan Davies, Timothy Davies, David Edwards, David Jenkins, James Davies, ac eraill. Yn y flwyddyn 1715, yr oedd y cylch gweinidogaethol hwn yn cynwys o saith i wyth o gynnulleidfaoedd, a thua mil o gymunwyr ynddynt. Felly nid rhyw nychdod o beth oedd Ymneillduaeth efengylaidd yn y parth hwn o Gymru yn y cyfnod bore hwnw. Cyfodwyd yn y cynnulleidfaoedd hyn o bryd i bryd luaws o bregethwyr enwog, yn mysg y rhai y gellir nodi Thomas Walters, Rhaiadrgwy; Evan Davies, gynt athraw yr athrofa yn Nghaerfyrddin; Solomon Harries, Abertawy; Evan Davies, Llanedi, ac amryw eraill. Yn nghanol yr ardal hon, yr hon oedd am bedwar-ugain-a-deg o flynyddau wedi bod yn cael ei gwrteithio a'i dyfrhau gan weinidogaeth efengylaidd a grymus, y cyfododd Rowlands, Llangeitho, yn 1735, fel un o brif

* *State Papers for the year* 1672.

sylfaenwyr Methodistiaeth Gymreig. Fel yr ydym wedi sylwi amryw weithiau eisioes, ac y cawn achlysur i sylwi etto, nid yn yr ardaloedd mwyaf paganaidd o Gymru, ond yn yr ardaloedd mwyaf crefyddol ac Ymneillduol yn *ddieithriaid* y cychwynodd Mrthodistiaeth, ac felly y mae yn llawn cymaint o gangen o'r hen enwadau Ymneillduol ag ydyw o'r Eglwys Wladol, os nad yn wir, mewn rhyw ystyr, yn fwy felly.

Yn y flwyddyn 1760, bu farw Mr. Phillip Pugh, ac erbyn yr amser hwnw, yr oedd y rhan fwyaf o weinidogion ieuaingc a dysgedicaf siroedd Aberteifi a Chaerfyrddin yn gogwyddo at Belagiaeth neu Ariaeth. Yr oedd yr egwyddorion hyn wedi cael eu pregethu a'u credu gan rai yn y Ciliau, y Cilgwyn, a Chae'ronen, neu Gellan, cyn marwolaeth Mr. Pugh, a pharai hyny ofid nid bychan iddo yn ei henaint. Wedi ei farwolaeth, aeth y tair cynnulleidfa rag-grybwylledig yn Belagiaid, ac yn raddol yn Ariaid ac Undodiaid, ac felly y maent hyd y dydd hwn, oddieithr y Cilgwyn, Arminiaid y proffesant hwy eu hunain. Y nifer yn yr eglwysi hyn a lynent wrth olygiadau y tadau, a sylfaenasant yr achosion, ac a ymneillduasant o'r cynnulleidfaoedd oherwydd nas gallent archwaethu y weinidogaeth, a gychwynodd yr achosion sydd yn bresenol yn Ebenezer, Ty'n-ygwndwn, a'r Neuaddlwyd. Tra yr aeth tair o gynnulleidfaoedd Mr. Pugh yn Ariaid ac Undodiaid, aeth tair eraill o honynt o radd i radd yn Fethodistiaid, sef Llwynypiod, Blaenpennal, ac Abermeurig. Yn fuan wedi marwolaeth Mr. Pugh, rhoddodd y cynnulleidfaoedd hyn alwad i Mr. Thomas Gray, myfyriwr yn yr athrofa Annibynol yn Abergavenny. Aeth Mr. Gray yn dra buan wedi iddo ymsefydlu yma i ymgyfeillachu a Mr. Rowlands, Llangeitho, a'r Methodistiaid. Gwahoddid ef yn fynych i bregethu yn addoldai y Methodistiaid, a gwahoddai yntau eu pregethwyr hwy i'w gapeli yntau. Yn raddol nesaodd yn nes-nes at y Methodistiaid, ac ymddieithrodd oddiwrth ei enwad ei hun, fel yr ystyrid ef cyn diwedd ei oes yn Fethodist, er mai gweinidog Annibynol ydo dd hyd ei ddiwedd. Pan y bu farw yn 1810, ar ol bod yma yn weinidog am haner can' mlynedd, yr oedd y rhan fwyaf o'r hen Annibynwyr wedi meirw, a'r genhedlaeth a dderbyniasid i'r eglwysi yn nhymor ei weinidogaeth ef wedi eu dwyn i fyny mewn egwyddorion Methodistaidd, ac yn gymharol ddyeithr i Annibyniaeth a'r Annibynwyr. Bu Mr. Gray yn foddion i gau allan Annibyniaeth o'r parthau hyn am byth, oddieithr i ryw Fethodist ddyfod yma ac ymddwyn at y Methodistiaid fel yr ymddygodd Mr. Gray at yr Annibynwyr.

Darfu i'r eglwys yn y Cilgwyn barhau mewn cysylltiad a'r enwad Annibynol, neu y Presbyteriaid, fel y gelwid hwy yn fynych yn y dyddiau hyny, am rai blynyddau ar ol marwolaeth Mr. Pugh, er nad oedd cydolygiad yn mysg yr aelodau ar rai o brif athrawiaethau crefydd. Ond yn y flwyddyn 1770, neu 1771, daeth Mr. David Lloyd, Llwynrhydowen, yr hwn oedd Ariad proffesedig, yno yn lled fynych fel cynorthwywr i'r gweinidog, Mr. Timothy Davies. Achlysurodd hyn gryn aflonyddwch yn yr eglwys, ac er rhagflaenu rhwygiad, addawodd Mr. Davies na chawsai Mr. Lloyd ddyfod yno mwyach, etto, trwy ddylanwad un o'r aelodau cyfoethocaf, yr hwn oedd yn berthynas agos i Mr. Lloyd, mynwyd ef yno yn fuan drachefn i bregethu ar y Sabboth cymundeb. Yr oedd Mr. Davies, fel y tybiwn, wedi marw erbyn hyn. Gwnaeth hyny y rhwyg yn anocheladwy. Ymadawodd deg-a-deugain o'r aelodau, ac ar ol bod am ychydig amser yn addoli mewn tai anedd yn y gymydogaeth, adeilad-

asant gapel bychan, yr hwn a enwasant yn Ebenezer, ac agorwyd ef tua diwedd y flwyddyn 1772. Yn fuan wedi hyny, rhoddasant alwad i Mr. Phillip Maurice, myfyriwr yn yr athrofa yn Abergavenny. Wedi gorphen ei amser yno, daeth atynt, ac urddwyd ef yma yn y flwyddyn 1775, ac yma y bu yn barchus a chymharol lwyddianus hyd derfyn ei oes yn y flwyddyn 1820. Yr oedd Ty'nygwndwn, mewn cysylltiad ag Ebenezer, dan ofal Mr. Maurice trwy holl dymor ei weinidogaeth. Yn Hydref, 1810, urddwyd Mr. John Maurice yn gynorthwywr i'w dad yn holl gylch ei weinidogaeth, ond cyn pen blwyddyn symudwyd y gwr ieuangc gobeithiol hwn trwy farwolaeth. Yn mhen ychydig wedi marwolaeth Mr. John Maurice, rhoddwyd galwad i Mr. James Phillips, o athrofa y Neuaddlwyd, i fod yn gynorthwywr i Mr. P. Maurice, ond ni bu ei arosiad ef yma ond ychydig. Derbyniodd alwad o Bethlehem, St. Clears, a symudodd yno yn 1814. Ni bu yma mwyach yr un cynorthwywr sefydlog i'r hen weinidog tra y bu ef byw. Yn nechreu y flwyddyn 1821, rhoddwyd galwad i Mr. Griffith Griffiths, o athrofa Neuaddlwyd, ac urddwyd ef yma Ebrill 5ed, yn y flwyddyn hono. Bu Mr. Griffiths yma yn llafurus a pharchus iawn hyd y flwyddyn 1837, pryd y symudodd i Casnewydd, Mynwy. Dilynwyd Mr. Griffiths yma am ychydig amser gan un Mr. Richard Owen, genedigol o sir Fon, ac urddwyd ef yma Awst 1af, 1837. Bu yma hyd ddiwedd 1841, pryd y barnodd fod ysgafnach gwaith a brasach porfa yn yr Eglwys Wladol nag yn mysg yr Ymneillduwyr, ac felly aeth i'r eglwys hono, lle y bu hyd ei farwolaeth. Yn niwedd y flwyddyn 1843, rhoddwyd galwad i Mr. David Stephens, aelod o eglwys Capel Isaac, ac urddwyd ef i fod yn weinidog yma, ac yn Llanfaircludogau. Cymerodd ei urddiad le Chwefror 21ain a'r 22ain, 1844, pryd y pregethwyd gan Meistri Griffiths, Horeb; Saunders, Aberystwyth; Thomas, Bwlchnewydd; Jones, Rhydybont; Williams, Llandeilo; Williams, Llangadog; Davies, Aberteifi, ac eraill, yn Ebenezer a Llanfair. Bu Mr. Stephens yma yn llwyddianus a pharchus gan fyd ac eglwys hyd 1852, pryd y symudodd i Glantaf, Morganwg, lle y bu farw. Dilynwyd Mr. Stephens yma ac yn Llanfair gan Mr. Thomas Thomas, y gweinidog presenol, yr hwn a ymsefydlodd yma yn fuan ar ol ymadawiad Mr. Stephens, ac y mae wedi llenwi ei le fel gweinidog defnyddiol a gwladwr parchus. Yr oedd Mr. Thomas wedi bod yn weinidog defnyddiol am tua phum' mlynedd yn Nebo a Hebron, sir Gaernarfon, cyn dyfod yma.

Ailadeiladwyd y capel yma yn nhymor gweinidogaeth Mr. R. Owen, ac yn mhen rhai blynyddoedd wedi sefydliad Mr. Thomas yma, rhoddwyd oriel ynddo, fel y mae yn awr yn gapel helaeth a chyfleus, ac yn cael ei lenwi a chynnulleidfa fywiog. Mae yma fynwent yn nglyn a'r capel, yn yr hon y gorwedda cyrph Meistri P. a J. Maurice. Yr oedd yr eglwys yma yn un o'r rhai cyntaf a fendithiwyd a'r diwygiad nerthol yn 1858, ac y mae yr Arglwydd yma yn ychwanegu beunydd at yr eglwys.

Nid ydym yn cael i neb godi i bregethu yma ond John Maurice, mab yr hen weinidog.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

**Gan mai Ebenezer, Ty'nygwndwn, a'r Neuaddlwyd, sydd yn bresenol yn cynrychioli golygiadau duwinyddol ac eglwysig gweinidogion cyntaf y Cilgwyn, Cae'ronen, a Chiliau Aeron, yma y rhoddwn eu bywgraphiadau.**

Rees Powell. Efe, fel yr ymddengys, oedd gweinidog cyntaf yr eglwys, neu yr eglwysi Ymneillduol yn y sir hon, ond fel y nodasom eisoes, methodd deimlo yn ddigon gwrol i wynebu yr erlidiau yr oedd yr Ymneillduwyr yn agored iddynt, ac felly yn fuan wedi cael ei droi allan gan Ddeddf Unffurfiaeth o Eglwys Blwyfol Llanbedr, efe a ddychwelodd i'r Eglwys Sefydledig. Nis gwyddom pa bryd na pha le y bu farw.

John Evans. Ganwyd ef yn rhywle yn y sir hon. Yr oedd yn pregethu yn Eglwys Blwyfol Bangor, rhwng Castellnewydd-Emlyn a Llandysil, pan ddaeth Deddf Unffurfiaeth i rym, a throwyd ef allan oddiyno gan y ddeddf hono. Yr oedd ef wedi bod yn ddyn ieuangc gwyllt iawn, ond cafodd ei ddychwelyd yn effeithiol at yr Arglwydd un prydnawn Sabboth wrth wrandaw pregeth, ar ol iddo fod trwy y boreu hwnw yn halogi dydd yr Arglwydd. Yn fuan ar ol ei droedigaeth ymgyflwynodd i waith y weinidogaeth. Bu am rai blynyddau cyn 1662 yn wasanaethgar iawn i'r gynnulleidfa Ymneillduol yn Nghellan, ac i gynnulleidfaoedd eraill, ond bu farw yn mhen ychydig amser ar ol cael ei droi allan o Bangor, yn Awst, 1662. Nis gwyddom yn mha le y claddwyd ef.

John Hanmer. Un genedigol o sir Faesyfed oedd ef. Bu yn amser y Werin-lywodraeth yn pregethu yn deithiol yn siroedd Maesyfed, Brycheiniog, ac Aberteifi. Ar ol y flwyddyn 1662, bu am rai blynyddau yn gwasanaethu yr eglwysi Ymneillduol yn Nghellan, Cilgwyn, a lleoedd eraill, ond pan boethodd yr erledigaeth, symudodd i'w sir enedigol, lle y terfynodd ei oes mewn henaint teg. Parhaodd i bregethu cyhyd ag y bu byw, cyn belled ag y goddefai amgylchiadau iddo wneyd. Nis gwyddom pa bryd y bu farw. Yr oedd yn fyw yn 1672, a bu am ychydig ddyddiau yn y flwyddyn hono yn cyd-deithio a Mr. Henry Maurice.*

David Jones. Yr ydym yn barnu ei fod ef yn frawd i Mr. John Jones, Llwynrhys, yn mhlwyf Llanbadarnodwyn. Derbyniwyd ef yn fyfyriwr i athrofa Christ Church, Rhydychain, Tachwedd 10fed, 1654. Dywedir ei fod yn ddyn dysgedig, ac yn bregethwr eglur a llwyddianus. Dywed Dr. Calomy, mai o Lanbadarnfawr y trowyd ef allan gan Ddeddf Unffurfiaeth yn 1662, ond yr ydym ni yn barnu mai Llanbadarnodwyn ydoedd, ac mai hwnw oedd ei blwyf genedigol. Yn Llwynrhys, yn y plwyf hwnw, yn benaf, y cyfarfyddai yr eglwys Ymneillduol yn amser yr erledigaeth, yr hon ar ol cael nawdd Deddf Goddefiad, a ymranodd i wahanol gynnulleidfaoedd, ac a adeiladodd addoldai yn Nghellan, y Cilgwyn, Llwynpiod, Crugymaen, Ciliau Aeron, Abermeurig, a Blaenpennal. David Jones oedd prif weinidog yr eglwys hon mor ddiweddar a'r flwyddyn 1694. Nis gwyddom pa cyhyd y bu byw ar ol hyny. O'r darfodedigaeth y bu farw.

Evan Hughes. Un genedigol o'r sir hon ydoedd. Trowyd ef allan o Landyfriog gan Ddeddf Unffurfiaeth. Yr oedd yn bregethwr eglur a dengar iawn, a bu ei weinidogaeth yn fendithiol i lawer. Cyfarfyddodd a llawer o dywydd garw, ac yr oedd yn dra isel yn ei amgylchiadau bydol, ond yr oedd yn foddlongar iawn, ac yn barchus o fewn holl gylch ei gydnabyddiaeth. Nis gwyddom pa bryd y bu farw. Yr oedd yn fyw ac yn henaduriad athrawiaethol yn yr eglwys Ymneillduol yn y sir hon yn 1694.

Morgan Howell. Yn mhlwyf y Bettwsbledrws, gerllaw Llanbedr, y ganwyd ac y treuliodd ef ei oes. Mae yn ymddangos ei fod uwchlaw y

* *Rees's History of Nonconformity in Wales.* Page 240.

cyffredin yn ei amgylchiadau bydol, ac ystyrid ef yn dipyn o fardd gan ei oes. Cymerodd ei droedigaeth le dan yr amgylchiadau rhyfedd a ganlyn:— Yn y flwyddyn 1654, yr oedd Walter Cradock wedi cael ei gyhoeddi i bregethu mewn rhyw fan, naill ai yn y Bettws neu Langybi, a chan y disgwylid mwy o dorf i'w wrandaw nag a gynwysai yr un Eglwys Blwyfol nac anedd-dy yn yr ardal, penderfynwyd iddo bregethu ar esgynlawr yn yr awyr agored. Gan na feiddid erlid yr un pregethwr trwy gyfraith y pryd hwnw, gwnelai gelynion crefydd bob peth a fedrent i aflonyddu yr addoliadau crefyddol. Y tro hwn, casglodd Morgan Howell haid o langciau annuwiol i fyned gydag ef i'r cae lle yr oedd Mr. Cradock i bregethu, i chwareu pel droed ar amser y gwasanaeth. Dechreuodd y pregethwr ar ei waith, a dechreuodd Morgan Howell a'i blaid ar eu gwaith hwythau. Wrth fyned a'r chwareu yn y blaen amcanodd un o'r chwareuwyr roddi troediad i'r bel i wyneb y pregethwr, ond yn lle taro y bel, tarawodd grymog ei gyfaill, Morgan Howell, nes tori un o esgyrn ei goes, yr hyn a'i hanalluogodd i wneyd dim yn ychwaneg gyda'r chwareu. Tra yn gorwedd ar y llawr, cyrhaeddodd llais a geiriau y pregethwr ei glust a'i galon, a thorwyd peth oedd galetach nag asgwrn ei goes, sef ei galon galed. O'r dydd hwnw allan bu yn ddyn crefyddol iawn, ac am lawer o flynyddoedd yn bregethwr defnyddiol. Ymunodd a'r eglwys Ymneillduol yn ardal y Cilgwyn yn Chwefror, 1655. Yr oedd yn fyw ac yn henaduriad athrawiaethol yn yr eglwys hono yn 1694. Mae yn debyg iddo farw yn lled fuan ar ol hyny.

David Edwards. Y cwbl a wyddom am dano ef ydyw, iddo gael ei urddo yn 1688, yn weinidog cynorthwyol yn Nghae'ronen, Cellan, a'r eglwysi eraill yn y cylch gweinidogaethol hwn, a'i fod yn y sefyllfa hono yn 1715. Darlunir ef fel ysgolhaig rhagorol a phregethwr da. Mae amser ei farwolaeth yn anhysbys i ni. Bu ei weddw, Jane Bowen o Hwlffordd, fyw lawer o flynyddau ar ei ol ef. Yn Nghaerfyrddin y bu hi farw.

Jenkin Jones. Yr oedd ef yn fab i John Jones, Llwynrhys, ac yn nai i David Jones, am yr hwn y crybwyllwyd eisioes. Yr oedd brawd iddo yn swyddog lled uchel yn y fyddin yn amser Gwilym III. Cyhoeddodd gyfrol yn yr iaith Saesonig o hanes bywyd y brenhin Gwilym yn 1702, a chyfieithiad o'r Frangaeg o waith Perzron ar hynafiaethau gwahanol genhedloedd. Derbyniwyd Jenkin Jones yn aelod eglwysig Ionawr 12fed, 1695, a bu farw yn 1725. Yn y rhan o'r gynnulleidfa a gyfarfyddai yn Nghrugymaen yr oedd ef yn gweinidogaethu yn benaf. Mae rhai wedi dyweyd mai yr un yw y Jenkin Jones hwn a Jenkin Jones, Llwyn-rhydowen, ond camgymeriad yw hyny.

David Jenkins. Urddwyd ef yn Mehefin, 1708, i fod yn weinidog yn benaf yn Crugymaen, ond i gymeryd ei ran yn holl gylch y weinidogaeth yn y Cilgwyn, Abermeurig, Ciliau Aeron, a lleoedd eraill. Mae yr achos Annibynol yn Crugymaen wedi darfod er's oesau, a'r Bedyddwyr wedi bod ar eu hol yno. Bu Mr. Jenkins yn myned yn fisol, neu fynychach, i Drelech am lawer o flynyddau, a bu am ryw ysbaid yn myned yn fisol i Gefnarthen. Bu fyw i henaint teg. Rhoddodd ei ddylanwad o du yr eglwysi Calfinaidd a ffurfiwyd yn Ebenezer, Ty'nygwndwn, a'r Neuaddlwyd pan dorasant eu cysylltiad a'r Cilgwyn a Chiliau Aeron. Yr oedd yn fyw yn 1775, ac yn y flwyddyn hono darlunir ef fel yn dal cysylltiad a'r Neuaddlwyd ac Ebenezer. Nis gwyddom pa cyhyd y bu fyw ar ol y flwyddyn hono.

PHILLIP PUGH. Yr oedd y gweinidog rhagorol hwn yn enedigol o gymydogaeth Llangybi, neu Landdewibrefi. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1679. Mae yn ymddangos fod ei rieni yn feddianol ar gryn lawer o gyfoeth. Derbyniodd ef ran o'i addysg yn athrofa enwog Mr. Samuel Jones, Brynllywarch. Urddwyd ef yn mis Hydref, 1709, i fod yn gyd-weinidog a'r Meistri David Edwards, Jenkin Jones, a David Jenkins, yn y Cilgwyn, Blaenpennal, Crugymaen, y Ciliau, a manau eraill, ac yn y cylch eang hwn y bu yn llafurio gyda pharch a llwyddiant mawr hyd derfyn ei oes. Er nad oedd ef ond un o bedwar o weinidogion yn y cylch gweinidogaethol hwn, darfu iddo, fel y dengys ei gofnodion yn llyfr eglwys y Cilgwyn, fed-yddio o fabanod o Rhagfyr, 1709, hyd Mawrth 20fed, 1760, chwe'-chant-a-phedwarugain, yr hyn a ddengys fod Ymneillduaeth yn rhyfeddol o gryf yn y parthau hyn o Gymru y pryd hwnw, yn enwedig pan y cymerir i ystyriaeth fod rhagfarn dirfawr yn erbyn bedyddio plant gan weinidogion Ymneillduol yn meddyliau y werin yn yr oes hono. Bu farw Gorphenaf 12fed, 1760, ac ar y 15fed o'r un mis, claddwyd ef yn mynwent Llanddewibrefi.

Mae yn ymddangos i Mr. Pugh fwy nag un-flynedd-ar-bymtheg cyn ei farwolaeth ei hun gael ei amddifadu o'i wraig a'i blant oll, canys yr ydym yn cael y sylwadau duwiol a ganlyn yn ei ddydd-lyfr, gyferbyn a Gorphenaf 13eg, 1744:—"Yr ydwyf heddyw yn edrych arnaf fy hun fel dyn unig, wedi cael fy ngadael yn yr anialwch wrthyf fy hunan. Mae fy nghyfeillion a'm perthynasau anwyl yn ol y cnawd wedi fy ngadael, a myned i ffordd yr holl ddaear o'm blaen. Yr ydym yn pechu bendithion penaf y byd hwn o'n meddiant yn fynych, ac yn eu gwneyd yn achos gofid trwy eu camddefnyddio. Pechais ymaith fy holl berthynasau anwyl a mwyaf hoffus genyf ar y ddaear. Nid oes genyf yn bresenol na thad na mam, na phriod nac un plentyn yn y byd hwn i lawenhau ynddynt, i obeithio am un cysur oddiwrthynt, nac i ofidio yn eu cylch. Y mae arnaf ofn, tra yr oeddwn yn meddu y rhai hyn oll, fy mod rywfodd wedi cam-ymddwyn tuag atynt, trwy osod fy meddwl yn ormod arnynt, neu dreulio gormod o'm hamser i ofalu am danynt hwy a'u hachosion, neu fod yn fwy pryderus yn eu cylch hwy nag am adnabod cariad fy Nuw yn Nghrist, ac am lwyddiant ei achos yn y byd. Ond er fod y diferion o gysuron oll wedi sychu i fyny, etto y mae ffynon fy nghysuron heb sychu i fyny na lleihau. Mae fy ngweddi atat ti, O Arglwydd, am i ti o'th drugaredd, trwy Iesu Grist, faddeu fy aml gamweddau a wnaethum o, a thuag at, fy mherthynasau ymadawedig; a'th fod, fy Nuw, yn fy ngwneyd yn fwy ffyddlawn mewn gwneyd a dyweyd drosot yn y byd, heb geisio rhyngu bodd dynion, nac ofni eu hanfoddlonrwydd ychwaith. Fy nymuniad a'm gweddi ydyw, na bydd genyf wrthrych ar y ddaear mwyach i osod fy meddwl arno ond fy Nuw, a'm Crist a'i bethau tragywyddol. Efe fyddo pob peth, yn mhob peth, ac yn lle pob peth er fy nedwyddwch a'm cysur; oblegid y mae efe ei hun yn holl-ddigonol i lenwi lle pob perthynas. Am hyny, bydded fy nghwbl o hono, a'm cwbl arno, a'm cwbl iddo, tra byddwyf byw yn y byd, ac yn dragywydd."

Yr oedd Mr. Pugh yn sefyll yn uchel yn ngolwg y wlad oherwydd ei fod yn berchenog amryw diroedd, ond ei dduwioldeb, a'i ddysg, a'i lafur dibaid a llwyddianus yn y weinidogaeth, oedd prif elfenau ei enwogrwydd. Yr oedd yn ddyn o ysbryd cyhoeddus iawn. Teithiai i bob parth o Gymru i gyfarfodydd gweinidogion, urddiadau, ac agoriad capeli, ac edrychid i

fyny ato yn mhob man fel un o ragorolion o ddaear. Rai blynyddau cyn ei farwolaeth ef yr oedd udgorn y weinidogaeth Ymneillduol yn llawer o bulpudau Cymru wedi myned i roddi sain anhynod, a'r athrawiaethau yr ymddibynai yr hen dadau Ymneillduol arnynt am eu bywyd, wedi myned i gael eu hameu, eu gwrthwynebu, a'u gwawdio gan lawer o bregethwyr ieuaingc, a ystyrient eu hunain yn philosophyddion llawer doethach na'u hynafiaid. Parai y gwyrad hwn oddiwrth yr hyn a ystyriai yn wirionedd hanfodol yr efengyl ofid calon i Mr. Pugh, fel y dengys y sylwadau canlynol a ysgrifenwyd ganddo yn ei ddydd-lyfr:—"1744. Yr wyf yn edrych arnaf fy hun yn y dyddiau hyn fel wedi fy ngadael ar fy mhen fy hun; canys y mae llawer o'm cyfeillion, y rhai yr hoffaswn eu cymdeithas yn fawr, wedi myned yn mhell i ochr y ddyfais newydd mewn crefydd, fel y gelwir hi, yr hon, yr wyf yn dra sicr yn fy meddwl, nad ydyw yn drefn Duw; oblegid y mae yn eglur i mi ei bod yn ddyfais sydd yn codi ac yn gosod dyn i fyny yn achubiaeth pechadur, yn lle golud gras fy Nuw. Ac nid wyf yn gweled fod neb o'i phleidwyr yn dangos y mesur lleiaf o nefolrwydd meddwl, a'r sobrwydd, y difrifoldeb, a'r symledd duwiol sydd yn gweddu i efengyl Crist, ond ymsuddant i ysbryd y byd hwn, ac i ysgafnder a dideimladrwydd calon tuag at ymarferiadau pwysicaf crefydd. Ie, y maent yn amcanu dymchwelyd ffydd yr efengyl trwy eu chwedlau cyfrwysgall."

Ar amser arall ysgrifena:—"Mae fy meddwl yn dra thrallodus a therfysglyd yn y dyddiau hyn, wrth glywed a deall am gyflym redіad Arminiaeth ac Ariaeth yn yr eglwysi, a'r cefnogrwydd y mae yr egwyddorion hyn yn gael oddiwrth y weinidogaeth yn mysg pobl fy ngofal. Y maent yn ymollwng dan ddylanwad y cyfryw egwyddorion i ysbryd deddfoldeb, a difaterwch o bethau pwysicaf crefydd, nes y maent yn colli pob teimlad dyladwy i'r efengyl, a phob tuedd at ymdrech i fywyd duwiol a defnyddiol. Yn yr amgylchiad gofidus, nis gwn pa beth a wnaf, na pha fodd y mae i mi ymddwyn. A pha beth fydd diwedd y pethau hyn? O Arglwydd, atat ti y mae fy ngolwg, ac ynot ti yr ymddiriedaf; na'm gwaradwydder mewn dim. Cyfarwydda di fy ngherddediad, a threfna fy holl ffyrdd, a gwneler pob peth yn y fath fodd ag a fyddo fwyaf er dy ogoniant dy hun, a deued yr hyn a ddel o honof fi. Na âd i mi wyro o'th ffyrdd di mewn byrbwylldra, anwybodaeth, ac annoethineb, na llwfrhau mewn digalondid."

Y canlyniad o'r cymysgedd hwn mewn golygiadau, y teimlai yr hybarch weinidog gymaint o'i herwydd, fu i dair o'i gynnulleidfaoedd, yn fuan wedi ei farwolaeth, fyned yn Ariaid, sef Cae'ronen, y Cilgwyn, a Chiliau Aeron, ond y mae Ebenezer, Ty'nygwndwn, a'r Neuaddlwyd, a'u cangenau, yn yr ardaloedd hyny, etto yn dal at olygiadau efengylaidd Mr. Pugh a'i ragflaenoriaid yn y weinidogaeth. Yn Mlaengwern, yn mhlwyf Llanfairclydogau, y treuliodd Mr. Pugh weddill ei oes, os nad yno y bu trwy ei oes. Nid oedd un gweinidog yn Nghymru yn ei oes ef yn fwy ei ddylanwad a'i ddefnyddioldeb na'r gwr rhagorol hwn. Bu yr offeiriad ieuangc, Daniel Rowlands, Llangeitho, dan lawer o rwymedigaeth iddo am ei gynghorion a'i gyfarwyddiadau iddo ar gychwyniad ei fywyd cyhoeddus, ac yr oedd Mr. Rowlands yn cydnabod hyny trwy ei oes.

Evan Davies. Urddwyd ef yn gynorthwywr i Mr. Phillip Pugh i weinidogaethu yn y Cilgwyn a'r lleoedd eraill. Ebrill 13eg, 1726, yr urddwyd ef, ac yr oedd y pryd hwnw yn haner cant oed. Mae yn

debygol ei fod yn bregethwr cynorthwyol flynyddau lawer cyn hyny. Bu farw Rhagfyr 10fed, 1747, yn 71 oed.

TIMOTHY DAVIES. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1709. Nid ydym yn gwybod pa un a gafodd addysg athrofaol ai naddo. Brawd iddo ef oedd Mr. Evan Davies, gynt athraw yr athrofa yn Nghaerfyrddin, ond yr oedd bymtheg o flwyddi yn hŷn nag ef. Dechreuodd bregethu yn 1733, ac urddwyd ef yn gynorthwywr i Mr. Phillip Pugh, Mai 26ain, 1737. Priodwyd ef yn Eglwys Blwyfol Llangeitho gan Mr. John Rowlands, person y plwyf, Mehefin 19eg, 1740. Merch Blaenau, Cellan, oedd ei wraig. Bu iddynt deulu lluosog. Yr oedd y diweddar Dr. Evan Davies, Abertawy, yn un o'i hiliogaeth. Bu farw Mai 29ain 1771, yn driugain-a-dwy flwydd oed. Tuag amser ei farwolaeth ef y cymerodd yr ymraniad le yn y Cilgwyn, ac y dechreuwyd yr achos yn Ebenezer. Mae dydd-lyfr Mr. Davies, yn ei lawysgrifen ef ei hun, yn ein meddiant, i'r hwn yr ydym yn ddyledus am amryw ddyddiadau a ffeithiau pwysig.

JAMES DAVIES. Efe oedd tad Meistri Evan Davies, Llanedi, a Daniel Davies, gynt o'r Ynysgau, Merthyr Tydfil. Urddwyd ef yn Crofft-y-cyff, ac Owen Davies, wedi hyn o Drelech, yr un diwrnod, Hydref 7fed, 1743, i fod yn gynorthwywr i Mr. Pugh, a'i gydweinidogion, yn Abermeurig, a manau eraill, a bu hefyd am ryw ysbaid yn weinidog cynorthwyol yn Mhencadair. Yn Mhlas Cilcenin y treuliodd weddill ei oes, ac yno y bu farw, ond nis gwyddom pa flwyddyn. Claddwyd ef yn mynwent Cilcenin.

PHILLIP MAURICE. Un genedigol o ardal Glandwr, sir Benfro, oedd ef. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1739. Derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Glandwr, ac wedi iddo fod yn bregethwr cynorthwyol yno am rai blynyddau, yn niwedd y flwyddyn 1770, cymeradwywyd ef fel myfyriwr i athrofa Abergavenny. Derbyniwyd ef i'r athrofa yn Ionawr, 1771. Ar derfyniad ei amser yno, derbyniodd alwad oddiwrth yr eglwysi yn Ebenezer a Thy'n-ygwndwn, ac urddwyd ef yn weinidog iddynt yn 1775, ac yno y bu yn barchus a defnyddiol hyd derfyn ei oes. Bu farw Tachwedd 30ain, 1820, yn 81 oed, a chladdwyd ef wrth gapel Ebenezer, lle yr oedd ei wraig wedi cael ei chladdu ddwy flynedd cyn hyny. Pregethodd Dr. Phillips, Neuaddlwyd, yn ei angladd oddiar Actau viii. 2. Y testyn olaf y pregethodd Mr. Maurice arno ydoedd Psalm xxxvii. 25.

Nid oedd Mr. Phillip Maurice yn bregethwr mawr a phoblogaidd, ond yr oedd yn esboniwr rhagorol, a'r rhai a arferent ei wrandaw yn ei werthfawrogi yn fawr, oblegid y buasai yn anhawdd ei wrandaw un amser heb gael goleuni ar ryw ran o'r ysgrythyr ganddo. Cyfrifid ef gan bawb o'i gydnabod yn ddyn da a duwiol iawn.

JOHN MAURICE. Mab Phillip Maurice. Ganwyd ef Ebrill 24ain, 1787. Pan yn bymtheng mlwydd oed, derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Ebenezer, ac yn fuan wedi hyny dechreuodd bregethu. Derbyniwyd ef yn fyfyriwr i athrofa Caerfyrddin, lle yr amlygodd alluoedd meddyliol nodedig, ac yr enwogodd ei hun fel myfyriwr diwyd. Cyn gorphen ei amser yno, dewiswyd ef gan ei athraw, Mr. Peter, i fod yn is-athraw yn yr ysgol ramadegol a gedwid ganddo ef yn gysylltiedig a'r athrofa. Ar derfyniad tymor ei efrydiaeth yn yr athrofa, aeth i'r Sarnau a Domgay, yn sir Drefaldwyn, lle y bu yn pregethu ar brawf am rai misoedd. Cafodd

alwad unfrydol oddiwrth yr eglwysi hyny i sefydlu yn eu plith, ond gwrthododd gydsynio. Dewisodd yn hytrach dderbyn galwad i fod yn gynorthwywr i'w dad, ac i fod yn un o'r athrawon yn yr athrofa oedd ar gael ei sefydlu yn y Neuaddlwyd. Urddwyd ef Hydref 3ydd, 1810, ac agorwyd yr athrofa yn y Neuaddlwyd y dydd canlynol. Ond byr iawn fu ei dymor ef fel gweinidog ac athraw. Ebrill 17eg, 1811, aeth adref o'r athrofa yn glaf, ac ar y 24ain o'r un mis bu farw. Y darfodedigaeth oedd ei glefyd.

Yr oedd John Maurice yn ddyn ieuangc addawus iawn. Rhagorai fel ysgolhaig, ac yr oedd ei wylder a'i fwyneidd-dra yn ei wneyd yn anwyl gan bawb a'i hadwaenai. Yr oedd yn bregethwr adeiladol iawn, ond lled anystwyth ei draddodiad. Mae yn ymddang os pe cawsai fyw y buasai yn troi allan yn un o'r athrawon effeithiolaf yn y Dywysogaeth, ond ewyllys yr Arglwydd oedd i'r blodeuyn wywo gyda bod ei flagur yn dechreu ymddangos.

Yr ydym yn y cofnodion uchod wedi rhoddi cymaint o hanes a allasom gasglu am bob gweinidog fu yn llafurio yn y cylch hwn, oddiar ffurfiad yr eglwys Ymneillduol gyntaf yma hyd yn bresenol, oddieithr Meistri G. Griffiths a D. Stephens. Y mae cofnodion am danynt hwy i'w cael yn nglyn a Mynyddsïon, Casnewydd, ac Ebenezer, Glantaf; ac nid yw yn perthyn i ni, yn hanes eglwysi Annibynol, roddi hanes gweinidogion Ariaidd ac Undodaidd fuont yn Cae'ronen, y Cilgwyn, a'r Ciliau, wedi i'r Annibynwyr ymneillduo o'r lleoedd hyny.

## CAPEL MAIR, LLANFAIRCLUDOGAU.

Nid peth diweddar yw Ymneillduaeth yn y plwyf hwn. Yr oedd cynnulleidfaoedd lluosog yn Cae'ronen, ar y naill derfyn i'r plwyf, ac yn y Cilgwyn, ar y terfyn arall, dan ofal Mr. Phillip Pugh, a'i ragflaenafiaid, er amser Siarl II., a chyn hyny, ac yr oedd trigolion plwyf Llanfair, o angenrheidrwydd, yn gwneyd i fyny ran helaeth o'r cynnulleidfaoedd hyny. Yn Mlaenywern, yn y plwyf hwn, y treuliodd Mr. Phillip Pugh y rhan fwyaf o'i oes, ac nis gallasai gwr o'i dduwioldeb a'i ddylanwad ef, lai na dylanwadu yn ffafriol ar lawer o'i gymydogion. Wedi marwolaeth Mr. Pugh, ac ymdaeniad Ariaeth yn Nghae'ronen a'r Cilgwyn, nid ymddengys fod ond nifer fechan o Ymneillduwyr o syniadau efengylaidd i'w cael yma, ond yr oedd yma rai, a bu llaw ganddynt yn ffurfiad yr eglwys yn Ebenezer yn 1772. Yr hanes cyntaf sydd genym am adfywiad Ymneillduaeth efengylaidd yma, yw agoriad yr amaethdy a elwir Pentre', Llanfair, i bregethu yn achlysurol ynddo, tua'r flwyddyn 1790. David John Morgan oedd yn cyfaneddu yno y pryd hwnw, ac yr oedd Sarah ei wraig yn un o aelodau ffyddlonaf Ebenezer. Y gweinidogion a'r pregethwyr a ddeuent fynychaf yr amser hwnw i bregethu yma, oeddynt David Morgan, Esgairdawe; Phillip Maurice, Ebenezer; John Mathew Rhydderch, tad y diweddar Mr. Daniel Jones, Aber, Brycheiniog, a Thomas Griffiths, Ty'nycoed, Cellan. Yr oedd y ddau olaf yn aelodau ac yn bregethwyr cynorthwyol parchus yn Ffaldybrenin. Yn y flwyddyn 1799, bu farw Sarah Morgan o'r Pentre', a'r pryd hwnw rhoddwyd i fyny bregethu yno hyd y flwyddyn 1806, pryd y daeth ei mab, John David Morgan, a Rachel

gefais fy niogelu." Ni wybyddir hyd ddydd datguddiad y dirgelion oll y gwasanaeth dirfawr a wnaeth Mr. Shadrach i'r efengyl yn ystod y pedair neu y pum' mlynedd y llafuriodd ar y maes eang hwnw.

Symudodd i Dalybont yn mis Tachwedd, 1806, ac nid rhaid i ni ail adrodd yma, yr hyn a ddywedasom eisioes, am ei lafur dirfawr yn ystod y pedair-blynedd-ar-ddeg y bu yno, ac heblaw ei lafur yn y weinidogaeth, cyfansoddodd yn y tymor yma amryw lyfrau, a theithiai oddicartref i'w gwerthu, ac oni buasai hyny nis gallasai gynal ei hun a'i deulu. Dwy bunt y chwarter oedd y cyflog a ymrwymid iddo gan eglwys Talybont yn ei alwad, ond addawid y codid i dair punt y chwarter os casglai i dalu dyled y capel. Ac yn ychwanegol at hyny derbyniai o saith-swllt-ar-hugain i bymtheg-swllt-ar-hugain y chwarter o Lanbadarn, yn ol fel y byddai y casgliad, ond derbyniai hefyd lawer o garedigrwydd mewn rhoddion gan bobl ei ofal yn Llanbadarn a Thalybont, yr hyn oedd yn ateb yr un pwrpas iddo ef wrth ddwyn ei deulu i fyny a phe cawsai eu gwerth mewn arian. Ymroddodd yn egniol, ac yn ngwyneb llawer iawn o ddigalondid i godi achos yn Aberystwyth, a theithiodd lawer yn agos ac yn mhell i dalu dyled y capel a gododd yno. Amheuai llawer ddoethineb ei waith yn rhoddi Talybont a Llanbadarn i fyny gan gymeryd at godi achos yn Aberystwyth, ond y mae yn sicr fod ganddo ef resymau boddhaol iddo ei hun dros wneyd fel y gwnaeth, ond y mae un peth yn sicr, nad awydd am hunanesmwythfyd a'i cymhellodd i wneyd fel y gwnaeth. Yr oedd yr achos yn Nhalybont erbyn hyn wedi dyfod yn gymharol gryf, fel y gallasai i raddau orphwys oddiwrth lafur caled, i fwynhau ffrwyth ei ymdrechion blaenorol, ond dewisodd ef yn hytrach ymdaflu i'r ymdrech o godi achos yn Aberystwyth ac ymdrech galed a fu hyd derfyn ei weinidogaeth yn y lle. Prinhai arno ei hun wrth gasglu at y capel, fel mai o'r braidd y cymerai yr hyn oedd yn angenrheidiol arno. Mae yn sicr i'w orlafur effeithio ar ei nerth a'i iechyd fel y dadfeiliodd ac y gwanychodd ei gyfansoddiad yn gynt nag y buasid yn disgwyl. Er nad oedd ond bychan o gorpholaeth, etto yr oedd o wneuthuriad cryf a chadarn, a'i lais yn uchel a nerthol, etto trwy orlafur am ddeugain mlynedd yr oedd cyn ei fod yn driugain oed yn teimlo oddi wrth ddadfeiliad yn ei gyfansoddiad, fel y barnodd y dylasai ymryddhau o'i ofal gweinidogaethol, yr hyn a wnaeth yn agos i ddeng mlynedd cyn ei farwolaeth, ond parhaodd i bregethu yn achlysurol hyd ei ddiwedd, ond yr oedd yn gwanychu yn raddol, a bu farw Ionawr 18fed, 1844, yn 70 oed.

Ni chaniata ein terfynau i ni helaethu ond ychydig ar ei gymeriad personol a chyhoeddus. Cydnabyddir gan y rhai a'i hadwaenent oreu ei fod yn ddyn gwir grefyddol. Nid oedd mwy nag eraill yn berffaith, ac yn nechreuad ei oes, trwy ei anwyliadwriaeth, tynodd arno ei hun ofid chwerw, ond ni pharodd dim a ddigwyddodd i neb amheu ei dduwioldeb. Yr oedd yn dra chydwybodol yn mhob peth, ac yn gwbl ymroddedig i wasanaeth ei feistr, ac am bob peth yr ymaflai ynddo gwnai ef a'i holl egni. Yr oedd yn ddoniol a phoblogaidd fel pregethwr. Nid ystyrid ef yn bregethwr mawr. Nis gwyddom paham ychwaith, os nad am y rheswm nad oedd byth yn myned yn ddwfn, gan ymgladdu o olwg ei wrandawyr. Yr oedd ei bregethau yn syml ac ysgrythyrol, ac yn wastad yn cynwys mêr yr efengyl, a thraddodai hwy yn fywiog a thanllyd. Yr oedd yn bur Galfinaidd ei olygiadau, ac nid oedd dim cydymdeimlad rhyngddo a golygiadau Andrew Fuller a Dr. Williams, a'u dilynwyr yn Nghymru, a dichon

fod a wnelai hyny lawer a gwaith rhyw rai yn ceisio ei fychanu. Cyhoeddodd lawer o lyfrau yn ei oes. Dechreuodd ar hyny yn ieuangc, a pharhaodd i wneyd hyny hyd ei hen ddyddiau. Dyma y rhestr gyflawnaf a welsom ni o'r llyfrau a gyhoeddwyd ganddo, er na welsom ond ychydig o'r llyfrau sydd yn y rhestr. *Allwedd Myfyrdod.* Dyma y cyntaf a gyhoeddodd. Daeth allan yn 1801. *Gweledigaeth y march coch; Drws i'r meddwl segur i fyned i mewn i weithio i winllan y perlysiau.* Daeth y ddau hyn allan cyn pen tair blynedd wedi y cyntaf. *A Looking glass* neu *Ddrych y gwrthgiliwr.* Daeth hwn allan yn 1807. Hwn a gyfrifir y goreu o'r holl lyfrau a ysgrifenodd, ac y mae yn ddrych cywir i weled y gwrthgiliwr ynddo. Mae yn hawdd deall arno ei fod yn ffrwyth profiad un a wyddai beth oedd cilio oddiar ol yr Arglwydd. Cyfieithwyd hwn i'r Saesneg, a chyhoeddwyd ef wedi marwolaeth yr awdwr. *Perlau Calfaria.* Ceir yn hwn grynhodeb o brif wirioneddau yr efengyl. *Cloriannau aur*, mewn ffurf o ymddiddan rhwng Paul a Silas. *Blodau Paradwys; Trysorau'r Groes; Goleuni Caersalem.* Daeth y tri hyn allan yn y blynyddoedd o 1810 i 1812. *Rhosyn Saron; Udgorn y Jubili.* Daeth y cyntaf allan yn 1816, ac fe ymddengys ei fod wedi ei fwriadu i wrthweithio golygiadau Andrew Fuller, y rhai oedd yn peri cyffroad yn y dyddiau hyny. *Cerbyd Aur.* Daeth hwn allan yn 1820, ac aeth trwy dri argraffiad. Ceir ynddo ffurfiau o bregethau ar ugeiniau o adnodau. *Darn o Bomgranad*; *Modrwyau aur; Boglynau arian; Maes Boaz; Gwisgoedd y Cysegr*; *Mor Tawdd*; *Tabernacl Newydd.* Cyhoeddwyd y rhai hyn rywbryd o'r flwyddyn 1827 yn mlaen. Mae yr olaf a enwyd yn cynwys brasluniau o ganoedd o bregethau, a dywedir y byddai llawer o ddefnyddio arnynt gan bregethwyr ieuaingc y dyddiau gynt. *Dyfroedd Siloam; Gwallt Samson yn cael ei dori*; *Cangen o rawn Camphir; Myrr dyferol; Tlysau aur*; *Blodau y ffigysbren.* Gwnaeth y rhai uchod oll eu hymddangosiad cyn y flwyddyn 1837. Y llyfr diweddaf a gyhoeddwyd ganddo oedd *Cerbyd o goed Libanus*, yr hwn a ddaeth allan yn 1840. Byddai rhai o'i gyfeillion yn ei gellwair wedi ymddangosiad hwnw, ei fod yn myned yn ol yn y byd at ddiwedd ei oes, oblegid iddynt unwaith ei weled yn dyfod heibio yn ei *gerbyd aur*, ond ei fod wedi disgyn i *gerbyd o goed.* Mae ei lyfrau oll yn dwyn llawer o debygolrwydd. Math o fraslinelliad o bregethau ar wahanol adnodau ydynt gan mwyaf, ac y mae hymnau lawer yn eu britho i gyd, ac y maent i gyd yn dwyn enwau allegawl. Dichon fod hyn yn creu rhagfarn yn eu herbyn yn ngolwg rhai personau, ond gyda'r lluaws dyna un elfen oedd yn eu poblogrwydd. Y maent i gyd yn syml a dealladwy, ac o duedd iachus a chrefyddol, fel nas gallant lai na gadael argraff dda ar feddwl y neb a'u darlleno yn ddiragfarn.

Cymerasom y rhan fwyaf o ddefnyddiau y cofnodion hyn o ysgrifau o eiddo Mr. Josiah Jones, Machynlleth, ar fywyd a gweithiau Azariah Shadrach, y rhai a gyhoeddwyd gyntaf yn y *Beirniad*, ac wedi hyny a gorphorwyd yn llyfr, ac nis gallwn wneyd yn well na therfynu gyda'r difyniad a ganlyn o'r ysgrifau rhagorol hyny :—

"Yn awr, dyna'r cyfan sydd genym i'w ddyweyd am Azariah Shadrach, ei fywyd a'i weithiau. Ac o ddifrif ddarllenydd, onid dyn hynod ydoedd? A'i teg oedd iddo gael ei anghofio cyhyd? Nage, nid teg. Afresymol hefyd ydyw ymddygiad y bobl sydd wedi bod yn siarad yn ddiystyrllyd

am dano. Gwir fod teitlau rhai o'i lyfrau yn troseddu yn erbyn chwaeth dda, er eu bod yn swynol i ddarllenwyr ei oes ef; gwir hefyd ddarfod iddo ysgrifenu gormod o lyfrau iddynt *i gyd* allu bod yn dda, a gwir yn mhellach, fod ei olygiadau ar rai pyngciau yn rhy uchel-Galfinaidd o lawer i fod yn dderbyniol yn ngwyneb safon mwy cymharol yr oes hon; er hyn i gyd, y mae yn deilwng o gael ei gofio yn barchus genym. Heblaw ei lafur gweinidogaethol, gallwn feddwl, a barnu yn o gymhedrol, ddarfod iddo werthu yn ei ddydd o leiaf *driugain mil* o gopïau o'i lyfrau, ac y mae llawer o honynt etto yn parhau yn farchnadol. Diau gan hyny, ei fod wedi dylanwadu yn ei gylch priodol ef, yn o fawr ar ei oes. Ie, 'y mae efe wedi marw yn llefaru etto.' Barned y darllenydd, ynte, ai priodol oedd i goffadwriaeth Azariah Shadrech gael ei anghofio."

John Saunders. Ganwyd ef mewn amaethdy yn agos i Gapelnoni, sir Gaerfyrddin, yn 1796. Derbyniodd addysg dda pan yn blentyn, a bu wedi hyny dan ofal yr athraw hyglod D. Davies, Castellhywel, lle y gwreiddiwyd ef yn dda. Derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Nghapelnoni, ac yno y dechreuodd bregethu. Aeth i'r athrofa Bresbyteraidd yn Nghaerfyrddin, ac ar orpheniad tymor ei efrydiaeth, derbyniodd alwad o Mynydd Buckley, sir Flint, ac urddwyd ef yno Mawrth 14eg, 1821. Llafuriodd yno bymtheng mlynedd, nes y symudodd i Aberystwyth i fod yn olynydd i Mr. Shadrach. Yr oedd Mr. Saunders yn ddyn synwyrol a deallgar, wedi derbyn addysg dda, ac yn foneddigaidd yn ei foes a'i ymddygiad. Yr oedd yn gyfarwydd iawn yn holl symudiadau gwleidyddol ei oes, ac yn rhyddfrydwr goleuedig. Dichon nad oes neb yn fyw yn Nghymru, ac na bu neb yn yr oes ddiweddaf, oedd yn well engraifft o'r hyn oedd hen weinidogion Annibynol Cymru na Mr. Saunders. Yr oedd yn barchus gan holl bobl ei ofal, ac edrychid i fyny ato gan ei holl gyddrefwyr fel gwr urddasol, ac nid oedd yr un gweinidog Ymneillduol yn y sir ag yr oedd gan foneddigion y wlad fwy o olwg arno. Er ei fod yn bur a sylweddol fel pregethwr, nid oedd dim yn gyffrous na phoblogaidd yn ei ddawn, ac yr oedd yn ddiffygiol o'r ysbryd cyhoedd sydd yn ofynol er ymosod ac ennill tir gyda chrefydd. Yr oedd yn ddyn pur a rhinweddol, yn gymeriad heb un brycheuyn arno, yn meddu ar deimladau hynaws a thyner, fel na fynai er dim wneyd gofid i neb. Perchid ef yn fawr gan ei frodyr yn y weinidogaeth, ac yr oedd yn wastad yn ffyddlon fel aelod o gyfundeb y sir. Ychydig a deithiodd erioed y tu allan i gylch ei sir; ac yn y blynyddoedd diweddaf yr oedd yn methu dilyn cyfarfodydd y sir i'r cyrau pellaf. Ni bu erioed yn briod, fel nad oedd iddo berthynas agos i deimlo colled ar ei ol. Gwaelodd ei iechyd i raddau yn ei fisoedd olaf, ond ni siglwyd ei hyder yn yr hen wirioneddau y rhai trwy ei oes a bregethodd. Bu farw Ebrill 27ain, 1871, yn 75 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Llanllwni, ei blwyf genedigol.

## CAPEL SAESNAEG ABERYSTWYTH.

Arferid yma am lawer o flynyddoedd i gynal gwasanaeth Saesonig yn yr haf, yn benaf er mwyn cyfleustra yr ymwelwyr a'r lle, ond teimlid anfantais fawr oblegid fod yn rhaid cynal y moddion yn y capel Cymraeg. Penderfynwyd o'r diwedd adeiladu capel Saesnaeg, a sicrhawyd tir yn Portland-street, yr hwn a gostiodd 325p. Adeiladwyd yma gapel hardd,

gwerth 2,550p, ac agorwyd ef Gorphenaf 27ain, 1866, pryd y gweinyddwyd ar yr achlysur gan Mr. Newman Hall, Ll.B., Llundain, a Proff. Morris, Aberhonddu. Ffurfiwyd yma eglwys o un-ar-bymtheg o bersonau y rhai a ollyngwyd gyda llythyr o'r capel Cymreig. Wedi bod am ddwy flynedd yn dibynu ar weinidogaeth achlysurol, a chynorthwy Mr. Saunders, rhoddwyd galwad i Mr. Arthur Griffith, B.A., Ll B., myfyriwr o athrofa Spring Hill, Birmingham, a dechreuodd ei weinidogaeth yma y Sabboth cyntaf yn Tachwedd, 1868. Bu Mr. Griffith yma hyd mis Medi, 1871, pryd y derbyniodd alwad o gapel Bishopsgate, Llundain. Yn yr ysbaid y bu ef yma tynwyd y ddyled i lawr i 700p., ac wedi ei ymadawiad gwnaeth yr eglwys ymdrech derfynol i lwyr ddileu y ddyled, ac yr oedd wedi ei chwbl dalu cyn diwedd 1872. Yn Ionawr, 1873, rhoddwyd galwad unfrydol i Mr. Thomas Arthur Penry, myfyriwr o athrofa Annibynol swydd Lancaster. Dechreuodd ei lafur yma Gorphenaf 13eg, 1873, a chynhaliwyd cyfarfodydd ei urddiad Ionawr 14eg, 1874, pryd y llywyddid gan Mr. J. Miles, gweinidog yr eglwys Gymreig yn y dref; traethwyd ar natur eglwys gan Proff. Morgan, Caerfyrddin; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Proff. Scott, B.A., Ll.B., Manchester, ac i'r eglwys gan Dr. Rees, Abertawy; ac y mae Mr. Penry yn argoeli bod yn ddefnyddiol a llwyddianus yma.

## PENRHIWGALED.

Yr oedd amryw Ymneillduwyr, a rhai o honynt yn ddynion o ddylanwad a safle uchel mewn cymdeithas, yn Llanarth a'r plwyfydd cylchynol yn amser Siarl II. Un o'r cyfryw oedd Thomas David Rees o Foyddyn. Yr oedd ef yn dirfeddianwr ac yn bregethwr lled boblogaidd. Byddai ef, ac eraill o'r ardaloedd hyn, yn myned i Landysul i addoli gyda'r gynnulleidfa oedd yno dan ofal Mr. Stephen Hughes, ac y mae yn dra sicr fod Mr. Hughes yn dyfod atynt hwy yn achlysurol i bregethu yn eu hanedd-dai. Mae genym hanes i T. D. Rees anfoddloni wrth Mr. Stephen Hughes oherwydd ei fod yn myned i'r Llan yn Llandysul ar amser y gwasanaeth, a chadw ei bobl ei hun i aros nes y buasai y gwasanaeth plwyfol drosodd cyn dechreu eu haddoliad cyhoeddus. Byddai Mr. Hughes yn arfer gwneyd hyn yn y gwahanol ardaloedd yr elai iddynt er mwyn dofi cynddaredd yr offeiriaid yn erbyn yr Ymneillduwyr. Nid ystyriai T. D. Rees, ac eraill o aelodau eglwysi Mr Hughes hyny yn iawn, ac am nad addawai ef beidio gwneyd felly rhagllaw, ymadawodd Mr. Rees ag ef, ac yn fuan ymunodd a'r Bedyddwyr, a chyda hwy y bu hyd derfyn ei oes. Tua y flwyddyn 1668 yr ymadawodd ef a'r Annibynwyr. Ond wedi iddo fyned yn Fedyddiwr parhaodd i gydaddoli a'i hen frodyr, a phregethu yn fynych iddynt trwy holl dymor yr erledigaeth. Mae yn ymddangos i ryw nifer o Ymneillduwyr, cynwysedig o Annibynwyr a Bedyddwyr, fod yn cynal addoliad cyhoeddus yn Sinoduchaf, yn mhlwyf Llanarth, ac Arthach, yn mhlwyf Llangranog, ac o bosibl, mewn manau eraill yn y parthau hyn, o amser Siarl II. hyd y flwyddyn 1778, pryd y penderfynasant adeiladu capel Llwyndafydd, yn mhlwyf Llandysuliogogo. Yr oedd y gynnulleidfa yn dal croesolygiadau ar yr ordinhad o fedydd, ac felly ni buont yn hir yn eu haddoldy newydd cyn iddynt fyned i ddadleu yn rhy boeth ar y pwngc i allu cydaddoli yno. Mr. B. Evans, Drewen, oedd yn dyfod i weini yr ordinhadau i'r rhan Annibynol o'r gynnulleidfa, a phan welodd ef fod

dadl bedydd yn eu gwneyd yn anghysurus, cynghorodd yr Annibynwyr i adael y capel i'r Bedyddwyr, ac adeiladu capel iddynt eu hunain. Yn y flwyddyn 1781, cafwyd darn o dir gan D. Evans, Ysw., Penrhiwgaled, yn mhlwyf Cydblwyf, i adeiladu addoldy, ac felly y gwnaed. Yr oedd yma nifer fechan o ddynion selog yn cychwyn yr achos, ac ni bu yn hir cyn dyfod yn achos cryf a llewyrchus iawn. Mr. Evans, Drewen, fu y gweinidog yma o sefydliad yr achos hyd y flwyddyn 1818, pryd yr urddwyd Mr. Daniel Thomas yma. Ond bu Mr. Evans yn cael ei gynorthwyo am fwy nag ugain mlynedd gan Dr. Phillips, Neuaddlwyd, yr hwn a bregethai yma un Sabboth o bob mis. Bu Mr. Griffiths, Hawen, yn cynorthwyo yma hefyd am rai blynyddau. Wedi i Mr. Evans heneiddio, ac i faesydd llafur Dr Phillips a Mr. Griffiths fyned yn rhy eang iddynt allu hebgor amser i ddyfod yma, ac eglwys Penrhiwgaled, a'r gangen yn Nghapel-y-wig bellach wedi dyfod yn llawn ddigon galluog i gynal gweinidog iddynt eu hunain, penderfynasant roddi galwad i Mr. Daniel Thomas, myfyriwr yn athrofa y Neuaddlwyd. Urddwyd ef Mawrth 25ain a'r 26ain, 1818. cynaliwyd cyfarfod prydnawn y dydd cyntaf yn Nghapel-y-wig, lle y dechreuwyd y gwasanaeth gan Mr. James Phillips, Bethlehem, ac y pregethodd Meistri J. Rowlands, Llanybri, oddiwrth 2 Tim. iii 5, a W. Griffiths, Glandwr, oddiwrth Luc xv. 2. Yn yr hwyr pregethodd Mr. D. Davies, Pantteg, yn Mhenrhiwgaled. Boreu dranoeth, yn yr un lle, dechreuwyd trwy weddi gan Mr. T. Griffiths, Hawen; traddodwyd y gynaraeth gan Mr. J. Griffiths, Tyddewi; holwyd y gofyniadau arferol, a gweddiwyd yr urdd-weddi gan Dr. Phillips, Neuaddlwyd; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. M. Jones, Trelech, oddiwrth 1 Tim. iv. 16, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. A. Shadrach, Aberystwyth, oddiwrth 1 Tim. v. 17. Profodd Mr. Thomas yn ddioed mai y dyn iawn yn y lle iawn oedd ef yma. Cynyddodd y cynnulleidfaoedd yma ac yn Nghapel-y-wig o flwyddyn i flwyddyn. Yr ydym yn barnu i'r capel gael ei helaethu ar ryw adeg rhwng 1781 ac 1828, pryd yr ail adeiladwyd ef. Yn yr un flwyddyn ag y cafodd ei ail adeiladu, cyfodwyd capel Maenygroes, a ffurfiwyd yno gangen luosog o'r fam eglwys. Cyn hyny, sef yn 1821, yr oedd tua haner cant o aelodau Penrhiwgaled wedi cael gollyngdod i fyned i ddechreu yr achos yn Pisgah, a thua yr un amser yr oedd cangen arall o'r Neuaddlwyd oddeutu cael ei ffurfio yn Penycae, Llanarth, ac amryw o aelodau Penrhiwgaled wedi ymuno yno, ac yn mhen blynyddau wedi hyny ffurfiwyd cangen y Wern. Felly y mae yr hen gwch toreithiog hwn wedi anfon allan tua phump o heidiau, y rhai erbyn hyn sydd yn eglwysi cryfion a lluosog iawn, a rhai o honynt hwythau wedi anfon allan gangena . Wedi i Mr. Thomas lafurio yn y maes eang hwn gyda derbyniad a llwyddiant anghyffredin am ddwy-flynedd-ar-hugain, bu raid iddo gael cynorthwywr, ac yn 1840, urddwyd Mr. Thomas Rees yn gynorthwywr iddo. Wedi bywyd o lafur diflin, gorphenodd Mr. Thomas ei yrfa yn y flwyddyn 1848. Yn fuan wedi hyny, oherwydd helaethrwydd mawr y cylch gweinidogaethol, rhoddodd Mr. Rees ofal Penrhiwgaled a Pisgah i fyny, ac yn y flwyddyn 1850, rhoddodd y ddwy eglwys hyn alwad i Mr. Robert Thomas, Maenclochog, ac efe yw y gweinidog yma hyd yn bresenol.

Mae maes yr eglwys hon wedi ei gyfyngu yn fawr trwy fod cangenau o honi wedi cael eu ffurfio yn eglwysi Annibynol yn mhob cyfeiriad am filldiroedd o gwmpas iddi, fel nad oes lle i ddisgwyl y fath gynydd ynddi

o hyn allan ag a fu yn y blynyddoedd gynt. Gan fod y capel yn sefyll mewn man anghyfleus iawn i ddyfod ato o eisiau ffyrdd da, bwriedir yn fuan adeiladu capel newydd yn ymyl y brif-ffordd. Os gwneir hyny bydd yn welliant mawr. Mae dynion rhagorol iawn wedi bod yn perthyn i'r achos hwn o oes i oes. Yr oedd David Evans, Ysw., Penrhiwgaled, y gwr a roddodd dir at adeiladu y capel, yn grefyddwr da, ac yn aelod ffyddlon a defnyddiol yn yr eglwys hyd derfyn ei oes. Bu ei dŷ yn lletty cysurus i bob pregethwr a ymwelai a'r ardal cyhyd ag y bu efe byw, ac am rai blynyddau ar ol ei farwolaeth, ond y mae y teulu wedi cael ei golli i Ymneillduaeth er's blynyddau bellach. Yr oedd Morgan, y Crug-glas, yn un o'r aelodau a ddaethant yma o Lwyndafydd, a dywedir ei fod yn ŵr hynod iawn am ei ragoriaeth fel crefyddwr. Mae llawer o'i hiliogaeth etto yn glynu yn ffyddlon gyda'r achos. Mae coffadwriaeth Rees, Cwmcynog; Moses, y Goetre, a Samuel, y Clai, hefyd yn barchus yn yr ardal fel sylfaenwyr cyntaf yr achos yn y lle. Mae hiliogaeth y dynion da hyn yn perthyn etto i'r fam eglwys neu y cangenau. Yn mysg yr ail dô o ffyddloniaid yr achos yma, sonir gyda pharch mawr am William o'r Wstrws, fel gwr diarhebol am ei dduwioldeb, ac am Dafydd Owen o'r Trawsnant, a James ei fab; Enoch Thomas, y Frongoch, a Dafydd Evans, y Goetre, y rhai oeddynt yn gymeriadau rhagorol iawn fel gwyr cedyrn yn yr ysgrythyrau a gweddiwyr nodedig o effeithiol. Heblaw y gwyr hyn, bu yma o bryd i bryd ganoedd o wyr a gwragedd ffyddlon yn eu dydd, y rhai y mae eu henwau yn llyfr y bywyd, er nas gallwn ni eu cofnodi yn y llyfr hwn.

Cofodwyd yma amryw i bregethu o bryd i bryd, ond nid ydym yn sicr ein bod wedi gallu dyfod o hyd i restr gyflawn o honynt. Gwyddom am y rhai canlynol:—

David Peter, am yr hwn y soniasom yn nglyn a hanes Heol Awst, Caerfyrddin.

John Evans. Gwelir ei hanes ef yn nglyn ag eglwysi Machynlleth ac Amlwch.

William Davies. Gwelir ei fywgraphiad ef yn nglyn a hanes Rhydyceisiaid, lle y bu yn weinidog.

David Johns, un o'r cenhadau a aethant allan i Madagascar dan nawdd Cymdeithas Genhadol Llundain. Mab J. Johns, Llain, plwyf Llanarth, oedd ef. Derbyniwyd ef yn dra ieuangc yn aelod eglwysig yn Mhenrhiwgaled, ac yn fuan wedi iddo ddechreu pregethu aeth i athrofa Neuaddlwyd. Aeth o'r Neuaddlwyd i athrofa Drefnewydd, ac wedi i Gymdeithas Genhadol Llundain ei dderbyn fel cenhadwr i'w anfon allan i Madagascar, anfonwyd ef i'r athrofa genhadol yn Gosport i orphen ei addysg. Cynaliwyd cyfarfod ei urddiad yn Mhenrhiwgaled Chwefror 14eg, 1826. Dechreuwyd y gwasanaeth trwy weddi gan Mr. Jonathan Jones, Troedyrhiw, (gynt Rhydybont); traddodwyd araeth ragarweiniol gan Mr. D. Peter, Caerfyrddin, oddiwrth Esaiah lx. 15; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. Daniel Thomas, Penrhiwgaled; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. M. Jones, Trelech; traddodwyd siars effeithiol i'r cenhadwr gan Dr. Phillips, Neuaddlwyd, oddiwrth Dan. xii. 3, a thraddodwyd pregeth ar y genhadaeth gan Mr. D. Morgan, Machynlleth, oddiwrth Mat. xxiv. 14. Pregethwyd y prydnawn a'r hwyr y dydd blaenorol gan Meistri Griffiths, Hawen; Davies, Aberteifi; Jonathan Jones, ac M. Jones, Trelech. Cyn cychwyn allan i'w faes cenhadol priododd Mr. Johns a merch Mr. W. Thomas, gynt gweinidog yr Annibynwyr yn y Bala. Yn ddioed wedi ei

urddiad hwyliodd ef a'i briod tua Madagascar, a chyrhaeddasant yno yn ddiogel Medi 11eg, 1826, lle y cawsant dderbyniad caredig gan eu brodyr Meistri Jones a Griffiths, y rhai fuasent yn llafurio yno er's chwe' blynedd. Bu Mr. Johns yno yn cydlafurio gyda'r cenhadau eraill yn ffyddlon a diwyd iawn hyd fis Medi, 1836, pryd y gorfodwyd hwynt gan angerdd yr erledigaeth i ymadael o'r ynys. Cyfieithodd Mr. Johns *Daith y Pererin*, a llawer o fan draethodau i iaith y wlad, a bu yn gynorthwy i Meistri Jones a Griffiths i gyfieithu yr Ysgrythyrau a chyfansoddi geiriaduron, a llyfrau eraill. Wedi gorfod ymadael o Madagascar, bu am dymor yn y wlad hon, ond dychwelodd drachefn i ynys Mauritius, a gwnaeth amryw fordeithiau oddiyno i gyffiniau Madagascar er gweini pob cymhorth a allai i'r Cristionogion erlidiedig yno Ar un o'r ymweliadau hyn a Madagascar, cymerwyd ef yn glaf yn Wosibi, yn Ngogledd-orllewin yr ynys, a bu farw yno Awst 6ed, 1843. Yr oedd Joseph, un o'r Cristionogion Malagasaidd, yn gweini arno yn ei oriau olaf. Wedi ei farwolaeth ef dychwelodd ei briod a'r plant i'r wlad hon. Mae Mrs. Johns wedi marw er's blynyddau bellach. Aeth eu dau fab i'r weinidogaeth, ond y mae yr hynaf er's tair neu bedair blynedd wedi cael ei analluogi gan gystudd blin i wneyd dim gyda gwaith y weinidogaeth, ac nid oes fawr gobaith yr adferir ef byth yn y byd hwn. Yr oedd yn ŵr ieuangc dysgedig, duwiol, a rhagorol iawn. Mae yr ail fab, Mr. James Johns, B.A., yn weinidog yn Northwich, Cheshire.

Yr oedd David Johns yn un o'r cenhadau rhagoraf a mwyaf ffyddlon a anfonwyd erioed allan o Frydain i fysg y paganiaid. Yn awr y mae cynhauaf toreithiog yn cael ei fedi mewn gorfoledd yn Madagascar oddiwrth yr had a hauwyd yno mewn dagrau gan Meistri Jones, Bevan, Griffiths, a Johns, ac eraill, ac yn y man caiff y rhai sydd yn awr yn medi gyfarfod a'r rhai fuont yn hau i gydlawenychu yn y wlad well.

John Williams. Bu yn weinidog yn y Berriew, yn agos i'r Drefnewydd, Maldwyn. Nid ydym yn gwybod ychwaneg o'i hanes.

Evan Davies. Bu ef yn weinidog yn yr Aber, Brycheiniog, yn Libanus, Llanfabon, ac yn Onllwyn. Mae er's blynyddau bellach yn gweinidogaethu yn Ohio, America.

Griffith Jones, Llacharn. Mae Zoar, Merthyr, a Phenrhiwgaled yn ei hawlio ef fel eu mab, ond yn Penrhiwgaled y pregethodd gyntaf.

Evan Jones, gweinidog Llwyncelyn a Mydroilyn. Dechreuodd ef bregethu yn 1859.

Gwyddom am un neu ddau eraill a gyfodwyd yma, ond gan eu bod er's blynyddau wedi syrthio i dir gwrthgiliad, nid yw eu henwau yn deilwng o gael eu crybwyll.*

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Daniel Thomas. Yr oedd ef yn fab i Dafydd Thomas o'r Gors, yn mhlwyf Llanbedrfelffre, sir Benfro. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1785. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yn Henllan pan yn ŵr ieuangc, a daeth yn fuan i sylw yr eglwys fel dyn ieuangc llafurus a thalentog. Rhagorai yn neillduol fel canwr. Yn mhen rhyw gymaint o amser wedi iddo gael

* Yr ydym yn ddyledus am lawer o'r ffeithau uchod i lythyrau oddiwrth Mr. R. Thomas, y gweinidog.

ei dderbyn anogwyd ef i ddechreu pregethu. Aeth yn fuan wedi hyny i athrofa y Neuaddlwyd, lle y bu am rai blynyddau. Yn 1818, fel y nodasom eisioes, urddwyd ef yn weinidog i'r eglwysi yn Mhenrhiwgaled a Chapel-y-wig, lle y treuliodd weddill ei oes yn barchus a defnyddiol iawn. Yn fuan wedi ei urddo priododd a gwraig weddw, yr hon oedd yn dal fferm o'r enw Llwynon, ac yno y bu hyd derfyn ei oes. Bu yr undeb priodasol hwn yn un dedwydd iawn a manteisiol iddo ef a hithau. Ni bu iddynt blant, ond yr oedd ganddi hi blant o'i gwr cyntaf, ac yr oeddent hwy yn ei werthfawrogi ac yn ei anwylo ef fel tad. Yr oedd Llwynon gryn ffordd o Benrhiwgaled, ac oherwydd pellder y ffordd cedwid yno ysgol Sabbothol a chyfeillachau crefyddol, a'r canlyniad o hyny fu i eglwys y Wern gael ei ffurfio, yr hon, fel y cawn weled etto, sydd yn eglwys gref a llewyrchus. Yr oedd Mr. Thomas, fel y nodasom, yn ganwr rhagorol, ac yn deall cerddoriaeth i'r fath raddau fel y medrai gyfansoddi tonau, ac y mae amryw donau o'i gyfansoddiad ef yn cael eu canu yn yr ardaloedd hyn hyd yn bresenol. Bu ei fedr gyda'r canu yn ychwanegiad dirfawr at ei ddefnyddioldeb fel gweinidog. Er ei fod yn ganwr da, nid oedd yn ystyr arferol yr ymadrodd yn bregethwr poblogaidd; ond yr oedd yn bregethwr addysgiadol iawn i bawb a ddalient sylw ar yr hyn a draddodai. Hynodid ei holl ymwneyd a dynion mewn pethau bydol a chrefyddol gan bwyll, boneddigeiddrwydd, a synwyr cyffredin. Yr oedd ei holl frodyr yn y weinidogaeth trwy y sir yn ei anwylo a'i barchu, a byddai pob gair a lefarai mewn cynadledd neu gyfeillach bersonol yn cael sylw ac ystyriaeth. Dyn cyflawn a da iawn ydoedd. Gwnaeth waith dirfawr yn ei oes heb gadw nemawr o swn yn ei gylch. Bu farw Rhagfyr 22ain, 1848, yn 63 oed, wedi rhai misoedd o nychdod. Mae ei goffadwriaeth yn barchus yn ei eglwysi, a thrwy yr holl sir hyd y dydd hwn.

## PISGAH.

Mae y capel hwn rhwng y mynyddau, yn mhlwyf Llandysuliogogo, o dair i bedair milldir i'r de-ddwyrain o Benrhiwgaled. Dyma yr ail gangen a aeth allan o'r fam eglwys yn Mhenrhiwgaled. Mae yr addoldy, yr hwn a amgylchynir gan fynwent helaeth, ar dyddyn a elwir Pantswllt, eiddo J. Lloyd Williams, Ysw. Yr oedd pregethu lled gyson yn yr ardal hon gan yr Ymneillduwyr er cyn cof neb sydd yn awr yn fyw, ac wrth bob tebygolrwydd er dyddiau yr hen Annghydffurfwyr. Yr oedd amryw o aelodau Penrhiwgaled ac aelodau yr eglwys Arminaidd yn Llwyn-rhydowen yn cyfaneddu yn y parthau hyn o'r wlad. Tua thriugain, neu ychwaneg o flynyddau yn ol, adeiladwyd capel Bwlchyfadfa i fod yn lle i'r ddwy blaid i gynal gwasanaeth crefyddol bob yn ail ynddo. Ond gyda bod yr Arminiaid yn llithro yn raddol i Ariaeth ac Undodiaeth, barnodd yr Annibynwyr nad oedd yn briodol iddynt hwy barhau i addoli yn yr un capel a hwynt. Gan fod darbodaeth yn y lês fod gweinidog Penrhiwgaled i bregethu yno ddwywaith yn y mis, yr oedd gan yr Annibynwyr hawl ranol yn y lle. Pan wnaethant eu meddyliau i fyny i ymneillduo oddiyno, rhoddodd yr Arminiaid bymtheg-punt-ar-hugain iddynt am roddi i fyny eu hawl yn y capel, ac a'r arian hyny, mewn rhan, yr adeiladwyd capel Pisgah yn y flwyddyn 1821. Wedi cael y capel yn barod, gollyngwyd haner cant o aelodau o Benrhiwgaled, a chorpholwyd hwy yn eglwys yn

y capel newydd. Dan yr un weinidogaeth a Phenrhiwgaled y mae yr eglwys hon wedi bod oddiar ei chorpholiad hyd yn bresenol. Mae yma achos llewyrchus iawn, a'r eglwys er's blynyddau yn rhifo dros ddau cant o aelodau. Yn y flwyddyn 1849, cafodd y capel ei adgyweirio a'i doi o newydd, ac yn y flwyddyn 1871, tynwyd yr hen dŷ i lawr ac adeiladwyd yma dŷ newydd prydferth a helaeth, ac anedd-dy cyfleus yn ei ymyl. Costiodd y cwbl dros chwe' chant o bunau, ond y mae y rhan fwyaf, os nad yr oll o'r ddyled wedi ei ddileu gan yr ardalwyr erbyn hyn. O'r haner cant a ddaeth yma i gychwyn yr achos o Benrhiwgaled, nid oes yn awr yn aros ar dir y byw ond dwy chwaer oedranus. Yr oedd yma ddynion rhagorol iawn yn mysg sylfaenwyr yr achos, megis Enoch Evans, Esgairwen; Dafydd Thomas, Rhydyrwyn; Daniel Davies, tad Mr. Davies, Rhydyceisiaid, a Mesech, Pantglas. Mae yr hanes canlynol yn cael ei adrodd yn yr ardal am Daniel Davies a Mesech:—Yr oeddynt yn ddau gyfaill nodedig—gyda'u gilydd yn wastad yn myned ac yn dychwelyd o'r cyfarfodydd. O'r diwedd daeth yr amser i Daniel gael ei alw o'r byd. Bu am dymor ar ei wely angau. Un noswaith aeth ei gyfaill, Mesech, i eistedd wrth ei wely i'w wylio yn ei gystudd. Wedi toriad y dydd aeth adref i gael ei foreufwyd, ac wedi ymborthi aeth allan i'r ardd, a chlywodd lais uwch ei ben yn yr awyr yn dyweyd, "Dyma fi yn myned." Adnabu Mesech mai llais ei gyfaill Daniel ydoedd, ond ni welodd ddim yno. Yna rhedodd yn ol i dŷ ei hen gyfaill, a chafodd ei fod wedi anadlu yr anadl olaf ychydig funudau cyn hyny. Dyna yr hanes fel y cawsom ni ef, a gwneled y darllenydd yr hyn a farno yn briodol o hono. Yr oedd Thomas Davies, y Banc, neu Thomas, y teiliwr, hefyd yn gymeriad rhagorol iawn. Bu am lawer o flynyddau yn blaenori y canu yn Pisgah. Ar ol bod yn aelod eglwysig am 67 o flynyddau bu farw yr hen bererin hwn yn 84 oed amryw flynyddau yn ol. At y rhai uchod gellir ychwanegu enwau Thomas Thomas, Rhydlydan, tad Mr. Thomas, Llanbedr; Thomas Williams, Llwyndu, a'i fab Benjamin, a James Williams, Crug-glas, y rhai oeddynt yn ddynion rhagorol am eu duwioldeb, eu gwybodaeth, a'u defnyddioldeb gyda'r achos. Crybwylla ein hysbysydd hefyd enw Mary Thomas, Blaencwmpridd, yr hon a fu farw ychydig yn ol yn saith-ar-hugain oed. Bu yn aelod eglwysig er pan yr oedd yn ddeg oed. Yr oedd o gymeriad difrycheulyd, ac yn nodedig am ei defnyddioldeb gyda'r ysgol Sabbothol, a'i medr i adrodd yr Ysgrythyrau yn gywir ac effeithiol. Cafodd yr eglwys a'r ysgol golled fawr yn ei marwolaeth.

Dau yn unig a gyfodwyd i bregethu yn yr eglwys hon, cyn belled ag y gwyddom ni, sef John Thomas, gweinidog presenol Llanbedr, a Thomas Thomas, yr hwn sydd wedi ymfudo i'r America.*

## CAPEL-Y-WIG.

Saif y capel hwn ar lechwedd mewn ardal brydferth iawn yn mhlwyf Llangranog. Y mae yn cael ei enw oddiwrth enw y tyddyn ar ba un yr adeiladwyd ef. Yr oedd pregethu mynych yn yr ardal hon gan yr Annibynwyr mewn lle a elwir Tredwr, flynyddoedd lawer cyn adeiladu y capel cyntaf yma. Yr eglwys hon yw yr hynaf o gangenau lluosog y fam

* Yr ydym yn ddyledus am y rhan fwyaf o gynwysiad yr hanes uchod i lythyrau cynwysfawr Mr. Thomas.

eglwys yn Mhenrhiwgaled. Adeiladwyd y capel cyntaf yma yn 1813. Nid amcenid ef ar y pryd ond i fod yn lle at gadw ysgol Sabbothol, cyfarfodydd gweddio a phregethu achlysurol, ond nid fel yr edrych dyn yr edrych Duw. Yr oedd i'r Arglwydd bobl lawer yn yr ardal, ac felly yn fuan wedi adeiladu y capel daeth yma y fath luaws i wrandaw ac i geisio crefydd, fel y bu raid ffurfio eglwys yma yn fuan a helaethu y capel. Nid yw yr amser yn gymhwys pan y cymerodd hyn le wedi cael ei hysbysu i ni. Mae yma eglwys luosog o tua phedwar cant o aelodau er's llawer o flynyddau bellach, a'r achos yn mhob ystyr mewn agwedd nodedig o lewyrchus. Gan fod y capel cyntaf, er iddo gael ei helaethu unwaith, wedi myned lawer yn rhy fychan i gynwys y gynnulleidfa, tynwyd ef i lawr a dechreuwyd adeiladu yr un presenol yn 1848, a Rhagfyr 2il, 1849, aeth y gynnulleidfa am y waith gyntaf i'w haddoldy newydd. Oherwydd rhyw resymau anhysbys i ni, gohiriwyd cyfarfodydd agoriad y capel newydd hyd Awst 4ydd a'r 5ed, 1852. Yn y cyfarfodydd hyny pregethwyd gan y gweinidogion canlynol, Meistri D. Stephens, Llanfair; B. Rees, Llanbadarn; S. Griffiths, Horeb; T. Jones, Cilcenin; R. Jones, Ffaldybrenin; D. Davies, Aberteifi; O. Thomas, Talybont; H. Jones, Caerfyrddin; D. Jones, Cydweli; D. Davies, Pantteg; H. Jones, Rhydybont; J. Jones, Llwyni, ac R. W. Roberts, Clarach. Costiodd y capel 700p., er cael cludiad y defnyddiau yn rhad. Talwyd y geiniog olaf o'r ddyled er's amryw flynyddau bellach. Mae mynwent helaeth wrth y capel, a llawer o feirw yn gorphwys ynddi.

Gweinidogion Penrhiwgaled sydd wedi bod yn gofalu am dani o'r dechreuad. Tua dwy flynedd wedi marwolaeth Mr. Daniel Thomas, rhoddodd Mr. T. Rees ofal Penrhiwgaled a Pisgah i fyny, a chyfyngodd ei lafur i Maenygroes a Chapel-y-wig, ac efe yw y gweinidog yn y ddau le hyn a Nanternis hyd y dydd hwn, ac yma y bydd, yn ol pob argoel, cyhyd ag y rhoddo yr Arglwydd nerth iddo i gyflawni ei weinidogaeth, ac yr ydym yn hyderu y rhoddir iddo y nerth hwnw am flynyddau lawer etto.

Ni hysbyswyd ni am neb a gyfodwyd i bregethu yn yr eglwys hon.

## MAENYGROES.

Mae y capel hwn ar ael bryn, yn agos i filldir o'r Ceinewydd, yn mhlwyf Llanllwch-haiarn. Gan fod llawer o aelodau Penrhiwgaled yn byw yn yr ardal hon, a bod y ffordd yn mhell iddynt i fyned yno, penderfynwyd adeiladu capel yma. Cafwyd darn o dir cyfleus ar dyddyn Maenygroes, gan E. Evans, Ysw., o'r Neuadd, ac adeiladwyd arno gapel cadarn o gryn faintioli yn y flwyddyn 1828. Yn fuan wedi adeiladu y capel, corpholwyd yma eglwys. Cynaliwyd yma gyfarfod cyhoeddus ar yr achlysur, pryd y gweinyddwyd gan Mr. Thomas, Penrhiwgaled, gweinidog y lle; Dr. Phillips, Neuaddlwyd, a Mr. S. Griffiths, Horeb. Bu yr eglwys hon, mewn cysylltiad a Phenrhiwgaled, Capel-y-wig, a Pisgah, dan weinidogaeth Mr. Thomas ei hun, yn cael ei gynorthwyo gan fyfyrwyr o athrofa y Neuaddlwyd, a phregethwyr cynorthwyol, hyd 1840. Yn y flwyddyn hono, rhoddwyd galwad i Mr. Thomas Rees, o athrofa y Neuaddlwyd, ac urddwyd ef yn Maenygroes i gydlafurio a Mr. Thomas yn yr holl gylch

gweinidogaethol. Cymerodd yr urddiad le Tachwedd 4ydd a'r 5ed, 1840, pryd y cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan luaws o weinidogion, megis Meistri Breese, Caerfyrddin; Jones, Glynarthen; Evans, Neuaddlwyd, ac eraill. Yr oedd trefn gwasanaeth yr urddiad fel y canlyn:—Dechreuwyd trwy weddi gan Mr. T. Jones, Saron; traddodwyd y gynaraeth gan Mr. J. Saunders, Aberystwyth; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. D. Davies, Aberteifi; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. D. Thomas, Penrhiwgaled; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. S. Griffiths, Horeb, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. D. Davies, Pantteg. Er iddo, fel y nodwyd yn hanes Capel-y-wig, wedi marwolaeth Mr. D. Thomas, orfod oherwydd helaethrwydd y cylch, roddi dau o'r pedwar lle i fyny, y mae Mr. Rees yn parhau i lafurio yma, yn y Wig, a Nanternis, gyda llwyddiant a chymeradwyaeth gyffredinol, hyd heddyw. Yr oedd yr eglwys yn Maenygroes wedi cynyddu mor fawr erbyn y flwyddyn 1858, fel nad oedd agos ddigon o le i'r aelodau a'r gwrandawyr yn y capel, a chan fod poblogaeth fawr yn y Ceinewydd, a chapel Maenygroes yn lled angbyfleus iddynt, penderfynwyd yn heddychol i ranu yr eglwys, ac adeiladu capel yn Ceinewydd, yr hyn a wnaed fel y cawn sylwi etto. Aeth rhan arall o gynnulleidfa Maenygroes i ddechreu yr achos yn Nanternis yn 1867, ond er i'r heidiau lluosog hyn ymadael, y mae yr hen gwch etto yn dra llawn, a'r achos yma mewn cyflwr llewyrchus

Nid oes genym ddim i ychwanegu am y lle hwn, amgen na bod y capel wedi cael ei adgyweirio a'i wellhau yn fawr yn ddiweddar, a bod darn ychwanegol o dir wedi cael ei brynu at gladdu y meirw. Er mai yn 1841 y dechreuwyd claddu yma, yr oedd y fynwent wedi ei llenwi. Y mae eglwys y Towyn, Ceinewydd, wedi uno a'r fam eglwys yn mhryniad y tir at helaethu y fynwent, ac felly, yma bellach y bydd y lle claddu perthynol i'r ddwy gynnulleidfa.

Y pregethwyr a gyfodwyd yn yr eglwys hon ydynt —

John Jones. Gweinidog yr eglwys yn Zoar, Maesteg, Morganwg.

J. Noall. Yr hwn sydd ŵr galluog a dysgedig. Mae yn rhywle yn Lloegr, ond nis gwyddom yn mha le yno.

John Davies. Gweinidog yr eglwys yn Glynarthen.

## CAPEL-Y-TOWYN, CEINEWYDD.

Mae y capel hwn wedi cael ei enw oddiwrth y tyddyn ar ran o ba un yr adeiladwyd ef. Fel y crybwyllwyd yn hanes Maenygroes, gan fod yr eglwys hono wedi lluosogi i fwy na phum' cant o aelodau, fel nad oedd y capel yn alluog i'w cynwys hwy a'r gwrandawyr, yn hytrach na helaethu yr hen gapel, yn enwedig gan ei fod tua milldir o'r Ceinewydd, a bod y ffordd oddiyno yn orifyny serth, penderfynwyd adeiladu capel yn y Ceinewydd. Gwnaed hyn yn heddychol trwy gydsyniad unfrydol y gweinidog a'r eglwys. Cafwyd darn o dir cyfleus gan y Cadben Evans ar lês o fil ond un o flynyddau, am yr ardreth o ddwy bunt yn y flwyddyn. Dyddiad y weithred yw Medi 29ain, 1858. Yn fuan ar ol hyny, gwnaed darpariaeth ar gyfer yr adeiladaeth. Gosodwyd i lawr gareg sylfaen y capel gan yr hybarch S. Griffiths, Horeb. Wedi gosod y gareg yn ei lle, esgynodd i'w phen, rhoddodd emyn allan i'w chanu, a gweddiodd yn daer am fendith yr Arglwydd ar yr hyn a fwriedid wneyd yn y tŷ a adeiladid

ar y sylfaen hono. Bu yr holl eglwys yn Maenygroes yn cydweithredu yn galonog i gasglu at draul yr adeiladaeth. Cynllunydd yr adeilad oedd Mr. Thomas Jones, Penycnwc. Pregethwyd y tro cyntaf yn y tŷ newydd gan Mr. Rees, y gweinidog, am 2 o'r gloch prydnawn Sabboth, Gorphenaf 28ain, 1861. Cynaliwyd cyfarfodydd yr agoriad Awst 14eg a'r 15fed. Y Sabboth canlynol, corpholwyd yr eglwys gan Mr. Rees, y gweinidog, yn cael ei gynorthwyo gan Mr. H. Jones, Caerfyrddin. Rhif yr aelodau y pryd hwnw oedd 291. Cynwysa y capel 750 o eisteddleoedd, a chostiodd 1,398p. 15s. 2c. Erbyn diwedd cyfarfodydd yr agoriad yr oedd y ddyled wedi ei thynu i lawr i 527p. 15s. Wedi i'r eglwys newydd gael ei sefydlu mor gysurus yn ei chysegr newydd, aeth pethau yn mlaen yn nodedig o ddymunol a llwyddianus. Erbyn Ebrill, 1865, yr oedd y ddyled wedi dyfod i lawr 335p. 15s. Rhoddodd Mr. Rees y pryd hwnw ofal yr eglwys hon i fyny, oherwydd helaethrwydd ei gylch gweinidogaethol, ac am fod yr eglwys ieuangc agos yn rhydd o ddyled, ac yn ddigon galluog i gynal gweinidog iddi ei hun.

Ar derfyniad cysylltiad gweinidogaethol Mr. Rees a'r lle, urddwyd Mr. William Emlyn Jones, o athrof Aberhonddu, yn weinidog yma. Cymerodd ei urddiad le Ebrill 5ed a'r 6ed, 1865, pryd y cymerodd y gweinidogion canlynol ran yn y gwasanaeth, Meistri Williams, Trewyddel; Williams, Hawen; Thomas, Penrhiwgaled; Phillips, Horeb; Jones, Drewen; Saunders, Aberystwyth; Rees, Maenygroes; Williams, Castellnewydd; Evans, Aberaeron, a Thomas, Brynmair. Bu Mr. Jones yma yn barchus, llafurus, a llwyddianus dros ystod ei arosiad yn y lle. Gan nad oedd cynlluniad y capel yn foddhaol, barnwyd yn ddoeth wneyd cyfnewidiadau ynddo. Sicrhawyd gwasanaeth Mr. Thomas, Glandwr, Abertawy, at hyn. Tynwyd yr oriel i lawr ddwy droedfedd ac wyth modfedd. Gwnaed esgynlawr, neu areithfa newydd, ac agorwyd dwy ffenestr yn y mur—un o bob tu iddi. Gwnaed hefyd amryw fan welliadau eraill, yr hyn a gostiodd dros ddau gant o bunau. Gwnaeth hyn draul y capel o'r dechreuad yn 1,600p. 15s. 2c. Yr oedd y ddyled erbyn hyn wedi chwyddo i rhwng pump a chwe' chant o bunau. Yn Mawrth, 1869, symudodd Mr. Jones i Libanus, Treforis. Wedi ei ymadawiad ef bu yr eglwys am rai misoedd yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol. Yn ngwanwyn y flwyddyn 1870, rhoddwyd galwad i Mr. T. P. Evans, Docks, Llanelli, a dechreuodd ef ei weinidogaeth yma yr ail Sabboth o Fai, yn y flwyddyn hono. Yn dra buan wedi ymsefydlu yn y lle, ymroddodd Mr. Evans i gynhyrfu y bobl i wneyd ymdrech er symud ymaith y ddyled oedd yn aros yma, ac erbyn diwedd 1872, yr oedd wedi ei dynu i lawr i 229p. Yna dechreuodd son am ddileu y gweddill yn ddioed, a chan fod gan y bobl galon a gallu i weithio, cyfranwyd digon i dalu y cwbl a deugain punt dros ben. Cynaliwyd cyfarfod jubili yma Mawrth 18fed a'r 19eg, 1873. Pregethwyd ar yr achlysur gan Meistri Miles, Aberystwyth; Evans, Caernarfon; Davies, Siloa, Llanelli, a Thomas, Bangor. Cymerodd amryw o weinidogion y sir hefyd ran yn y gwasanaeth. Mae Mr. Evans wedi bod yn hynod o lwyddianus yma o ddechreuad ei weinidogaeth hyd yn bresenol, ac yn sefyll yn uchel iawn yn ngolwg ei bobl a phreswylwyr y lle yn gyffredinol, ond y mae yn ddiweddar wedi cael cwpaneidiau chwerwon iawn i'w hyfed. Yn Mawrth, 1873, bu farw ei ferch fach yn ddeunaw mis oed, ac ar ei marwolaeth, clafychodd ei briod, ac wedi dihoeni dan gystudd blin hyd Mawrth 19eg, 1874, bu farw yn mlodeu ei dyddiau. Mae gwenau yr

Arglwydd ar ei lafur gweinidogaethol, a charedigrwydd ei bobl iddo, wedi gwneyd llawer tuag at gynal ei feddwl yn ei dywydd garw. Nid oes neb yn awr yn y gynnulleidfa, ond plant ieuaingc, heb fod yn gymunwyr. Mae yma dorf fawr o addolwyr, ac un o'r capeli prydferthaf yn y Dywysogaeth.*

## NANTERNIS.

Mae yr addoldy hwn yn mhlwyf Llandysiliogogo, tua haner y ffordd rhwng Maenygroes a Chapel-y-wig. Yr oedd cyfarfodydd gweddio wythnosol, ac ysgol Sabbothol yn cael eu cynal yma flynyddau lawer cyn adeiladu yr addoldy. Prynwyd y tir at adeiladu y capel a digon at fynwent am bris rhesymol iawn gan Mr. John Jones, Penperthi. Dechreuwyd adeiladu yr addoldy Awst 22ain, 1865, a dechreuwyd addoli yn y tŷ newydd Gorphenaf 22ain, 1866. Gwneir yr eglwys i fyny o aelodau o Gapel-y-wig a Maenygroes, ac ychydig o Benrhiwgaled. Ffurfiwyd hwy yn eglwys Annibynol gan Mr. Rees, y gweinidog, yn cael ei gynorthwyo gan Mr. D. Evans, Pantycrugiau, Chwefror 3ydd, 1867. Costiodd y capel, er cael cludiad y defnyddiau yn rhad, bedwar cant o bunau, ond y mae y geiniog olaf o honynt wedi cael ei thalu er's amser maith.

Gan ein bod yn awr ar adael maes llafur Mr. Rees, yr hwn sydd wedi cael ei freintio a chymaint o lwyddiant ar ei lafur gweinidogaethol, byddai yn briodol i ni gofnodi yr hyn a wyddom o'i hanes. Ganwyd ef yn agos i Pisgah, a phan yn llangc tra ieuangc aeth i'r gyfeillach grefyddol yno, ond cyn iddo gael ei dderbyn yn gyflawn aelod, symudodd i ardal Ty'nygwndwn, lle y derbyniwyd ef yn Ionawr, 1831, gan Mr. G. Griffiths, y gweinidog, wedi hyny o'r Casnewydd ac Aberhonddu. Ebrill 15fed, 1835, dechreuodd bregethu yn Nhy'nygwndwn. Yn Mai, 1836, aeth i athrofa y Neuaddlwyd, a bu yno hyd Chwefror, 1840. Urddwyd ef yn Maenygroes, fel y gwelsom, Tachwedd 5ed, 1840, a chan ei fod wedi cael help gan Dduw y mae yn aros yno hyd yn hyn. Yr ydym yn hyderu na fydd galwad am lawer o flynyddau etto i neb ysgrifenu hanes ei fywyd na'i farwolaeth.

## PENYCAE.

Mae y capel hwn yn mhlwyf Llanarth. Dechreuwyd yr achos yma dan yr amgylchiadau canlynol:—Yn haf y flwyddyn 1819, yr oedd Evan Williams, mab Jenkin Williams, Cae'rcoed, Llanarth, bachgenyn pedair-ar-ddeg oed, yn ysgol Dr. Phillips, Neuaddlwyd, ac ar yr un amser yr oedd Mr. Griffith Griffiths, wedi hyny o Dy'nygwndwn, Casnewydd, ac Aberhonddu, yn fyfyriwr yno yn yr athrofa. Gwahoddodd E. Williams, Mr. Griffiths i ddyfod i bregethu i dy ei dad yn Llanarth ar un hwyr Sabboth. Cydsyniodd Mr. Griffiths, ac aeth rhai o'i gydfyfyrwyr yno gydag ef. Dywedodd Jenkin Williams wrthynt a'r ddiwedd yr oedfa, os buasent yn addaw dyfod i'w dy ef i bregethu bob pythefnos ar nos Sabboth y buasai efe yn darparu lluniaeth iddynt, ond nas gallasai addaw unrhyw dal ychwaneg ol. Boddlonodd y myfyrwyr i'r amodau, a pharhaus-

* Llythyr Mr. Joshua Jones.

ant i fyned yno am rai misoedd, ac yr oeddynt yn cael oedfaon llewyrchus iawn yno. Yn fuan wedi hyn torodd diwygiad grymus iawn allan o gylch y Neuaddlwyd ac Aberaeron, yn benaf yn y cyfarfodydd gweddio, a thrwy offerynoliaeth Meistri P. Griffiths, yn awr o'r Alltwen, a'i gâr Daniel Griffiths, wedi hyny o Gastellnedd, y rhai oeddynt ar y pryd yn fyfyrwyr yn athrofa Dr. Phillips. Yr oedd yr adfywiad hwn yn un nodedig o rymus, a theimladau ei ddeiliaid yn cael eu llwyr orchfygu, fel yr oeddynt yn tori allan i folianu a neidio. Ymdaenodd y gawod fendithiol hono trwy yr ardaloedd cylchynol, ac yn mysg lleoedd eraill, cyrhaeddodd i Lanarth, a'r canlyniad fu i rai ugeiniau o'r plwyf hwn ymuno a'r eglwys yn y Neuaddlwyd. Yn ganlynol i hyn gosodwyd i fyny addoliad cyhoeddus yn mhentref Llanarth bob nos Sabboth, yn lle bob pythefnos fel o'r blaen, a sefydlwyd yma ysgol Sabbothol effeithiol a llewyrchus iawn. Wedi bod am gryn amser yn cynal y cyfarfodydd a'r ysgol mewn anedd-dai, ardrethwyd hen ysgubor gerllaw mynwent y plwyf at gynal moddion cyhoeddus. Yn fuan wedi hyn aed i edrych allan am dir at adeiladu capel, ac i son am ffurfio eglwys yma. Nid oedd y mam eglwysi yn y Neuaddlwyd a Phenrhiwgaled yn gwbl foddlon i ffurfio eglwys, ond yr oeddynt yn foddlon cynorthwyo i adeiladu addoldy at gynal gwasanaeth achlysurol ynddo. Mae yr hen eglwysi yn gyffredin wedi amlygu gradd o anmharodrwydd i ollwng eu gafael o'r cangenau, rhag ofn gwanychu yr hen le, ond ar y cyfan nid oes nemawr o hen eglwysi yn Nghymru wedi bod yn fwy parod i gefnogi ffurfiad cangenau na'r Neuaddlwyd a Phenrhiwgaled. Ond y rhwystr mwyaf i gychwyniad yr achos hwn ydoedd yr anhawsder i gael tir at adeiladu yr addoldy. Gwrthodai y tirfeddianwyr yma le at hyny oherwydd eu culni sectyddol. Pa fodd bynag, ni chymerodd y ffyddloniaid yma eu digaloni gan unrhyw rwystrau. Ffurfiwyd eglwys yn yr hen ysgubor yn 1825. Cafwyd tir ychydig allan o'r pentref at adeiladu capel, ac wedi cael addoldy cyfleus, cynyddodd y gynnulleidfa nes iddi yn fuan fyned yn fwy nag un gynnulleidfa arall yn y plwyf. Bu yr eglwys mewn rhan dan ofal Dr. Phillips tra y bu fyw, a bu ei olynydd, Mr. Evans, am ysbaid yn cydlafurio ag ef yn Mhenycae, fel yn y lleoedd eraill. Tua y flwyddyn 1840, rhoddodd y Dr. a Mr. Evans ofal y lle i fyny, ac yna rhoddwyd galwad i Mr. Evan Williams, Cefn-coed-y-cymer, y bachgenyn fuasai yn offerynol, trwy wahodd Mr. Griffiths yma, i ddechreu yr achos. Ychydig a feddyliai pan yn gwahodd Mr. Griffiths i dy ei dad, ei fod yn ei wahodd i gychwyn cynnulleidfa iddo ef wedi hyny i fod yn weinidog iddi. Bu Mr. Williams yn llafurio yma hyd derfyn ei oes yn 1851, a pherchid ef yn fawr gan yr eglwys a'r ardal. Claddwyd ef yn mynwent capel Penycae. Yn yr un flwyddyn, penderfynodd yr eglwys hon, mewn undeb a'r eglwys yn y Wern, i roddi galwad i Mr. Evan Jones, o athrofa Caerfyrddin. Cydsyniodd a'r alwad, ac urddwyd ef Hydref 15fed a'r 16eg, y flwyddyn hono. Cynaliwyd cyfarfodydd yr urddiad yn y Wern a Phenycae. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan Meistri D. Davies, Pantteg; H. Jones, Caerfyrddin, a'r rhan fwyaf o weinidogion y sir. Yn fuan wedi ei urddiad dechreuodd glafychu o'r darfodedigaeth, ac felly ni bu yn alluog i bregethu yma ond am naw mis, ond bu yr eglwysi ar ei enw am ddwy flynedd. Pan welodd nad oedd gobaith iddo wellhau, rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny yn Medi, 1853. Yn 1854, rhoddwyd galwad i Mr. D. Milton Davies o'r Gelli, sir Frycheiniog, a dechreuodd ef ei weinidogaeth yma ar y Sabboth cyntaf yn Awst, y flwyddyn hono. Yn mis

Mai, 1855, penderfynwyd tynu yr hen gapel a adeiladwyd yn 1825 i lawr ac adeiladu un mwy at wasanaeth y gynnulleidfa gyflym-gynyddol. Gorphenwyd yr adeiladaeth mewn pedwar-mis-ar-ddeg, ac agorwyd y capel newydd Awst 14eg, 1856. Yr oedd y rhan fwyaf o weinidogion y sir, a rhai o siroedd eraill, yn bresenol ar yr achlysur. Ni bu yr eglwys a'r gynnulleidfa nemawr o amser cyn talu yr oll o'r draul. Parhaodd Mr. Davies i lafurio yma gyda pharch mawr a mesur helaeth o lwyddiant hyd y Sabboth diweddaf yn Tachwedd, 1858, pryd y symudodd i Lanfyllin, lle y terfynodd ei oes ddefnyddiol yn 1869. Yn nechreu y flwyddyn 1859, rhoddwyd galwad i Mr. Jenkin Morgan Prytherch, o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef Mawrth 16eg a'r 17eg, yn y flwyddyn hono. Cymerwyd rhan yn ngwasanaeth yr urddiad gan Meistri Jones, Glynarthen; Davies, Aberteifi; Griffiths, Horeb; Evans, Aberaeron; Saunders, Aberystwyth; Thomas, Talybont; Jones, Pentretygwyn; Griffiths, Llanwrtyd, a Griffiths, Llanymddyfri. Yn mhen ychydig fisoedd wedi ei urddiad, cafodd Mr. Prytherch a'r eglwysi dan ei ofal eu bendithio ag adfywiad crefyddol grymus iawn, fel y cafodd y gweinidog ieuangc yr hyfrydwch o dderbyn rhai canoedd o aelodau i'r eglwysi dan ei ofal yn ystod y ddwy flynedd gyntaf o'i weinidogaeth. Mae pethau yn parhau yn ddymunol yma oddiar hyny hyd yn awr, a'r gweinidog a phobl ei ofal yn cydweithio yn hyfryd.

Nid ydym yn gwybod am neb a godwyd yma i bregethu heblaw Mr. Evan Williams, yr hwn a fu yn weinidog yma, a Mr. Daniel Sylvan Evans, yr hwn sydd er's blynyddau bellach yn offeiriad yn yr Eglwys Sefydledig, ac yn adnabyddus trwy holl Gymru fel llenor enwog.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Evan Williams. Ganwyd ef yn mhentref Llanarth yn y flwyddyn 1804 neu 1805. Enwau ei rieni oeddynt Jenkin ac Elleanor Williams. Saer oedd ei dad wrth ei alwedigaeth. Wedi bod yn mlynyddau ei blentyndod yn yr ysgol yn ei bentref genedigol, anfonwyd ef i ysgol Dr. Phillips i'r Neuaddlwyd, pan yr oedd tua phedair-ar-ddeg oed. Bu yno am rai blynyddau. Mae yn dra sicr mai pan yr oedd yn yr ysgol y dechreuodd bregethu, ond nid ydym yn sicr pa un ai yn y Neuaddlwyd neu yn Mhenycae y pregethodd gyntaf. Yn y flwyddyn 1829, urddwyd ef yn Moelfro, Mon, lle y bu yn llafurio yn ddiwyd, ac yn serch pobl ei ofal, am chwe' blynedd. Priododd yno, a chladdodd ei wraig gyntaf, a chyn ymadael oddiyno priododd yr ail waith. Symudodd o Fon i Benygroes, Arfon, lle y bu am ysbaid byr yn cadw ysgol. Ymfudodd oddiyno i America, ond nid ydym yn meddwl iddo aros yno flwyddyn o gwbl. Pan ddychwelodd o'r America ymsefydlodd yn Merthyr Tydfil fel ysgolfeistr. Bu am tua blwyddyn a haner yn weinidog yn Ebenezer, Cefn-coed-y-cymer, ond oherwydd fod prif ddynion yr eglwys hono yn ffafriol iawn i Siartiaeth, ac yntau yn groes i hyny, rhoddodd ei gofal i fyny yn 1839, a symudodd i'w ardal enedigol, a bu yn weinidog i'w fam eglwys am y deng mlynedd olaf o'i fywyd. Bu farw Ebrill 13eg, 1851, yn 46 oed, a chladdwyd ef yn ol ei ddymuniad wrth gapel Penycae.

Yr oedd Evan Williams yn ddyn da, ac yn ysgolhaig rhagorol, yn ysgolfeistr effeithiol iawn, ac yn bregethwr hynod o adeiladol a blasus. Bywyd

lled gythryblus a gafodd o ddechreuad ei weinidogaeth hyd nes iddo ymsefydlu yn Mhenycae, ond cafodd brydnhawn-ddydd teg a dymunol, ac y mae coffa parchus am dano yn mhob man y bu yn llafurio.

EVAN JONES. Ganwyd ef yn Rhiwseithbren, yn agos i Gwernogle, sir Gaerfyrddin, Hydref 28ain, 1826. Yr oedd er yn blentyn yn ddeiliad teimladau crefyddol. Wrth wrandaw ei ewythr, Mr. John Davies, Castellnedd, yn pregethu y dygwyd ef i benderfyniad i wneyd proffes gyhoeddus o grefydd. Ymunodd a'r eglwys yn Gwernogle, yr hon oedd y pryd hwnw dan weinidogaeth Mr. Powell, Cross Inn, yn y flwyddyn 1840. Yr oedd efe yn un o ddeg-ar-hugain yn cael ei dderbyn i gymundeb yr un boreu Sabboth. Gan fod ynddo dueddiad cryf at waith y weinidogaeth, anfonodd ei rieni ef i ysgol Mr. J. Jones, Rhydybont, ac wedi hyny i ysgol ramadegol yn Llandysul, er cael addysg ragbarotoawl i fyned i'r athrofa. Yn 1846, derbyniwyd ef i athrofa Caerfyrddin, lle y bu yn fyfyriwr diwyd am bum' mlynedd. Ymadawodd oddiyno yn Mehefin, 1851, ac yn mhen ychydig fisoedd wedi hyny urddwyd ef, fel y nodasom, yn weinidog i'r eglwysi yn Mhenycae a'r Wern. Yr oedd rhagolygon gobeithiol o'i flaen ef a'r eglwysi ar amser ei urddiad, gan fod yr eglwysi yn berffaith unol yn eu dewisiad o hono, ac yntau yn ddyn ieuangc dysgedig, talentog, a chymwys yn mhob ystyr at waith y weinidogaeth. Ond yn fuan siomwyd yr holl ddisgwyliadau. Dechreuodd arwyddion o'r darfodedigaeth ymddangos ynddo, ac yn mhen naw mis wedi ei urddiad aeth yn analluog i bregethu. Gan y bernid fod awyr y mor yn sir Aberteifi yn rhy gryf iddo, aeth adref i dŷ ei rieni i orphwyso gyda gobaith am adferiad iechyd. Disgwyliodd yr eglwysi wrtho yn amyneddgar am bymtheng mis. Ond wrth weled nad oedd iddo un gobaith am wellhad, rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny yn Medi, 1853, a bu farw yn nhy ei dad Rhagfyr 27ain, yn yr un flwyddyn. Teimlai pobl ei ofal alar dwys ar ei ol, ond gan mai ewyllys ei Arglwydd oedd ei alw ato ei hun, nid oedd ganddynt ddim i'w wneyd ond ymostwng i'w ewyllys ddwyfol.

## Y WERN.

Saif y capel hwn mewn man nodedig o brydferth ar lan y mor yn mhlwyf Llanina. Er's tua thriugain mlynedd yn ol darfu i nifer o aelodau Penrhiwgaled a breswylient yn yr ardal hon, gan fod Penrhiwgaled dros ddwy filldir oddiyma, benderfynu cychwyn ysgol Sabbothol mewn anedddai yn y gymydogaeth, a llwyddasant yn fuan i gael yma ysgol mor luosog fel yr oedd yn anhawdd cael un anedd-dy yn yr ardal yn ddigon mawr i'w chynwys. O'r diwedd, penderfynwyd ei chynal bob Sabboth yn Llwynon, wedi hyn preswylfod Mr. Daniel Thomas, gweinidog Penrhiwgaled. Yn nglyn a'r ysgol sefydlwyd yma gyfarfodydd gweddio a chyfeillachau wythnosol, ac yn raddol ennillwyd yr holl ardalwyr, oddieithr ychydig bersonau, i fod yn Annibynwyr. Bob boreu Sabboth gwelid corph yr ardalwyr yn dringo y llechweddi i fyny tua Phenrhiwgaled, ac yn dychwelyd yn brydlon at gynal eu hysgol Sabbothol yn y prydnawn. Wedi i bethau ddyfod i'r agwedd lewyrchus hon, dechreuwyd son am adeiladu capel yn yr ardal, ond buwyd yn son am hyny ugain mlynedd cyn ei wneyd. Dichon nad oedd Mr. Thomas a'r eglwys yn Mhenrhiwgaled, yn orselog dros y peth, am y gwelent y buasai sefydliad eglwys

yma yn wanychiad dirfawr i'r fam eglwys, ac felly gadawyd y peth i fod yn destyn siarad yn unig hyd ar ol marwolaeth Mr. Thomas. Yn 1850, pan aeth yr eglwys yn Mhenrhiwgaled i son am ddewis canlyniedydd i Mr. Thomas, aeth yr aelodau yn ardal y Wern i son o ddifrif am gael tir i adeiladu capel. Llwyddasant i gael darn o dir at gapel a mynwent yn y llecyn mwyaf prydferth yn yr holl ardal gan T. Ll. Lloyd, Ysw., Nantgwyllt, Maesyfed, ar lês o 999 o flynyddau. Adeiladwyd y capel yn nechreu y flwyddyn 1851, ac yn mis Medi, yn yr un flwyddyn, agorwyd y capel, a ffurfiwyd ynddo eglwys o gant a thriugain-a-saith o aelodau. Yn y mis canlynol urddwyd Mr. Evan Jones yn weinidog yma ac yn Mhenycae, a than yr un weinidogaeth a Phenycae y mae yr eglwys hon wedi bod o'r pryd hwnw hyd yn bresenol. Meistri Jones, Glynarthen; Griffiths, Horeb, a Rees, Maenygroes, oedd y gweinidogion fuont yn gweinyddu yma ar ffurfiad yr eglwys. Pan ymsefydlodd Mr. Prytherch, y gweinidog presenol, yma, fel y nodasom yn hanes Penycae, torodd diwygiad grymus iawn allan yn y ddwy eglwys. Y pryd hwnw derbyniwyd gwrandawyr y Wern oll, oddieithr dau neu dri, i gymundeb eglwysig. Mae yr achos yma yn parhau mewn agwedd llewyrchus iawn. Ni hysbyswyd ni fod neb wedi cael ei gyfodi i bregethu yma.*

## PANTYCRUGIAU.

Saif y capel hwn yn ymyl y brif-ffordd o Aberteifi i Aberystwyth. Yr oedd ysgol Sabbothol, cyfarfodydd gweddio, a phregethu achlysurol yn cael eu cadw yn yr ardal hon, yn benaf gan bobl Capel-y-wig, amryw flynyddau cyn adeiladu capel yma. Trwy lafur Mr. Rees, Maenygroes, ac aelodau ei eglwys yn Nghapel-y-wig, yr adeiladwyd yr addoldy yma yn y flwyddyn 1848. Pregethodd Mr. Rees y bregeth gyntaf yn y capel newydd Gorphenaf 16eg, yn yr un flwyddyn, ac ar y 19eg o Awst, 1849, corpholwyd yma eglwys. Daeth 50 o'r aelodau o Gapel-y-wig, saith o Pisgah, a thri neu bedwar o Hawen. Aeth yr achos rhagddo yn hwylus iawn wedi corpholiad yr eglwys, ond oherwydd helaethrwydd maes ei lafur, a'i ymdrech ar y pryd i dalu dyled Capel-y-wig, bu raid i Mr. Rees roddi gofal y gangen hon i fyny yn 1850, a chymerwyd ei gofal yn ei le gan Mr. R. Thomas, Penrhiwgaled, yr hwn fu yn gweinidogaethu yma gyda mesur helaeth o lwyddiant hyd y flwyddyn 1856, pryd y rhoddodd ei ofal i fyny. Yr amser hwnw yr oedd muriau y capel yn rhoddi ffordd, fel y bu raid ei ailadeiladu. Y pryd hwn ymgymerodd Mr. Rees a gofal y lle drachefn, a than ei ofal ef y bu, mewn rhan, hyd Mai 23ain, 1860, pryd yr urddwyd Mr. David Evans, aelod o eglwys Llwyncelyn, yma. Bu Mr. Evans yn llafurus a llwyddianus iawn yma hyd ei farwolaeth annisgwyliadwy yn 1873. Oddiar farwolaeth Mr. Evans hyd yn bresenol, Mr. John Morgan, Penlan, sydd yn gweinyddu yr ordinhadau, ac yn pregethu yma yn fisol neu fynychach. Mae son yn awr am helaethu yr addoldy gan fod yr un presenol yn rhy fychan i gynwys y gynnulleidfa. Mae golwg siriol iawn ar yr achos yn y lle hwn, ac yr ydym yn hyderu mai felly y parhâ.

* Llythyr Mr. Prytherch.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

David Evans. Ganwyd ef yn Cilfach-yr-halen, gerllaw Aberaeron, yn y flwyddyn 1818. Pan yn dair-ar-ddeg oed derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn y Neuaddlwyd. Ar gychwyniad ei fywyd crefyddol cafodd gryn anhawsderau yn ei deulu i fyned rhagddo yn ei broffes, ond daliodd yn ddidroi yn ngwyneb pob anhawsder. Wedi iddo dyfu i fyny, wrth weled ei gynydd mewn gwybodaeth a doniau, a'i lafur dibaid gyda phob rhan o waith crefydd, anogwyd ef gan yr eglwys i ddechreu pregethu, ond gan nad oedd ganddo obaith am gael addysg i'w gymhwyso at waith y weinidogaeth, ni feddyliai wrth fyned yn bregethwr, ar gais yr eglwys, wneyd dim ond llenwi bylchau yma ac acw fel pregethwr cynorthwyol am ei oes, ond fel arall y bwriadai y Llywydd mawr. Bu am lawer o flynyddau yn bregethwr cynorthwyol derbyniol iawn yn ei fam eglwys a'r eglwysi cymydogaethol. Yn 1860, derbyniodd alwad unfrydol oddi wrth yr eglwys ieuangc yn Mhantycrugiau, ac urddwyd ef yno yn mis Mai y flwyddyn hono. Bu yn llafurus iawn yno, ac fel cynorthwywr i Mr. Rees yn Nghapel-y-wig, Maenygroes, Ceinewydd, a Nanternis hyd nes i angau roddi terfyn lled ddisymwth ar ei fywyd defnyddiol. Bu farw wedi cystudd byr iawn Awst 15fed, 1873.

Yr oedd David Evans yn ddyn da ac yn bregethwr defnyddiol iawn. Pethau ymarferol fynychaf y pregethai arnynt, ond yr oedd tôn ei weinidogaeth yn berffaith efengylaidd. Oddiwrth olygfeydd natur ac arferion cyffredin bywyd yn fwy nag oddiwrth lyfrau y casglai yr eglurhadau a'r cymhariaethau a arferai yn ei bregethau, ac am hyny yr oedd yn nodedig o ddealladwy i'r werin, ac yn dderbyniol ganddynt. Yr oedd yn ddyn ddiymhoniad. Er fod ei alluoedd a'i ddoniau yn tra rhagori ar yr eiddo llawer a gymerant arnynt eu bod yn ddynion mawr, nid ymhonai ef i unrhyw fawredd. Dyn gwledig o ran ei ymddangosiad ydoedd, a dyn yn mhob ystyr yn ateb i'r wlad y treuliodd ei oes ynddi. Safai yn ddiysgog at ei egwyddor, ac nis gallasai gweniaeth na bygythion beri iddo fradychu ei broffes. Oherwydd iddo bleidleisio dros yr ymgeisydd Rhyddfrydig yn etholiad 1868, cafodd ei fwrw allan o'i fferm. Ond y mae yn awr wedi cyrhaedd y lle na "chlywant lais y gorthrymydd," ac y gorphwys y rhai lluddedig. Mae ei goffadwriaeth yn fendigedig o fewn holl gylch ei gydnabyddiaeth.

## LLECHRYD.

Mae yr eglwys hon yn un o'r rhai hynaf yn y Dywysogaeth. Casglwyd hi ar y cyntaf trwy lafur Mr. Charles Price, yr hwn a drowyd allan o eglwys plwyf Aberteifi gan Ddeddf Unffurfiaeth yn 1662. Cafodd yr eglwys ei chorpholi gan Mr. Price yn eglwys Annibynol amryw flynyddau cyn 1662, a pharhaodd ef i fod yn weinidog iddi nes iddo orfod ymadael a'r wlad oherwydd poethder yr erledigaeth. Ryw amser ar ol 1662, daeth Mr. James Davies, yr hwn a droisid allan o eglwys Merthyr, sir Gaerfyrddin, i Aberteifi i gadw ysgol, a chymerodd ef y praidd gwasgaredig, fuasai gynt dan ofal gweinidogaethol Mr. Price, dan ei ofal, a gwnaeth bob

peth a allasai i'w hymgeleddu, cyn belled ag y goddefai enbydrwydd yr amseroedd iddo wneyd. Pan roddodd Siarl II. ychydig o ryddid i'r Ymneillduwyr yn 1672, darfu i aelodau yr eglwys hon gyfodi trwyddedau ar dai at bregethu ynddynt mewn gwahanol ardaloedd, fel y dengys y cofnodion canlynol:—"Trwydded i James Davies i fod yn bregethwr Annibynol yn ei dŷ ei hun yn Aberteifi, ac yn nhy John James yn Cenarth, sir Gaerfyrddin. Dyddiedig Mai 8fed, 1672. Ty John James yn Cenarth, sir Gaerfyrddin, i fod yn dŷ cyfarfod i'r Annibynwyr, a thy James Davies yn Aberteifi i fod felly hefyd. Mai 8fed, 1672. Ty Jenkin Jones yn Cilgeran, sir Benfro, i fod yn addoldy i'r Annibynwyr, a Jenkin Jones i fod yn bregethwr Annibynol yn ei dŷ ei hun."* Ni pharhaodd y rhyddid hwn ond tua blwyddyn, ond dichon i'r cyfeillion fod yn addoli yn yr anedd-dai hyn yn ddirgel am flynyddau wedi hyny. Mae tystiolaeth Mr. Henry Maurice genym, fod cyfarfodydd yn cael eu cynal yn nhy Mr. Jenkin Jones, yn Nghilgeran yn 1675, a bod Mr. Jones ei hun yn pregethu yno. Bu yr eglwys hon, neu gangenau o honi, ar wahanol amserau rhwng 1672 a 1709 yn addoli yn Rhosgilwern, gerllaw Cilgeran, a dichon mai dyna enw ty Mr. Jenkin Jones; yn y Tirllwyd, yn mhlwyf Llangoedmore, yn Nghastellmaelgwyn, ac mewn lle a elwir y Wern. Mr. James Davies a Mr. Jenkin Jones fu gweinidogion y gynnulleidfa hon, fel yr ymddengys, hyd derfyn eu hoes, ond dichon fod Mr. John Thomas, Llwynygrawys, wedi ei urddo cyn i'r olaf o honynt hwy farw. Ryw amser wedi sefydliad Mr. John Thomas yma, cyfododd dadl bedydd i boethder mawr yn yr ardaloedd, ac amlygai y gwrthfabanfedyddwyr sel neillduol i geisio proselytio aelodau yr eglwysi Annibynol. Yn ngwyneb hyn, barnwyd yn briodol i gael cyfarfod cyhoeddus i drin y pwngc gan ddynion a fernid y rhai mwyaf galluog yn y ddwy blaid. Trefnwyd i'r cyfarfod gael ei gynal yn Mhenylan, yn agos i'r Frennifawr, a bod Mr. John Thomas, gweinidog yr eglwys a gyfarfyddai y pryd hwnw yn Rhosgilwern, i bregethu dros fedydd babanod y dydd cyntaf, a bod Mr. John Jenkins, gweinidog Rhydwilym, i bregethu ar yr ochr wrthwynebol dranoeth. Cymerodd hyn le yn y flwyddyn 1691. Yn lle terfynu y ddadl ei chyneu yn fwy wnaeth y cyfarfodydd hyn. Y canlyniad fu i bleidwyr bedydd babanod geisio gan Mr. Samuel Jones, Brynllwarch, ysgrifenu llyfr ar y pwngc, ond gan na oddefai sefyllfa ei iechyd iddo wneyd hyny, ceisiodd gan ei gyfaill talentog, a'i ddysgybl gynt, Mr. James Owen, i ymgymeryd a'r gorchwyl. Ysgrifenodd Mr. Owen lyfr galluog yn cynwys deuddeg o resymau dros fedydd babanod. Gwelodd y gwrthfabanfedyddwyr nad oedd ganddynt hwy un dyn yn Nghymru yn ddigon dysgedig a galluog i'w ateb, ac felly cyfieithiasant ef i'r Saesoneg fel y gallasai Mr. Benjamin Keach ysgrifenu ateb iddo, ac wedi cael yr ateb hwnw yn barod bu raid ei gyfieithu i'r Gymraeg. Cyhoeddwyd ef dan yr enw *Goleuni wedi tori allan yn Nghymru.* Cyhoeddodd Mr. Owen ateb i hwn drachefn, ac felly distawodd y ddadl am dymor.

Mewn anedd-dai y bu yr eglwys hon, fel lluaws o eglwysi eraill yn Nghymru, yn addoli hyd y flwyddyn 1709, pryd yr adeiladwyd yr addoldy cyntaf yn Llechryd. Dywedir i ryw ŵr mawr o'r gymydogaeth, pan oedd y gynnulleidfa yn addoli yn y Tirllwyd, fygwth tynu y ty i lawr, ond iddo y noson cyn y dydd y bwriadai osod ei fygythiad mewn gweithrediad

* *State Papers. Interregnum.*

gael ei gymeryd yn glaf, a marw ar ol ychydig oriau o gystudd. Gan Thomas Lloyd, Ysw., o Goedmore, y cafwyd tir at adeiladu y capel yn Llechryd, ar lês o fil ond un o flynyddau. Yr ydym yn barnu fod Mr. John Thomas, y gweinidog, yn fyw pan yr adeiladwyd y capel yn 1709, ac iddo fyw ddwy neu dair blynedd ar ol hyny. Mae yn debyg i'r eglwys fod yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol am rai blynyddau ar ol marwolaeth Mr. Thomas. Nid ydym yn gallu dyfod o hyd i enw un gweinidog yma rhwng yr amser y bu ef farw ac urddiad Mr. David Sais yma yn 1725. Parhaodd Mr. Sais i weinidogaethu yma hyd y flwyddyn 1741, pryd y bu farw. Yr oedd cangen o'r eglwys wedi ymffurfio yn eglwys Annibynol yn Mrynberian cyn dechreuad ei weinidogaeth ef, a'r eglwys yn Nhrewyddel yr un modd, ac yn 1737, adeiladodd y gangen o gylch Cenarth a Chastellnewydd addoldy yn y Drewen. Mae yn ymddangos i Mr. Lewis Jones, wedi hyny o Benybont-ar-ogwy, fod am flwyddyn neu ddwy yn cydweinidogaethu a Mr. Sais yn y Drewen a Llechryd, ac yn 1739, cafodd Mr. David Evans ei urddo yma yn weinidog cynorthwyol, ac yn fuan disgynodd yr holl ofal arno ef. Ond yn 1742, urddwyd Mr. David Griffiths yn gynorthwywr iddo, a buont ill dau yn cydweinidogaethu hyd farwolaeth Mr. Evans yn 1773, yna bu Mr. Griffiths yn unig weinidog am tua phedair-blynedd-ar-ddeg. Yn 1788, urddwyd Mr. Griffith Griffiths yn gydweinidog ag ef, ac ar ei farwolaeth yn 1794, disgynodd y gofal oll ar Mr. G. Griffiths, yr hwn fu yn llafurio yma hyd 1818, pryd y bu farw. Mae yn ymddangos nad oedd un o'r tri gweinidog olaf a enwyd—D. Evans, D. Griffiths, a G. Griffiths, fel eu rhagflaenoriaid, yn selog dros yr hyn a ystyrir yn "athrawiaeth iachus." Os nad oeddynt yn Arminiaid, Pelagiaid, neu Ariaid proffesedig eu hunain, yr oeddynt yn cyfeillachu a gweinidogion o'r golygiadau hyny, ac yn eu derbyn i'w pulpudau. Darfu i gangen y Drewen ymneillduo oddiwrth y fam eglwys yn Llechryd yn fuan wedi marwolaeth Mr. D. Evans, a dewis gwr o olygiadau hollol efengylaidd yn weinidog. Parhaodd pethau yn lled dawel yn Llechryd hyd farwolaeth Mr. G. Griffiths, ac am ychydig wedi hyny. Wedi ei farwolaeth ef, urddwyd un Mr. David Davies o'r Neuaddlwyd yn weinidog yma, ond gan mai cymeriad hollol ddiwerth, os nad drygionus, ydoedd, ymwrthodwyd ag ef yn mhen tair blynedd wedi ei sefydliad. Treuliodd weddill ei oes yn fasnachydd yn Llanelli, sir Gaerfyrddin, ond heb fod ag unrhyw gysylltiad rhyngddo a chrefydd.

Tua yr amser yr ymadawodd D. Davies yr oedd yr eglwys yn ferw byw gan ddadleuon a chroesolygiadau ar brif byngciau Cristionogaeth. Yr oedd yma rai Arminiaid, rhai Ariaid, a rhai Undodiaid, ond yr oedd tua haner yr eglwys yn dal at y golygiadau a ystyrir yn efengylaidd. Yn nghanol y dadleuon poethion hyn daeth Mr. Methusalem Davies, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin, heibio, a chafodd anogaeth i aros yma ar brawf. Yn fuan aeth rhai o'r aelodau i son am ei urddo. Yn nglyn a hyny ail gynyrfwyd y dadleuon. Mynai un blaid gael gweinidog Ariaidd ac Undodaidd i gymeryd rhan yn ngwasanaeth yr urddiad, ond gwrthwynebai y blaid arall hyny yn benderfynol, a'r canlyniad fu i'r eglwys rwygo yn ddwy blaid. Cauwyd yr Annibynwyr Calfinaidd allan o'r capel a chadwodd yr Arminiaid a'r Ariaid feddiant o hono am ychydig amser. Yn fuan cafwyd allan fod y lês wedi myned yn ddirym o herwydd fod yr ymddiriedolwyr oll wedi meirw, ac felly fod y capel a'r tir yn eiddo cyfreithlon i Mr. Lloyd, Coedmore, etifedd y perchenog gwreiddiol. Pan ddeallwyd

hyny, cymerodd Mr. Lloyd feddiant o hono, a rhoddodd ef trwy weithred newydd i fod yn eiddo i'r blaid Galfinaidd, ac yn eu meddiant hwy y mae hyd yn bresenol. Dyddiad y weithred newydd yw Ionawr 25ain, 1828. Wedi i'r Annibynwyr gael meddiant o'r capel rhoddasant alwad i Mr. Daniel Davies, Aberteifi, a bu yr achos dan ei ofal ef hyd y flwyddyn 1854. Cynorthwyid ef am rai blynyddau gan Meistri W. Miles, Tyrhos, a David Owen, Aberteifi. Rhif yr aelodau yn Llechryd oedd 45 pan y dechreuodd Mr. Davies ei weinidogaeth yn eu plith, ond yr oeddynt dros ddau cant pan y rhoddodd ef eu gofal i fyny. Cafodd y capel ei ail adeiladu yn nhymor gweinidogaeth Mr. Davies, ac y mae hefyd yn ei ymyl dŷ cyfleus at gadw ysgol ddyddiol. Yn y flwyddyn 1856, rhoddodd yr eglwys hon, mewn cysylltiad a Tyrhos, alwad i Mr. Rees Morgan, o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef Awst 12fed a'r 13eg, yn y flwyddyn hono. Cynaliwyd cyfarfodydd yr urddiad y dydd cyntaf yn Nhyrhos a'r ail ddydd yn Llechryd. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan Meistri D. Davies, Aberteifi; J. Davies, Glandwr; W. Morgan, Troedyrhiw, Merthyr; S. Griffiths, Horeb; S. Evans, Hebron; J. M. Evans, Trefgarn; J. Williams, Castellnewydd; D. Bateman, Rhosycaerau, ac eraill. Bu Mr. Morgan yn llafurus, llwyddianus, a pharchus iawn yma hyd y flwyddyn 1863, pryd y symudodd i Glynnedd. Yn y flwyddyn 1864, rhoddodd yr eglwys yn Llechryd alwad i Mr. William Rees, myfyriwr yn yr Athrofa Orllewinol yn Plymouth, ac urddwyd ef yma yn mis Rhagfyr, y flwyddyn hono. Efe yw y gweinidog yma hyd yn bresenol. Aelod gwreiddiol o eglwys Trelech yw Mr. Rees, a pherthynas agos i'r diweddar Mr. Rees, Llanelli.

Mae nifer lluosog o ddynion rhagorol iawn wedi bod yn perthyn i'r achos yn y lle hwn o bryd i bryd, ond nid ydym ni wedi gallu dyfod o hyd i enwau ond ychydig o honynt. Mae coffadwriaeth Henry Edwards, David Thomas, Thomas Griffiths, ac Owen Jones yn barchus iawn yn yr eglwys a'r ardal hyd y dydd hwn. Ond dichon mai y cymeriad mwyaf adnabyddus trwy yr holl wlad o aelodau yr eglwys hon yn yr oes ddiweddaf oedd Dafydd Siencyn Morgan, y cerddor diail. Yr oedd ei enw ef haner can' mlynedd yn ol yn adnabyddus trwy y rhan fwyaf o Ddeheudir Cymru, ac mae yn debygol iddo wneuthur mwy tuag at ddiwyllio cerddoriaeth y cysegr nag un o'i gydoeswyr yn Nghymru. Teithiai i leoedd pell ac agos i gadw ysgolion cân. Y mae amryw donau o'i gynghaneddiad a rhai o'i gyfansoddiad ef mewn arferiad hyd y dydd hwn. Y mae y gwr enwog hwn wedi gorphwys oddiwrth ei lafur er's deng-mlynedd-ar-hugain bellach. Claddwyd ef yn mynwent Manordeifi

Mae yn dra thebyg i lawer o aelodau yr eglwys hon yn yr oesau gynt gael eu cyfodi i'r weinidogaeth, ond o ddiffyg cofnodion eglwysig nid ydym ni wedi gallu dyfod o hyd i enwau neb o honynt, ond y rhai canlynol:—

Thomas Evans a'i frawd Daniel Evans, Llandygwydd. Dechreuasant bregethu yn y flwyddyn 1820, ond buont ill dau feirw yn dra buan wedi iddynt ddechreu pregethu.

David Thomas. Bu yntau farw yn ieuangc.

Thomas Griffiths, mab y gweinidog, Mr. G. Griffiths. Addysgwyd ef yn athrofa Caerfyrddin, ac ar derfyniad ei amser yno urddwyd ef yn weinidog i'r cynnulleidfaoedd Ariaidd neu Undodaidd yn y Cribyn a Chiliauaeron, lle y bu farw mewn henaint teg tua dwy flynedd yn ol. Yr oedd yn adna-

byddus iawn i ddarllenwyr Cymreig flynyddau yn ol fel gohebydd mynych i'r *Seren Gomer* dan yr enw "Tau Gimel." Efe yw awdwr cofiant Davies, Castellhowell.

J. G. Davies, ŵyr i Mr. G. Griffiths, y gweinidog. Dechreuodd ef bregethu yn 1866. Yr oedd yn ddyn ieuangc gobeithiol iawn, ond wedi bod am ddwy flynedd yn athrofa Caerfyrddin ymaflodd y darfodedigaeth ynddo, a bu farw yn 1870.

Edwin A. Jones. Dechreuodd bregethu yn 1863, ac wedi bod am ychydig amser yn weinidog yn Nhyrhos, ac wedi hyny yn Rehoboth, Brynmawr, aeth i ymddwyn yn anheilwng o'i broffes, ac felly nid oes un cysylltiad rhyngddo a'r weinidogaeth er's amser bellach.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Charles Price. Yr oll a wyddom am dano ef ydyw, mai un genedigol o sir Faesyfed ydoedd; iddo fod am rai blynyddau, yn amser y Werinlywodraeth, yn bregethwr teithiol yn sir Aberteifi; iddo ymsefydlu fel gweinidog plwyf Aberteifi ryw amser cyn adferiad Siarl II., o ba le y trowyd ef allan gan Ddeddf Unffurfiaeth yn 1662. Yn fuan wedi hyny gorfodwyd ef i fyned o'r parth hwn o'r wlad gan boethder yr erledigaeth. Bu farw yn Hammersmith, yn agos i Lundain, ond nid yw amser ei farwolaeth yn hysbys i ni.

James Davies. Un genedigol o sir Faesyfed oedd yntau. Cafodd ei osod yn weinidog plwyf Merthyr, gerllaw Caerfyrddin, yn amser y Werinlywodraeth, a chafodd ei droi oddiyno gan Ddeddf Unffurfiaeth yn 1662. Yn fuan wedi hyny symudodd i Aberteifi, neu y gymydogaeth uniongyrchol, lle y bu am flynyddau yn ymgynal wrth gadw ysgol Ramadegol. Pan ddaeth i'r gymydogaeth hon cymerodd ofal yr eglwys Ymneillduol a ffurfiesid yma flynyddau cyn hyn gan Mr. Charles Price. A bu ef a Mr. Jenkin Jones yn cydweinidogaethu iddi am lawer o flynyddau. Yr oedd Mr. Davies yn byw yn nhref Aberteifi yn 1672, canys trwyddededodd ei dŷ yno yn y flwyddyn hono at bregethu ynddo. Yr oedd yn fyw, ac yn weinidog i'r eglwys sydd yn awr yn Llechryd, yn y flwyddyn 1675. Nis gwyddom pa bryd y bu farw. Dywed Dr. Calamy am dano, ei fod yn ddyn gostyngedig a gwylaidd, yn ysgolhaig da, yn fyfyriwr caled, ac yn bregethwr galluog, eglur, a doniol, a bod ei bregethau yn cael eu dilyn gan fendith neillduol yr Arglwydd. Dywed hefyd iddo ddyoddef llawer o erledigaethau yn amyneddgar, ac iddo farw yn ddedwydd iawn, a bod pawb o'i gydnabod yn galaru yn fawr ar ei ol.

Jenkin Jones. Yr oedd ef yn byw yn Nghilgeran, ac yn henuriad athrawiaethol yn yr eglwys Ymneillduol yn yr ardal hono. Trwyddedodd ei dŷ at bregethu ynddo yn 1672, ac yr oedd yn cydweinidogaethu a Mr. James Davies yn 1675. Dyna y cwbl a wyddom ni am dano. Gan fod Mr. Henry Maurice yn ei ysgrif ar Eglwysi Ymneillduol Cymru yn ei alw "Captain Jenkin Jones," yr ydym yn cael ein gogwyddo yn gryf i gredu mai yr un ydoedd a'r enwog Jenkin Jones o Landdetty, ac wedi hyny o Langattwg, Glynnedd. Dywedasom yn nghofiant Mr. Jones yn nglyn a hanes Maes-yr-haf, Castellnedd, iddo naill ai marw yn y flwyddyn 1660, neu orfod ymguddio rhag ei erlidwyr. Dichon mai yn y parth hwn o'r wlad y cafodd le i ymguddio.

JOHN THOMAS Er pob ymchwiliad yr ydym wedi methu casglu ond y peth nesaf i ddim o hanes y gwr da hwn. Yn Llwyngrawys, yn mhlwyf Llangoedmore, yr oedd yn cyfaneddu, ac mae yn dra thebyg mai efe oedd perchenog y lle hwnw, ac amryw leoedd eraill. Bernir iddo dderbyn ei addysg yn un o'r ddwy brif athrofa. Nis gwyddom pa bryd y dechreuodd ei weinidogaeth yn Llechryd. Yn y flwyddyn 1688, ar doriad gwawr rhyddid crefyddol, cafodd ef, ac amryw weinidogion Ymneillduol eraill, ei urddo. Parhaodd i weinidogaethu yn Llechryd, a'r cangenau, hyd derfyn ei oes. Nis gwyddom pa bryd y bu farw, ond y mae yn dra sicr ei fod wedi marw cyn y flwyddyn 1715, gan nad yw Dr. John Evans yn yr ystadegau a gasglwyd ganddo yn y flwyddyn hono yn son dim am ei enw. Cawn ragor nag un crybwylliad o'i enw yn hanes y ddadl fu yn eglwys Henllan yn 1707—1710. Ymddengys ei fod ef yn ochri i'r blaid uchel-Galfinaidd yn y ddadl hono, ond y mae y ddwy blaid yn crybwyll ei enw ef mewn geiriau parchus. Yr ydym yn tybied iddo farw ryw amser rhwng 1710 a 1715.

DAVID SAIS. Yr ydym yn barnu mai brodor o gymydogaeth Trefgarn, sir Benfro, oedd ef. Yr oedd un o'r enw Thomas Sais yn aelod o'r eglwys hono ar ei ffurfiad tua'r flwyddyn 1686, a dichon mai mab iddo ef oedd Mr. David Sais. Nid oes genym un wybodaeth o hanes boreu ei oes; pa le y dechreuodd bregethu, na pha le yr addysgwyd ef. Cofnodir yn llyfr eglwys y Cilgwyn, gan Mr. Phillip Pugh, iddo gael ei urddo yn Llechryd yn mis Awst, 1725, ac iddo farw yn 1741. Dyna y cwbl a wyddom o'i hanes.

DAVID EVANS. Nid oes genym un wybodaeth am le ei enedigaeth ef a'i ddygiad i fyny, ond gan iddo, yn ol y cofnodiad ar gareg ei fedd, farw yn 66 oed, yn 1773, gwelir mai yn 1707 y ganwyd ef. Cafodd ei urddo yn weinidog i'r eglwysi yn Llechryd a'r Drewen, Ebrill 25ain, 1739. Yr oedd y gweinidogion canlynol yn bresenol yn ei urddiad fel y cofnodir yn llyfr eglwys y Drewen:—Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan Mr. George Palmer, Abertawy; pregethodd Mr. Phillip Pugh, Llwynypiod, ar natur y gwaith a threfn eglwys Crist; holwyd y gofyniadau gan Mr. Evan Davies, Hwlffordd; dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. Thomas Maurice, Down, Llanybri; pregethodd Mr. James Lewis, Pencadair, ar ddyledswydd y gweinidog a'r eglwys. Yr oedd yn bresenol hefyd Meistri Henry Palmer, Henllan; David Jenkins, Crugymaen; Samuel Jones, Capel Seion; Samuel Thomas, Caerfyrddin; Jenkin Jones, Llwyn-rhyd-owen; Timothy Davies, Cilgwyn, ac Abel Francis, gweinidog gyda'r Bedyddwyr. Yn Mhenypistyll, yn mhlwyf Llangoedmore, yr oedd Mr. Evans yn byw, ac yno y bu farw Ebrill 20fed, 1773, yn 66 oed. Claddwyd ef y tu allan i'r gangell yn mynwent Llangoedmore, lle y mae ei gareg fedd i'w gweled etto. O ddiffyg defnyddiau nid oes genym ddim yn ychwaneg o'i hanes i'w roddi.

DAVID GRIFFITHS. Nid ydym yn gwybod dim o hanes boreu ei oes yntau. Cafodd ei urddo i fod yn gydweinidog a Mr. David Evans yn Llechryd a'r Drewen Ebrill 21ain, 1742. Gan ei fod yn ddeuddeg-ar-hugain oed pan yr urddwyd ef yr ydym yn lled dybied mai amaethwr parchus o'r ardal hon ydoedd, heb gael addysg reolaidd i'r weinidogaeth, canys y mae myfyrwyr rheolaidd yn mhob cyfnod o hanes Ymneillduaeth, gydag ychydig iawn o eithriadau, yn cael eu hurddo rhwng y dwy a'r wyth-ar-hugain oed. Mae yr un sylw yn gymwysiadol at Mr. David

Evans, cydweinidog Mr. Griffiths, yr oedd yntau yn ddeuddeg-ar-hugain oed yn cael ei urddo. Nid yw eu hoed yn profi yn bendant na buont yn fyfyrwyr, ond y mae yn gwneyd y peth yn debygol iawn, yn enwedig pan gofier nad yw eu henwau i'w cael yn rhestr y myfyrwyr a addysgwyd yn Nghaerfyrddin yr amser hwnw, a Chaerfyrddin oedd yr unig athrofa Ymneillduol yn Nghymru y pryd hwnw. Bu Mr. Griffiths yn weinidog yn Llechryd am y tymor maith o ddeng-mlynedd-a-deugain. Bu farw Hydref 20fed, 1794, yn 84 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Manordeifi. Yn y Faenor, yn y plwyf hwn, yr oedd yn cyfaneddu. Bu un mab iddo yn offeiriad, ac yn byw yn rhywle yn nghymydogaeth Llanboidy. Nid oes ond ychydig flynyddau er pan y bu ef farw.

Griffith Griffiths. Nid oes genym un wybodaeth am le ei enedigaeth ef, na pha le y derbyniwyd ef yn aelod eglwysig, ac y dechreuodd bregethu. Derbyniwyd ef yn fyfyriwr i athrofa Caerfyrddin yn 1784, ac aeth oddiyno i Lechryd, lle yr urddwyd ef yn 1788 yn gynorthwywr i'r hen weinidog, Mr. David Griffiths, ac yno y bu hyd Ionawr 31ain, 1818, pryd y bu farw yn 57 oed. Claddwyd ef yn mynwent Llandygwydd, ond yn Neuaddwilym, yn mhlwyf Llangoedmore, yr oedd yn cyfaneddu hyd derfyn ei oes. Yr oedd Mr. Griffiths yn ddyn boneddigaidd a pharchus gan yr holl wlad. Cyfrifid ef yn un o'r ysgolfeistri rhagoraf yn ei oes. Cadwai ysgol trwy holl dymor ei weinidogaeth, ac yn ei ysgol ef y derbyniodd y rhan fwyaf o blant boneddigion, yn gystal ag amaethwyr glanau y Teifi, eu haddysg yn yr oes hono. Ychwanegai hyny yn ddirfawr at ei ddylanwad yn y wlad.

Nid ymddengys fod Mr. Griffiths, na'i ddau ragflaenydd—D. Evans a D. Griffiths, y peth y buasai yn ddymunol eu bod fel gweinidogion yr efengyl. Nid oes genym ni un sail i'w cyhuddo o fod yn Ariaid nac yn Undodiaid, ond y mae yn amlwg eu bod y peth a adwaenir dan yr enw *Latitudinarians*, hyny yw, dynion yn dal nad yw o un pwys pa beth fyddo credo dyn, ond iddo fod yn foesol ei fuchedd. Yn gydweddol a'r syniad hwn cyfeillachent hwy a gweinidogion o bob credo, a newidient bulpudau yn ddiwahaniaeth a hwynt. Y canlyniad fu i'r eglwys dan eu gofal fyned yn gymysgedd o Galfiniaeth, Arminiaeth, Ariaeth, ac Undodiaeth, ac iddi yn y diwedd rwygo yn yfflon.

## CAPEL MAIR, ABERTEIFI.

Yn y flwyddyn 1792 yr oedd hen wraig, aelod o Benrhiwgaled, o'r enw Esther Phillips, wedi dyfod i fyw i'r dref hon, a chan nad oedd un capel na chynnulleidfa o'i henwad ei hun iddi hi i ymuno a hwynt, elai yn achlysurol i Drewyddel, a chafodd gan Mr. John Phillips, gweinidog y lle hwnw, addaw dyfod i bregethu i'w thy hi. Ty bychan ydoedd yn Pwllhai. Yn mhen ychydig aeth Mr. Phillips i bregethu yno yn lled gyson bob bythefnos, a byddai Mr. Benjamin Hughes, Cilgeran, pregethwr cynorthwyol tra phoblogaidd, yn pregethu yno yn achlysurol. Rhoddid pregeth yn awr ac eilwaith hefyd gan Mr. B. Evans, Drewen, a Dr. Phillips, Neuaddlwyd. Ennillwyd rhai o drigolion y dref trwy y pregethau hyn i ddyfod i geisio crefydd. Ond elent i Drewyddel i gael eu derbyn yn aelodau eglwysig gan nad oedd yma un eglwys wedi cael ei ffurfio. Yn mhen amser aeth ty Esther Phillips yn rhy fychan i gynwys y gwrandawyr,

fel y bu raid edrych allan am le mwy eang a chyfleus. Cafwyd hen ystordy, yn agos i'r *Angel Hotel*, ar ardreth, a chyfaddaswyd ef i fod yn lle addoliad. Llanwyd y lle hwnw yn fuan, a chorpholwyd yno eglwys fel cangen o Drewyddel. Ond am gryn amser wedi corpholiad yr eglwys diaconiaid Trewyddel fyddai yn dyfod yma ar y Sabbothau cymundeb i gario yr elfenau, oblegid y mae yn debygol nad oedd neb yn yr eglwys ieuangc a fernid yn addas i gael ei wneyd yn ddiacon. Fel hyn y parhaodd pethau cyhyd ag y bu yr achos dan ofal Mr. John Phillips. Er fod yma yn awr amryw o aelodau, etto gan mai tlodion oeddynt gan mwyaf oll, teimlent fod talu ardreth yr ystafell a threuliau eraill yr achos yn faich trwm iawn iddynt, a barnent y gallasent wneyd yn well pe yr adeiladesid capel mewn rhyw fan cyfleus. Rhoddodd Mr. David Davies, masnachydd cyfrifol a chyfoethog yn y dref, ddarn o dir yn Heol Mair at adeiladu capel am chwe' cheiniog y flwyddyn o ardreth dros byth. Sicrhawyd y tir i'r enwad Annibynol mewn gweithred tra y byddo dwfr yn rhedeg yn afon Teifi. Dechreuwyd adeiladu y capel yn 1803, ond gan fod y bobl yn ychydig ac yn dlodion, a'r gweinidog, Mr. Phillips, Trewyddel, yn analluog oherwydd llesgedd, ac amryw ofalon eraill, i roddi nemawr o help i'r gwaith, gellir yn briodol ddyweyd mai mewn amseroedd blinion yr adeiladwyd y muriau. Wedi llawer o drafferth a rhwystrau cafwyd y ty dan dô, ond er nad oedd ynddo oriel na nemawr o eisteddleoedd, yr oedd arno faich o gan' punt o ddyled; a pheth oedd waeth, yr oedd y bobl mewn anghydfod oherwydd methu cydweled am ryw bethau yn nghylch adeiladaeth y capel. Ymadawodd un ar ol y llall a'r achos, fel yr oedd wedi myned i fin trancedigaeth. Yn y flwyddyn 1812, daeth Mr. Daniel Davies, Rhesycae, aelod gwreiddiol o Drewyddel, i fod yn gynorthwywr a Mr. Phillips yn Nhrewyddel a'r canghenau. Bu ei ddyfodiad ef yma yn fywyd o farwolaeth i'r achos yn y dref Yr oedd y capel o hyd heb ei orphen, a'r ddyled yn aros arno. Ond trwy ymdrechion Mr. Davies talwyd y ddyled yn lled fuan, a gosodwyd oriel ac eisteddleoedd yn y capel. O hyn allan aeth pethau yn mlaen yn nodedig o lewyrchus. Lluosogodd yr eglwys a chynyddodd y gynnulleidfa. Yn 1831, tynwyd yr hen gapel i lawr ac adeiladwyd yn ei le addoldy hardd, yn mesur 48 troedfedd o hyd wrth 36 o led, ac oriel helaeth ynddo. Talwyd am hwn etto yn mhen ychydig amser, a gorlanwyd ef o aelodau a gwrandawyr. Yr oedd llwyddiant yr achos yn y dref yn awr yn fwy rhyfedd gan fod cynydd yr eglwysi yn Llechryd a Thyrhos dan weinidogaeth Mr. Davies a'i gynorthwywyr, a ffurfiad eglwys yn Llandudoch, yn cadw pobl y wlad oddiamgylch rhag dyfod mwyach i chwyddo cynnulleidfa y dref. Parhaodd pethau i fyned yn mlaen yn llewyrchus iawn yma hyd derfyn oes lafurus Mr. D. Davies. Pan aeth ef i deimlo pwys henaint yn ei wasgu, anogodd yr eglwys i edrych allan am ganlyniedydd iddo, fel y gallasai ef ymneillduo o'r weinidogaeth sefydlog, ond addawai wneyd yr oll a fedrai fel cynorthwywr i'w ganlyniedydd. Yr oedd yn awyddus am weled gweinidog wedi ymsefydlu yma cyn ei farw, rhag ofn ar ol ei farwolaeth y buasai terfysg yn ymgodi yn yr eglwys yn nghylch dewisiad gweinidog, a chafodd ei ddymuniad. Yn mis Mai, 1864, rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny, ac yn nechreu y flwyddyn ganlynol rhoddodd ef a'r eglwys alwad unfrydol i Mr. William Davies, aelod o Drelech, a myfyriwr yn athrofa Aberhonddu. Cynaliwyd cyfarfodydd urddiad Mr. Davies Ebrill 19eg a'r 20fed, 1865. Pregethwyd y nos gyntaf gan Meistri W. E. Jones, Ceinewydd, a T. Phillips,

Horeb. Dranoeth am ddeg pregethodd Mr. O. Thomas, Brynmair, ar natur eglwys; holwyd y gofyniadau a dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. D. Davies, yr hen weinidog; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. I. Williams, Trelech, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. W, Evans, Aberaeron. Am ddau yn y prydnawn pregethodd Meistri D Jones. Penygroes, a D. Jones, Drewen; ac yn yr hwyr pregethodd Meistri G. Williams, Trewyddel, ac E. Lewis, Brynberian. Dyma yr urddiad cyntaf yn ol trefn yr Annibynwyr a gymerodd le yn y dref hon, canys yr oedd Mr. Daniel Davies yn weinidog urddedig flynyddau cyn iddo ddyfod yma. Bu yr hen weinidog yn gynorthwyol iawn i'r gweinidog ieuangc hyd derfyn ei oes yn 1867. Yn y flwyddyn 1868, penderfynodd yr eglwys adeiladu capel newydd helaethach a harddach na'r un a adeiladesid yn 1831, ac ar yr 20fed o Fai, 1869, tynwyd yr hen dŷ i lawr a dechreuwyd adeiladu yr un presenol, yn ol cynllun Mr. Thomas, Glandwr, gan Mr. J. R. Daniel, Aberteifi. Gorphenwyd y gwaith ac agorwyd y ty newydd Medi 21ain a'r 22ain, 1870. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri J. Williams, Penygroes; S. Evans, Hebron; E. Lewis, Brynberian; J. G. Morris, Trefdraeth; T. Phillips, Horeb; J. Davies, Gedeon; J. Davies, Glynarthen; T. Davies, Llanelli; D. Jones, B.A., Merthyr; I. Williams, Trelech; T. Thomas, Glandwr, a Dr. W. Rees, Liverpool. Costiodd yr adeilad yn agos i 1,500p. Casglwyd erbyn diwedd cyfarfodydd yr agoriad 900p. Mae hwn yn un o'r capeli prydferthaf yn y Dywysogaeth, yn mesur 61 troedfedd wrth 41, a llenwir ef gan gynnulleidfa fywiog a siriol. Mor wahanol yw pethau yma yn awr i'r hyn oeddynt pan adeiladwyd y capel cyntaf. Rhif yr aelodau yn bresenol yw 360. Hyderwn fod gan Mr. Davies, y gweinidog presenol, oes hirfaith o'i flaen fel ei ragflaenydd enwog. Bu y Gymanfa Orllewinol yma yn 1817, a chymanfa nodedig o lewyrchus ydoedd. Darfu i'r dylanwadau grymus a brofwyd yn y gymanfa hono lwyr ymlid ymaith holl olion ac effeithiau yr ymryson ditlas a fuasai yn nychu yr eglwys flynyddau cyn hyny, a bu yn foddion i gychwyn diwygiad grymus a bendithiol iawn yma. Cynaliwyd yr ail gymanfa yma yn 1836, ac yr oedd hono hefyd yn rhyfeddol o lwyddianus.

Mae llawer o gymeriadau rhagorol iawn wedi bod yn dal cysylltiad a'r achos hwn o bryd i bryd, a gwragedd duwiol ar gychwyniad yr achos ddarfu hynodi eu hunain fwyaf am eu llafur a'u defnyddioldeb. Mae enwau Esther Phillips, Anne James, Trefigan-lodge; Mally William Evan, Betty Finch, Bet Davies, Lleine, a hen wraig dduwiol y Clun, yn barchus ac anwyl yn yr eglwys hyd y dydd hwn, a dydd y farn yn unig a ddengys pa faint o ddaioni a wnaethant gyda'r achos goreu. Sonir yn barchus hefyd am enwau George Thomas, William Finch, Shon, Rhosfach; Shon o Felin-y-dyffryn; Jonah, Rhoshill; David Beynon Evans, Cadben David Timothy, ac eraill.

Cyfodwyd y personau canlynol i bregethu yn yr eglwys hon:—

David Owen. Urddwyd ef yn Llechryd fel cynorthwywr i Mr. Davies. Gwelir ei hanes yn nglyn a Siloah, sir Benfro.

Henry Jones. Addysgwyd ef yn Aberhonddu. Urddwyd ef yn Painscastle, sir Faesyfed, ac y mae er's blynyddau bellach yn weinidog yn Kingswood, sir Gaerloew.

William Evans. Wedi gorphen ei amser yn athrofa Aberhonddu,

urddwyd ef yn Nghwmwysg a Threcastell, lle y mae etto yn barchus a defnyddiol.

John Beynon Davies. Bu yntau yn athrofa Aberhonddu, ac y mae yn awr yn weinidog yn Mount Stuart, Caerdydd.

John Picton Evans. Wedi bod am ddwy flynedd yn athrofa Aberhonddu, gwaelodd ei iechyd, a chynghorodd y meddygon ef i fyned am fordaith i Awstralia, lle y mae yn bresenol, ac yn gwellhau yn ei iechyd.

Diaconiaid presenol yr eglwys ydyw Meistri T. Griffiths, Draper; W. Jones, Pwllhai; A. Morgan, O. Picton Davies, J. R. Daniel, a John Evans.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Daniel Davies. Ganwyd y gweinidog enwog a defnyddiol hwn mewn amaethdy a elwir Penywern, yn mhlwyf Trewyddel, sir Benfro, yn y flwyddyn 1780. Yr oedd er yn blentyn yn nodedig am ei ffraethder, ei graffder, a'i feddylgarwch. Ymunodd yn dra ieuangc a'r eglwys Annibynol yn Nhrewyddel, ac ni bu yr eglwys fawr o amser wedi iddo gael ei dderbyn cyn gweled fod ynddo gymhwysder nodedig at waith y weinidogaeth, ac felly anogasant ef i ddechreu pregethu. Nid ydym yn gwybod iddo gael nemawr o fanteision addysg yn moreu ei oes, nac ychwaith wedi iddo ddechreu pregethu, ond daeth trwy rym ei alluoedd naturiol a'i ymroddiad yn ysgolhaig mor rhagorol fel y medrai bregethu gyda rhwyddineb a chywirdeb yn y Gymraeg a'r Saesonaeg. Yn y flwyddyn 1809, aeth ar daith trwy y Gogledd, ac anogwyd ef i ymsefydlu yn Rhesycae, gerllaw Treffynon. Bu yno am bymtheng mis yn pregethu cyn cymeryd ei urddo. Urddwyd ef Gorphenaf 26ain, 1810, pryd y gweinyddwyd gan Meistri James Griffiths, Machynlleth; D. Jones, Treffynon; W. Williams, Wern; J. Jones, Liverpool; Dr. George Lewis, J. Lewis, Bala; T. Jones, Newmarket, ac eraill. Yn 1812, derbyniodd Mr. Davies alwad oddiwrth ei fam eglwys yn Nhrewyddel, a'r cangenau yn Aberteifi, a lleoedd eraill, ac aeth yno. Ond gwnaeth ddaioni mawr yn Rhesycae yn y tymor byr y bu yno. Adeiladodd yno gapel bychan, a chasglodd ddigon i dalu am dano cyn rhoddi gofal y lle i fyny. Wedi ymsefydlu yn Nhrewyddel ymroddodd a'i holl egni gyda gwaith y weinidogaeth yn ei holl gylch, ond yr achos nychlyd yn nhref Aberteifi gafodd ei sylw penaf, am mai hwnw oedd yn gofyn am fwyaf o ofal ar gyfrif ei wendid y pryd hwnw, a'r pwysigrwydd y gwelai unrhyw ddyn craffus fuasai yn perthyn iddo yn yr amser dyfodol. Cymerodd Mr. Davies ofal y baban nychlyd hwn, a thrwy ei ddoethineb, ei ddylanwad, a'i sylw cyson, a bendith yr Arglwydd ar ei lafur, daeth un o'r achosion eiddilaf yn yr holl wlad, flynyddau lawer cyn ei farwolaeth ef, i fod yn un o'r eglwysi mwyaf blodeuog a llewyrchus yn Nghymru. Y gwaith cyntaf yr ymaflodd ef ynddo wedi ymsefydlu yn yr ardal, oedd cynllunio i fyned yn mhell ac agos i gasglu er dileu y ddyled ar y capel anorphenedig yn y dref, ac i gael modd i'w orphen. Clywsom ef yn adrodd hanes taith gasglyddol a wnaeth ef a Mr. Griffiths, Glandwr, trwy y Gogledd yn y flwyddyn 1814. Buont ar y daith hono trwy holl siroedd y Gogledd, a llwyddasant i gael swm go dda o arian er gwaned oedd yr achosion yn y rhan fwyaf o'r Gogledd y pryd hwnw. Adroddai amryw bethau difyr a digrifol am ei helynt ef a'i gyd-deithiwr ar y daith hono. Un diwrnod buont yn teithio trwy wlaw mawr ac aeth y dwfr

trwy y god ledr oedd gan Mr. Griffiths y tu ol i'r cyfrwy nes gwlychu ei bregethau. Achwynai yn dost wrth Mr. Davies y noson hono oherwydd yr anffawd, ond atebodd yntau yn ei ddull digrifol:—"Y mae yn dda iawn genyf glywed fod eich pregethau wedi gwlychu ychydig, oblegid yr oeddynt yn rhyfeddol o sychion trwy yr holl daith hyd yma." Un noswaith aethant i ardal lle yr oedd yr achos yn wan iawn. Cyrhaeddasant at yr addoldy, o rywle pell, erbyn dechreu yr oedfa, ac ar y diwedd daeth gwraig yn mlaen atynt yn wyneb-drist iawn, a dywedodd wrthynt nad oedd un man iddynt lettya yn yr ardal hono ond yn ei thy bychan hi, a bod yn ddrwg ganddi orfod eu derbyn i'w thy y noson hono oherwydd bod ei mab un-arhugain oed yn gorwedd yn farw yno; ond yno y bu raid iddynt fyned, a buont yn gorwedd trwy y nos ar wely caled yn yr un ystafell a'r corph marw. Pa beth a ŵyr pregethwyr yr oes hon am y caledi yr aeth y tadau trwyddynt gyda sefydliad yr achosion sydd yn flodeuog yn awr? Yn fuan daeth yr achos yn Aberteifi i wisgo agwedd siriol, ac yn y flwyddyn 1814, ymgymerodd Mr. Davies a gofal yr achos bychan yn Nhyrhos, yr hwn a fu am flynyddau lawer dan ei ofal, ac a gynyddodd yn fawr yn y tymor hwnw. Gan nad oedd yr eglwysi am y blynyddau cyntaf yn gallu gwneyd ond ychydig iawn tuag at ei gynaliaeth, bu raid iddo am flynyddau gadw ysgol er cynal ei hun a'i deulu. Yn mhen ychydig amser eangodd maes ei lafur gymaint fel y bu raid iddo roddi gofal Trewyddel i fyny. Fel y gwelsom yn hanes Llechryd, cymerodd ofal y lle hwnw yn 1828, a bu yn foddion i gyfodi yr hen achos yno o farw i fyw; ac ystyriai Mr. Davies trwy ei oes mai un o brif orchestion ei fywyd oedd llwyddo i waredu capel Llechryd o afaelion yr Undodiaid; ac yr oedd yn ofynol wrth ddyn o'i graffder a'i gallineb ef i wneyd y gwaith. Tua yr un amser hefyd adeiladodd gapel yn Llandudoch, ac yn mhen ychydig flynyddau wedi hyny corpholwyd yno eglwys, yr hon sydd yn awr yn eglwys gref. Yn y flwyddyn 1837, adeiladodd gapel bychan i'r Saeson yn nhref Aberteifi, ac ar derfyniad ei dymor hirfaith a llafurus yn y weinidogaeth ffurfiwyd cangen fechan o eglwys Capel Mair yn eglwys yn Ffynonbedr, a chafodd ef yr anrhydedd o weinyddu y cymundeb cyntaf yno.

Wedi cyrhaedd ei bedwar-ugain-a-phedair oed, teimlai nad ydoedd mwyach yn alluog i lenwi ei gylch fel gweinidog, ac felly rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny yn Mai, 1864. Y pryd hwnw anrhegwyd ef a phwrs yn cynwys 120p. Rhoddodd yr arian hyny i Drysorfa yr hen Weinidogion, a derbyniodd yntau ddeg-punt-ar-hugain y flwyddyn o'r Drysorfa cyhyd ag y bu fyw, ond ni fu ef byw yn ddigon hir i dderbyn nemawr dros haner yr arian a dalasai i mewn. Ar ol rhoddi ei ofal gweinidogaethol i fyny parhaodd i bregethu yn gyson bob Sabboth yn Nghapel Mair neu pa le bynag y buasai galwad am ei wasanaeth, ac yr oedd digon o alwad am dano. Pregethodd hyd o fewn pythefnos i'w farwolaeth, ac yn y capel Saesonig yn Aberteifi y traddododd ei bregeth olaf. Bu farw Ionawr 18fed, 1867, yn 87 oed, ar ol llai na phythefnos o gystudd. Yn ei ddyddiau olaf yr oedd y clefyd wedi effeithio ar ei synwyrau, ond pan yr oedd ei reswm wedi ei ddymchwelyd, pethau anwylaf ei fywyd y soniai am danynt y pryd hwnw. Pregethu, gweddio, a dwyn yn mlaen wahanol ranau gwasanaeth cyhoeddus crefydd y byddai ddydd a nos nes i'w allu i lefaru ddarfod yn hollol, yna hunodd yn dawel ar fynwes ei Waredwr. Claddwyd ef gyda ei wraig a'i ferch, yr hon oedd ei unig blentyn, yn mynwent plwyf y Ferwig. Cyn cychwyn o'r ty darllenodd a gweddiodd

Mr. W. Davies, ei ganlyniedydd yn y weinidogaeth, yna aed a'r corph i Gapel Mair, lle y gweddiodd Mr. Lewis, Brynberian, ac y pregethodd Mr. Evans, Aberaeron, oddiwrth Dan. xii. 8, 9, 13. Yna traddodwyd anerchion difrifol gan Meistri Evans, Hebron; Davies, Glandwr, a Williams, Castellnewydd, a therfynwyd trwy weddi gan Mr. Williams, Trelech. Ar ddiwedd y gwasanaeth yn y capel, ymffurfiwyd yn orymdaith i fyned tua'r fynwent, ac er fod yr hin yn arw yr oedd yno filoedd o bobl yn awyddus am ddangos parch i un o weision ffyddlonaf yr Arglwydd. Nos Sabboth ar ol y claddedigaeth traddododd Mr. W. Davies y bregeth angladdol oddiwrth Deut. xxxiv. 5, 8, a 1 Thes. iv. 18, i dorf luosog a galarus. Ar gais cyfeillion yr ymadawedig argraffwyd y bregeth hon yn llyfryn.

Fel hyn y bu fyw ac y bu farw Mr. Daniel Davies, Aberteifi,—un o'r gweinidogion mwyaf llafurus, llwyddianus, ac enwog yn ei oes. Er mwyn y rhai na chawsant y fraint o weled a chlywed y gwr da, ymdrechwn roddi desgrifiad byr o'i berson, ei alluoedd, a'i nodwedd.

O ran ei berson, dyn canolig o faintioli ydoedd, tua phum' troedfedd a saith modfedd o daldra. Yr oedd o wneuthuriad cadarn a lluniaidd. O wynebpryd hardd ac edrychiad nodedig o dreiddgar. Gallasai y neb a edrychasai yn ei wyneb cyn iddo lefaru un gair fod yn sicr ei fod yn mhresenoldeb dyn uwch na'r cyffredin yn ei graffder a threiddgarwch ei feddwl. Ei fedr i ganfod cysylltiad y naill beth a'r llall, a'i allu i droi pob mater ac amgylchiad i ddybenion ymarferol, oedd nodwedd neillduol ei feddwl. Yr oedd yn ogyfuwch a'r dynion rhagoraf a adwaenasom erioed yn ei synwyr cyffredin. Gorchwyl rhy anhawdd i unrhyw ddiffaethwr na chyfrwysddyn fuasai ei brynu a'i werthu ef wrth eu hewyllys. Ni welsom ddyn erioed yn fwy medrus i fyned trwy amgylchiadau anhawdd a dyrus heb losgi ei fysedd na drygu yr achos a bleidid ganddo. Yr oedd yn uwch o'i ysgwyddau na phedwar-ar-bymtheg o bob ugain o'i frodyr yn y weinidogaeth am ei *gallineb*. Yn ei gyfeillach yr oedd yn ddifyrus i'r pen heb fod yn gellweirus, ac yr oedd ganddo y fath ystor ddihysbydd o hanesion difyrus ac addysgiadol fel na buasai perygl i un dyn ffol na chall flino ar ei gymdeithas.

Fel pregethwr yr oedd yn y rhes flaenaf, er nad oedd yn hollol ar ben y rhes hono. Nodweddid ei holl bregethau gan drefnusrwydd, eglurder, tôn efengylaidd, coethder chwaeth, rhwyddineb traddodiad, a phereidd-dra llais. Gwrandawsom amryw bregethwyr mwy hyawdl, a ysgydwent gynnulleidfaoedd gyda mwy o nerth, ac amryw a dreiddient yn ddyfnach i ddyfnderoedd pethau, ond ni wrandawsom neb erioed yn fwy difai yn mhob ystyr nag ef. Os na ellir ei gyffelybu i ryw raiadrau mawrion o ddyfroedd yn disgyn gyda grym aruthrol dros y creigiau, nac i ryw afon dawel, fawreddog, yn gorchuddio haner y dyffryn, ac yn cludo y cwbl ar ei mynwes, gellir yn briodol ei gyffelybu i afon o faint cymedrol yn dolenu trwy ddolydd breision a choedwigoedd prydferth nes gwneyd ei glanau yn baradwys hyfryd. Nid mawredd a nerth oedd ei nodwedd fel pregethwr, ond cyfanrwydd, tlysni, eglurder, a defnyddioldeb. Am bob un a ragorai arno fel pregethwr yr oedd cant islaw iddo.

Fel gwladwr, yr oedd yn anhawdd taro wrth ddyn mwy cyflawn nag ef. Gallasai roddi cyngor a chyfarwyddiadau llawn o synwyr cyffredin ar braidd bob peth perthynol i fan amgylchiadau bywyd. Edrychai ei holl gymydogion a'i gydnabod arno fel tad, ac ato ef yr elent am gynghor yn mhob amgylchiad dyrus, ac nid elent yn ofer. Dichon iddo weithiau,

gan ei ofal am hunanddiogelwch, gario ei gallineb mor bell fel y gallesid ei gyhuddo o gyfrwysdra. Mae pob dyn nodedig am ei synwyr cyffredin yn fwy agored i syrthio i'r eithafion hyn nag i'r un gwrthwynebol.

Fel gweinidog, bu mor ddefnyddiol, dylanwadol, a llwyddianus ag un yn ei oes, yn ol helaethrwydd y cylch yr oedd yn troi ynddo. Yr oedd Annibyniaeth yn Aberteifi a'r cylchoedd yn dra gwahanol ei hagwedd ar ddydd ei farwolaeth ef yn 1867, i'r hyn ydoedd ar ei sefydliad yn y lle yn 1812, ac i'w lafur a'i gallineb ef, gyda bendith yr Arglwydd, yr oedd y cyfnewidiad dymunol hwn i'w briodoli. Cafodd y fraint o lafurio yn y maes hwn am yr ysbaid hirfaith o ddeuddeng-mlynedd-a-deugain, ac yr oedd ei barch a'i ddylanwad yn cynyddu flwyddyn ar ol blwyddyn hyd nes i'r Arglwydd weled yn dda ostwng ei nerth ar y ffordd a byrhau ei ddyddiau. Y Brenin mawr yn ei ras tuag at ein cenedl a gyfodo lawer etto trwy Ddeheu a Gogledd Cymru o gymeriadau cyffelyb i'r dyn cyflawn a rhagorol hwn.

## FFYNONBEDR.

Capel bychan, ond nodedig o dlws, yw hwn, yn cynwys tua 150 o eisteddleoedd, o fewn tair milldir i Aberteifi, ac heb fod yn mhell o'r briffordd sydd yn arwain o'r dref hono i Aberaeron. Yr oedd awydd am gael capel Annibynol yn yr ardal hon er's deugain mlynedd, gan nad oedd un capel perthynol i'r enwad yn nes nag Aberteifi a Brynmair, a buasai capel wedi ei adeiladu yma er's blynyddau pe gallesid cael tir i'w adeiladu arno. O'r diwedd daeth tyddyn yn y gymydogaeth yn eiddo i Mr. David Williams, Treferddiuchaf, a rhoddodd ef haner erw o'r tyddyn hwnw at adeiladu capel a lle i gladdu y meirw. Adeiladwyd y capel yn y flwyddyn 1865, ac y mae Mr. Williams yn garedig wedi rhoddi y lle i'r gynnulleidfa am swllt y flwyddyn ar lês o 999 o flynyddau. Cyn gynted ag y cafwyd y capel yn barod corpholwyd yma eglwys o 26 o aelodau, gan mwyaf o Gapel Mair, Aberteifi. Gweinyddwyd y cymundeb cyntaf yma gan yr hen weinidog, Mr. Daniel Davies, Aberteifi. Wedi hyn bu yr eglwys fechan am bum' mlynedd dan ofal gweinidogaethol Mr. W. Davies, canlyniedydd Mr. D. Davies yn Aberteifi. Bu llafur Mr. Davies yma yn llwyddianus. Yn nhymor ei weinidogaeth ef talwyd y geiniog olaf o'r ddau-cant-a-haner o bunau a gostiodd yr adeiladaeth. Yn 1871, rhoddodd Mr. Davies ofal y lle i fyny, a dilynwyd ef yma gan Mr. W. Rees, Llechryd, ac efe yw y gweinidog yn bresenol. Mae yr aelodau yn awr yn 60 o rif, a'r capel yn agos yn llawn bob Sabboth. Mae yr achos bychan hwn mewn agwedd nodedig o lewyrchus.

## HOPE CHAPEL, ABERTEIFI.

Yn y flwyddyn 1837, ymsefydlodd Mr. Thomas Lloyd o Hwlffordd yn y dref hon fel masnachydd, a chan ei fod yn aelod ac yn bregethwr gyda'r Annibynwyr, ac yn anwybodus o'r iaith Gymraeg, darfu iddo trwy gymorth Mr. Daniel Davies, gweinidog Capel Mair, wneyd cynygiad ar ddechreu achos Saesonig yma. Cafwyd ychydig bersonau i gefnogi y cynygiad. Adeiladwyd yma gapel bychan a ffurfiwyd eglwys ynddo. Yn fuan wedi ffurfiad yr eglwys urddwyd Mr. David Phillips o athrofa

Rotherham yma. Wedi bod am ychydig flynyddau yn weinidog yn y lle, ymadawodd i'w ardal enedigol yn agos i Gilcenin, lle y mae etto, ond heb un cysylltiad rhyngddo a'r weinidogaeth. Wedi ei ymadawiad ef, rhoddwyd galwad i Mr. Richard Hancock, o athrofa Aberhonddu, yn y flwyddyn 1849, a bu yntau yma am ychydig flynyddau. Symudodd i Lanelli, sir Gaerfyrddin. Y gweinidog nesaf yma oedd Mr. R. Breeze. Ni bu ei arosiad yntau yn y lle ond o ddwy i dair blynedd. Yn 1861, urddwyd Mr. D. Jones yma, yr hwn oedd ar y pryd yn fyfyriwr yn ysgol Mr. D. Palmer, B.A., yn y dref hon. Bu ef yma tua chwe' blynedd. Symudodd oddiyma i Gastellnedd, ac oddiyno i'r America, lle y mae yn bresenol. Y gweinidog nesaf yma oedd Mr. J. N. Richards, myfyriwr o athrofa Aberhonddu. Bu ef yma o 1869 hyd 1873, pryd y symudodd i Benygroes, sir Benfro. Yn fuan wedi ei ymadawiad ef rhoddwyd galwad i Mr. Lewis Beynon o Gaerodor, ac efe yw y gweinidog yma yn bresenol. Achos bychan a gwan iawn yw hwn wedi bod o'i gychwyniad hyd yn bresenol, ac nis gall lai na bod felly gan nad yw poblogaeth Saesonig y dref ond bechan iawn, a bod y rhan fwyaf o'r cyfryw yn Eglwyswyr, pe byddent yn rhywbeth. Bu amryw gyfnodau o flwyddyn ac ychwaneg rhwng ymadawiad y naill a sefydliad y llall o'r gweinidogion uchod. Mr. Daniel Davies fyddai ar yr adegau hyny yn gwasanaethu fel gweinidog yma. Yr oedd ef yn teimlo dyddordeb mawr yn yr achos Saesonig, am yr ystyriai fod bodolaeth Ymneillduaeth yn Nghymru yn y blynyddau dyfodol yn ymddibynu ar gael achosion Saesonig yn mhob tref ac ardal boblog. Yn Saesonig yn y capel hwn y traddododd Mr. Davies y bregeth olaf a bregethwyd ganddo. Mae Mr. T. Lloyd, yr hwn a ddechreuodd yr achos gyda Mr. Davies, etto yn fyw yn y Casnewydd, Mynwy. Merch iddo ef yw gweddw y diweddar Mr. David Dudley Evans, gweinidog y Bedyddwyr yn y dref hono.

## Y DREWEN.

Saif yr addoldy henafol hwn ar lan y Teifi, yn mhlwyf Bryngwyn, o fewn milldir a chwarter i'r gogledd-orllewin o dref Castellnewydd-Emlyn. Yr oedd Ymneillduaeth wedi ymdaenu yn yr ardal hon yn gynar yn yr ail-ganrif-ar-bymtheg. Yn 1672, cafodd ty John James yn Cenarth ei drwyddedu i fod yn dy cyfarfod i'r Annibynwyr, a chafodd James Davies ei drwyddedu yr un dydd i fod yn bregethwr yn y ty hwnw. Mae yn ddiameu fod pregethu yn beth cyffredin yn anedd-dai y gymydogaeth hon, o bob tu i'r Teifi, yr amser hwnw, ac o'r pryd hwnw hyd yr amser yr adeiladwyd capel y Drewen y waith gyntaf. Nid ydym yn gwybod enwau y tai yn mha rai yn benaf y cynelid y moddion. Pa bryd y ffurfiwyd y dysgyblion yn yr ardal hon yn eglwys a chan bwy y gwnaed hyny sydd anhysbys i bawb yn yr oes hon. Ond pa bryd bynag y ffurfiwyd hi mae yn wybyddus mai cangen o'r fam eglwys yn Llechryd yr ystyrid hi hyd sefydliad Mr. Benjamin Evans yma yn 1779. Yn y flwyddyn 1737, yr adeiladwyd y capel cyntaf yma. Agorwyd ef Gorphenaf 16eg yn y flwyddyn hono, pryd y pregethodd Mr. Henry Palmer, Henllan, oddiwrth Gen. xxviii. 17, a Mr. Lewis Jones oddiwrth 2 Cor. vi. 18. Cofrestrwyd ef fel ty addoliad yn y mis canlynol i'w agoriad. Rhif yr aelodau y pryd hwnw oedd haner cant o frodyr a thua yr un nifer o chwiorydd. Mae yn ymddangos i Mr. Lewis Jones o Lanedi ymgymeryd a'r weinidogaeth yma

ac yn Llechryd y pryd hwn, fel cynorthwywr i Mr. David Sais, ond nid ymddengys iddo aros yma dros flwyddyn neu ddwy o hwyaf, canys cafodd Mr. David Evans ei urddo yn Llechryd i fod yn weinidog i'r ddwy eglwys yn 1739, a thua yr amser hwnw yr ymsefydlodd Mr. Jones yn Mhenybont-ar-ogwy. Yr ydym yn cael ein gogwyddo i dybied mai un genedigol o'r ardal hon ac aelod gwreiddiol o'r eglwys hon oedd Mr. Lewis Jones. Wedi marwolaeth Mr. D. Sais yn 1741, dewiswyd Mr. David Griffiths yn gynorthwywr i Mr. David Evans yn Llechryd a'r Drewen. Bu y ddau le dan eu gofal unol hwy hyd farwolaeth Mr. Evans yn 1773, ac yna am ychydig flynyddau dan ofal Mr. Griffiths ei hun. Yn 1779, penderfynodd yr eglwys yn y Drewen ddatod ei chysylltiad gweinidogaethol a Llechryd, a mynu gweinidog iddi ei hun. Yn y flwyddyn hono rhoddwyd galwad i Mr. Benjamin Evans, y pryd hwnw o Hwlffordd. Cydsyniodd yntau a'r alwad ar yr amod iddo gael bod at ei ryddid i draddodi iddynt holl gynghor Duw, fel y credai ac y deallai efe ef. Yn yr amser hwnw yr oedd rhyw gymysgedd rhyfedd wedi dyfod i mewn i'r eglwysi Ymneillduol, yn enwedig yn siroedd Aberteifi, Caerfyrddin, a Morganwg. Yr oedd yn mysg y cymunwyr a'r gwrandawyr, mewn amryw o honynt, Galfiniaid, Arminiaid, Pelagiaid, Ariaid, a rhai yn dechreu gogwyddo at Undodiaeth noeth. Er cadw y cymysgedd hwn yn nghyd heb ymranu i wahanol gynnulleidfaoedd neu enwadau, ystyrid yn angenrheidiol i'r gweinidogion yn eu pregethau gyfyngu eu hunain i ddyledswyddau ymarferol crefydd yn unig, heb gyffwrdd ag un pwngc y gallasai fod gwahaniaeth barn yn ei gylch. Felly y gwnelai llawer o'r gweinidogion, a thrwy hyny ni chlywai eu cynnulleidfaoedd air o ddechreu y flwyddyn i'w diwedd am y pethau a ystyriai y Calfiniaid yn wirioneddau hanfodol yr efengyl. Ystyrid pob gweinidog na chadwai at y rheol hon yn un cul, rhagfarnllyd, anfoneddigaidd, ac yn derfysgwr heddwch y cynnulleidfaoedd. Cydunodd eglwys y Drewen i dderbyn Mr. Evans ar yr amodau a osodasai efe iddynt, ond mae yn debygol fod rhai o'r blaid wrth-Galfinaidd o honynt yn meddwl y buasai ef yn ddigon o ŵr boneddig i wneyd aberth o bob peth er mwyn heddwch, ond yn hyn camgymerasant eu dyn. Yr oedd Mr. Evans yn ŵr boneddig yn holl ystyr yr ymadrodd, ond nid ystyriai ef mai boneddigeiddrwydd mewn gweinidog fuasai celu oddiwrth ei wrandawyr yr hyn a ystyriai fel y gwirioneddau pwysicaf yn y Bibl, er mwyn cadw pob math o ddynion yn nghyd yn un gynnulleidfa. Ar y dechreu efe a arferodd lawer o bwyll a doethineb, fel y gallasai, os byddai modd, ennill ei wrandawyr oll i'r un golygiadau ag yntau. Ystyriai mai annoethineb fuasai tarfu neb ymaith os gallasid eu cadw heb fradychu y gwirionedd. A llwyddodd, trwy ei arafwch a'i ddoethineb, i gadw y rhan fwyaf o honynt, ond o radd i radd aeth tôn ei weinidogaeth yn rhy efengylaidd i rai i'w goddef, a'r canlyniad fu iddynt ymadael, ond ymadael i roddi lle i'w gwell wnaethant. Yn raddol daeth yr eglwys gymysglyd hon yn un o'r eglwysi iachusaf ei barn yn y Dywysogaeth. Bu gweinidogaeth Mr. Evans yn nodedig o lwyddianus yma, ac yn yr holl wlad oddiamgylch o'r afon Teifi hyd y Ceinewydd a Llangranog. Fel y nodir yn eu lleoedd priodol, ffrwyth ei lafur ef yw y cynnulleidfaoedd lluosog sydd yn awr yn Hawen, Glynarthen, Penrhiwgaled, Pisgah, a Chapel-y-wig. Yn 1814, ail-adeiladwyd capel y Drewen. Traul yr adeiladaeth y pryd hwnw oedd 400p., heb gyfrif cludiad y defnyddiau, a phethau eraill. Cafodd y ty hwn ei adgyweirio yn 1843, a thrachefn yn 1859, dygwyd ef i'w ffurf bresenol trwy draul o 200p. Ni

bu yr eglwys hon allan o'i hardal ar un cyfnod o'i hanes yn casglu at dreuliau ei hadeiladaethau, etto cadwai ei drws yn wastad yn agored i apeliadau am gymorth oddiwrth leoedd gweiniaid yn mhob parth o Gymru.

Gan fod maes gweinidogaethol Mr. Evans mor ddirfawr o helaeth, yn cynwys y Drewen, Hawen, Glynarthen, Penrhiwgaled, a Chapel-y-wig, bu raid iddo edrych allan am gynorthwywr yn y weinidogaeth, ac yn 1814, rhoddodd ef a'r eglwysi alwad i'w nai, Mr. Thomas Griffiths, Horeb, i ddyfod yn gynorthwywr iddo. Bu Mr. Griffiths yn cydlafurio a'i ewythr yn yr holl gylch hyd 1818, pryd y cyfododd rhyw deimladau annymunol rhyngddo a rhai o brif aelodau y Drewen, yr hyn a derfynodd yn ei ymadawiad a'r eglwys hon. Bu yr amgylchiad yn ddolur tost i'w deimladau ef a'i ewythr oedranus. Nid ydym yn ddigon hysbys o holl fanylion yr achos gofidus hwn i allu ei osod yn gyflawn ger bron ein darllenwyr, pe byddai hyny yn fuddiol. Yn gyffredin mewn pob anghydfod y mae rhyw fai neu annoethineb o bob tu, ond pa fodd bynag y bu yn yr achos hwn, mae y ffaith yn hysbys i eglwys y Drewen ymwrthod ag un o'r gweinidogion goreu a fagodd Cymru erioed, ac iddi wrth wneuthur hyny fyned yn mhell i dori calon ei hen weinidog parchus a defnyddiol ar derfyn bywyd hirfaith o lafur llwyddianus. Mae yn dra thebyg i lawer, os nad pawb o'r rhai a gyfodasant yn erbyn Mr. Griffiths, weled eu camgymeriad pan yr oedd wedi myned yn rhy ddiweddar. Gan eu bod oll cyn hyn wedi ymddangos ger bron eu Barnwr, ac fel yr hyderwn, wedi cael maddeuant am yr hyn fu yn feius ynddynt, ni byddai o un bydd i neb i ni ychwanegu rhagor yn nghylch yr helynt gofidus.

Wedi ymadawiad Mr. Griffiths, ac am ryw faint o amser cyn hyny, nid oedd yr hen weinidog, Mr. Evans, yn alluog i bregethu dim oherwydd cystudd a llesgedd henaint, ond bu fyw hyd 1821. Yn 1819, rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. Watkin Williams, o athrofa Llanfyllin, ac urddwyd ef yma Mehefin 3ydd, y flwyddyn hono. Nid ydym wedi cael lle i ddeall fod dim ond tri gweinidog yn cymeryd rhan yn ngwasanaeth yr urddiad, sef Meistri Davies, Aberteifi; Jones, Saron, a Jones, Trefdraeth. Diehon mai ymddygiad diweddar yr eglwys tuag at Mr. Griffiths, a'u gofal rhag dolurio teimladau yr hen weinidog cystuddiedig, a barodd i'r gweinidogion cymydogaethol beidio dyfod i gyfarfod yr urddiad. Nis gallasai fod gan ddynt ddim yn erbyn Mr. Williams, canys yr oedd yn ddyn ieuangc rhagorol ac o gymeriad difai. Ychydig fu tymor gweinidogaeth Mr. W. Williams yma, ond bu yn barchus a llwyddianus iawn yn ei dymor byr. Yn ystod y pum' mlynedd y bu yma derbyniodd ddau-cant-a-deg o aelodau i'r eglwys. Bu farw yn mlodeu eu ddyddiau yn 1824. Bu yr eglwys am bedair blynedd ar ol ei farwolaeth ef yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol. Yn [illegible] galwad i Mr. John Phillips, mab Dr. Phillips, Neuaddlwyd, ac urddwyd ef yma Gorphenaf 31ain, y flwyddyn hono. Yr oedd chwech-ar-hugain o weinidogion yn wyddfodol yn ei urddiad. Dywedodd ei dad ar ddydd ei urddiad wrth yr eglwys am iddynt beidio bod yn gas wrtho. "Pan flinoch arno," meddai, "anfonwch ef at Mari ei fam, canys y mae ganddi hi olwg fawr arno, pa beth bynag fydd eich barn chwi am dano." Bu Mr. Phillips yn barchus a llwyddianus iawn yma am yr ychydig amser y caniataodd yr Arglwydd iddo nerth i gyflawni ei weinidogaeth. Yn fuan wedi ymsefydlu yma aeth Mr. Phillips yn lled fynych i bregethu i le a elwir Cilfod, tu arall i'r afon, yn mhlwyf Cenarth, lle yr oedd pregethu lled gyson wedi bod am fwy nag ugain

mlynedd, ond trwy ei weinidogaeth boblogaidd ef y rhoddwyd y fath gychwyniad i bethau da yn yr ardal, fel yr adeiladwyd capel Brynseion, ac y ffurfiwyd ynddo eglwys, yr hon sydd mewn rhan yn gangen o'r Drewen. Bu Mr. Phillips yn gweinidogaethu i'r eglwys ieuangc hon cyhyd ag y bu yn y Drewen. Yr oedd eglwys y Drewen yn flodeuog iawn yn nhymor gweinidogaeth Mr. Phillips. Cynwysai tua 600 o aelodau, ac ar y Sabbothau cymundeb nid oedd lle iddynt oll yn y capel fel yr oedd y diaconiaid yn gorfod myned a'r elfenau y tu allan i'r drysau i'r rhai a safent yno. Byddai rhai o'r aelodau y pryd hwnw yn dyfod yno o saith ac wyth milldir o bellder, ac mor rhagorol oedd yr oedfaon hyny fel y teimlent ac y dywedent eu bod yn cael eu talu yn dda am eu trafferth i ddyfod yno. Wedi i Mr. Phillips lafurio yma gyda llwyddiant a pharch anghyffredin am bum' mlynedd, gwaelodd ei iechyd fel y bu raid iddo roddi y weinidogaeth i fyny yn 1833. Wedi ei ymadawiad ef bu yr eglwys drachefn am tua phedair blynedd yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol, yna rhoddasant alwad i Mr. Stephen Jones, o athrofa Rotherham, gwr ieuangc genedigol o ardal Cilcenin. Urddwyd ef yma Medi 28ain a'r 29ain, 1837. Yr oedd y gweinidogion canlynol yn wyddfodol ar yr achlysur, ac amryw o honynt yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth:—Meistri O. Owens, Bwlchnewydd; W. Evans, Neuaddlwyd; D. Thomas, Penrhiwgaled; T. Evans, Aberhonddu; D. Jones, Cydweli; E. Rees, Brynseion; J. Evans, Penygroes; S. Griffiths, Horeb; T. Griffiths, Hawen; D. Davies, Pantteg; D. Davies, Llundain, ac eraill. Ni bu arosiad Mr. Jones yma ond dros flwyddyn neu ddwy; ymadawodd ac ymsefydlodd fel masnachydd yn Erwood, Brycheiniog, lle y mae hyd yn bresenol. Mae yn parhau i bregethu yn achlysurol, ac yn ddyn o gymeriad difrycheulyd. Yn y flwyddyn 1840, rhoddwyd galwad i Mr. Robert Jones, o sir Gaernarfon, yr hwn a fuasai yn perthyn i'r Methodistiaid Calfinaidd. Wedi ymuno a'r Annibynwyr bu am ychydig amser yn Dublin yn derbyn addysg dan arolygiad Dr. Urwick. Urddwyd ef yn y Drewen, Rhagfyr 24ain, 1840. Gweinyddwyd yn yr urddiad gan Meistri Davies, Glandwr; Davies, Aberteifi; Jones, Glynarthen; Evans, Penygroes; Griffiths, Horeb, ac eraill. Bu ef yn dal cysylltiad gweinidogaethol a'r lle hwn am oddeutu deng mlynedd, ac am rai blynyddau bu yn lled lwyddianus a pharchus, ond yn hir cyn diwedd ei oes yr oedd pob cysylltiad rhyngddo a'r weinidogaeth wedi darfod. Wedi ei ymadawiad ef bu yr eglwys drachefn tua thair blynedd heb weinidog sefydlog. Yn ngwanwyn 1853, rhoddwyd galwad i Mr. David Jones, o Dalysarn, sir Gaernarfon. Un genedigol o sir Gaerfyrddin yw Mr. Jones, ac yn athrofa Caerfyrddin yr addysgwyd ef. Bu ef yn weinidog yn y Drewen a'r cangenau yn Bethesda a Bryngwyn o fis Mai 1853 hyd fis Medi, 1865, pryd yr ymfudodd i'r America. Yr oedd eglwys y Drewen pan ddechreuodd ef ei weinidogaeth yma wedi lleihau yn fawr oherwydd ffurfiad y cangenau yn Bethesda a Bryngwyn, fel nad oedd rhif yr aelodau yn y fam eglwys yn 1853 ond 250. Yn mhen tua blwyddyn wedi ymadawiad Mr. D. Jones, rhoddwyd galwad i Mr. T. Selby Jones, y gweinidog presenol. Gan nad oedd y pryd hwnw wedi gorphen ei amser yn athrofa Aberhonddu, arosodd yr eglwys iddo i'w orphen, ac felly ni chafodd ef ei urddo cyn Medi 20fed, 1867. Yr oedd y rhan fwyaf o weinidogion y sir, ac amryw o siroedd eraill, yn bresenol yn yr urddiad. Nid ydym yn gwybod am unrhyw gyfnewidiad neillduol sydd wedi cymeryd lle yn amgylchiadau

yr achos yma yn nhymor gweinidogaeth y gweinidog presenol. Gellir disgwyl yn naturiol fod llawer o gymeriadau rhagorol wedi bod yn dal cysylltiad ag eglwys henafol a lluosog fel hon o bryd i bryd, ond ni oddefa ein terfynau i ni wneyd ychwaneg na chrybwyll enwau ychydig o honynt. David Davies, Penybwliaid, oedd ddyn o ysbryd hynaws iawn, ac yn dra gofalus am gydweithredu a'r eglwys yn wastadol. Daniel Jones, y Porth, oedd ddyn da a chymeradwy. Bu ei borth ef am lawer o flynyddau yn agored i dderbyn cenhadau Crist o ba le bynag y deuant. Phillip Davies, masnachydd, Castellnewydd-Emlyn, oedd yn enwog am ei gallineb, ei ffyddlondeb, a'i wasanaeth i'r achos. Mae ei fywyd pur yn perarogli hyd heddyw, a'i goffadwriaeth yn fendigedig. David Morris, Blaensilltin, oedd ŵr cadarn yn yr Ysgrythyrau, ac o fywyd hollol ddiargyhoedd. Josuah Griffiths, Penalltgeriuchaf, a fu yn arweinydd ffyddlon i'r eglwys am flynyddau lawer. Yr oedd ei ddylanwad yn yr eglwys a'r ardal yn ddirfawr ar gyfrif ei alluoedd a'i dduwioldeb. Claddwyd ef yn mynwent y Drewen Medi 8fed, 1853, ac y mae yr englyn canlynol i'w weled yno ar ei gareg fedd :—

"Hîl Griffiths hael a graffant—draw oesau,
O draserch hwy deimlent
Yn foddus pan ganfyddant
Hyn o son am yr hen sant."

At y rhai uchod gellid ychwanegu enwau Lewis Evans, John Jones, David Davies, John Williams, David Jones, ac amryw eraill. Y diaconiaid presenol ydyw David Evans, Cwmcoy, yr unig un o'r rhai a dderbyniwyd gan Mr. Evans sydd wedi ei adael yn weddill gan angau ; Owen Davies, Llwynbedw; David Jones, Clinte; John Davies, Parc; Rees Rees, Thomas Jones, a Richard James.

Cyfodwyd yma lawer o bregethwyr o bryd i bryd. Cynwysa y rhestr ganlynol enwau amryw o honynt, ond mae yn dra sicr ei bod yn mhell o fod yn gyflawn :—

Bnnjamin Evans, St. Florence, sir Benfro. Gwelir ei hanes ef yn nglyn a'r eglwys yn y lle hwnw.

Evan Prossor. Ni chawsom un hysbysrwydd pellach am dano na'i enw.

John Owens, Ffynonoer. Urddwyd ef yn y Gogledd, ond nis gwyddom yn mha le yno.

David Jones, y Porth. Bu ef farw pan yn fyfyriwr yn yr athrofa yn Nghaerfyrddin.

Owen Owens. Gweler ei hanes ef yn nglyn a'r Bwlchnewydd, lle y treuliodd ei oes weinidogaethol.

David Lloyd, Penalltybie. Addysgwyd ef yn athrofa Coward, Llundain, ac urddwyd ef yn Leamington, yn 1834, lle y bu am nifer o flynyddau. Oherwydd diffyg iechyd y mae wedi gorfod rhoddi i fyny y weinidogaeth er's blynyddau bellach. Yn Clifton, gerllaw Bristol, y mae yn cyfaneddu yn awr.

James James (Iago Emlyn). Bu ef yn weinidog yn Llanelli, sir Gaerfyrddin, ac yn Nghaerdydd am ychydig amser. Y mae yntau yn cyfaneddu yn Clifton er's blynyddau, ac yn pregethu yn achlysurol, ond heb ofal gweinidogaethol.

Thomas Lloyd, Hafodfach. Urddwyd ef yn rhyw le yn Lloegr, ond nis gwyddom yn mha le yno.

Thomas Lloyd, Cwmbarre. Bu ef am dymor yn weinidog yn y Watford, Morganwg. Y mae yn awr yn byw yn agos i Gaerfyrddin.

Thomas Jones, gweinidog yr eglwysi yn Cilcenin a Dyhewyd.

William Jones, gweinidog yr eglwys yn Mhentretygwyn.

David Davies, gweinidog yr eglwysi yn Cerygcadarn a Gwenddwr.

Daniel Jones, y Porth. Bu farw yn fuan wedi iddo ddechreu pregethu.

John Davies, Trecwn. Urddwyd ef yn Ceidio, ac wedi hyny trodd at y Methodistiaid. Bu farw yn America.

John R. Davies, yr hwn sydd yn awr yn fyfyriwr yn athrofa y Bala.

Mae y fam eglwys yn y Drewen yn parhau yn gref er cynifer o gangenau sydd wedi myned allan o honi o'r dechreuad hyd yn bresenol. Rhifa yr aelodau yn awr rhwng dau cant a haner a thri chant. Mae y capel yn sefyll ar ddarn o dir a roddwyd i'r eglwys, yn 1814, gan John Griffiths, Ysw., Penywenallt, ar lês o 900 o flynyddau am swllt y flwyddyn o ardreth. Gan nad oedd tir wrth y capel at gladdu y meirw, prynodd yr eglwys yn 1845 ddarn o dir tua chwarter milldir oddiwrth y capel at gladdu y meirw. Mr. Owen Davies, Llwynybedw, a werthodd y tir hwn i'r eglwys am driugain punt. Dylem grybwyll hefyd fod ysgoldy cyfleus wrth y capel, a bod y capel, yr ysgoldy, y fynwent, a'r cwbl a berthyn i'r achos, yn rhydd o ddyled. Mae yma gynnulleidfaoedd lluosog yn gwrandaw, ac ysgol Sabbothol flodeuog.*

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Benjamin Evans. Ganwyd ef mewn lle a elwir Ffynonadda, yn mhlwyf Melyne, sir Benfro, Chwefror 23ain, 1740. Yr oedd ei dad, Daniel Evans, yn aelod selog ac yn ddiacon gyda'r Bedyddwyr, a'i fam, yr hon oedd yn ddynes rhagorol iawn, yn aelod gyda'r Annibynwyr yn Brynberian. Dysgodd ei fam ef i ddarllen ei Fibl yn yr iaith Saesonig pan nad oedd dros bum' mlwydd oed. Yn yr oed tyner hwn anfonwyd ef i'r ysgol, ac yno y bu nes yr oedd yn bymtheng mlwydd oed. Bu am dymor yn Monkton, yn Nglandwr, ac yn Hwlffordd yn yr ysgol. Wedi dyfod adref o'r ysgol bu am flynyddau yn arolygu y fferm gyda'i dad, yr hwn hefyd oedd yn masnachu mewn anifeiliaid. Pan yn 24 oed ymunodd a'r eglwys Annibynol yn Nhrewyddel. Gan fod ei dad wedi gwrthod iddo gael ei fedyddio yn ei fabandod, bedyddiwyd ef wrth ei dderbyn i gymundeb eglwysig. Cwynai ef yn dost oherwydd iddo fod cyhyd cyn ymostwng i wneyd proffes o grefydd, a bu hyny yn ofid iddo tra y bu fyw. Cyn pen blwyddyn wedi ei dderbyn yn aelod anogodd yr eglwys ef i ddechreu pregethu. Wedi cael prawf o'i gymhwysderau yn ei fam eglwys, anogwyd ef i fyned am daith i bregethu er ystwytho ei ddoniau, a bod o fwy gwasanaeth i grefydd nag y gallasai fod wrth lechu gartref. Aeth ar ei daith trwy siroedd Caerfyrddin, Morganwg, a Mynwy. Pan yn y Mynyddbach anogodd Mr. Lewis Rees ef i ymweled a'r Gogledd, ac yn neillduol a Llanuwchllyn. Aeth yno, a chymhellwyd ef gan yr eglwys i aros yno am ychydig ar brawf. Canlyniad y prawf fu iddynt roddi galwad unfrydol iddo. Yn niwedd y flwyddyn 1768, dychwelodd adref, lle y priododd ag Anne Lloyd, merch Mr. David Lloyd, gweinidog Brynberian. Yn gynar yn y flwyddyn 1769, dychwelodd i Lanuwchllyn, lle yr urddwyd ef, ac y bu yn llafurio yn llwyddianus a diwyd iawn am yn agos i naw mlynedd. Pregethodd lawer

* Llythyr Mr. T. Selby Jones.

iawn mewn gwahanol barthau o'r Gogledd yn ystod ei arosiad yn Llanuwchllyn. Byddai yn myned yn fynych i Ddolgellau ac Abermaw, a chyn cael gan yr ynadon drwyddedu ty iddo at bregethu yn Abermaw, bu raid iddo eu gorfodi i wneyd hyny trwy gael *mandamus* o'r *King's Bench.* Bu y tro hwnw yn foddion i gyfodi mesur o ddychryn ar erlidwyr Ymneillduaeth. Bu mewn perygl ragor nag unwaith yn y Gogledd o gael ei guro a'i niweidio gan heidiau o erlidwyr, ond diogelodd yr Arglwydd ef mewn modd rhyfeddol. Pan yr oedd un tro yn dychwelyd adref o Ddolgellau, gosododd nifer o elynion dair dynes ysgeler ar y bont yr oedd i fyned drosti i'r dyben o frawychu yr anifail fel y buasai ef a'i anifail yn syrthio i'r afon. Pan aeth yn mlaen at y bont, edrychodd yn siriol ar y tair dynes a chyfarchodd hwynt mor garedig, nes y methasant gasglu digon o wroldeb a chreulondeb i wneuthur dim iddo ef na'i anifail. Wedi iddo fyned heibio gwaeddodd un o efail y gof gerllaw, lle yr oedd nifer yn disgwyl cael gweled "Y Pengrwn" yn syrthio i'r afon, "Paham y darfu i chwi ei adael i fyned heibio yn lle ei fwrw i'r afon?" Atebodd y merched, "Pwy allasai wneyd dim i ddyn mor siriol a hwn yna?" Wedi bod rai blynyddau yn Llanuwchllyn, teimlai fod y tarth a gyfodai o lyn Tegid yn niweidiol i'w iechyd ef a'i wraig, ac felly penderfynodd symud oddiyno. Yn y flwyddyn 1777, derbyniodd alwad oddiwrth yr eglwys yn Nghapel Albany, Hwlffordd, a symudodd yno. Ni bu ei arosiad yno yn hir oherwydd iddo yn fuan gael allan fod yr eglwys yno yn cael ei llywodraethu yn hollol gan ddau neu dri o bersonau, yr hyn a ystyriai ef yn niweidiol ac yn groes i Annibyniaeth ysgrythyrol. Mehefin 27ain, 1779, symudodd i'r Drewen, lle y treuliodd weddill ei oes. Cafodd yno gryn lawer o ofidiau yn nechreuad ei weinidogaeth oddiwrth aelodau afiachus yn eu barn, ond trwy ei ofal, ei bwyll, a'i ddoethineb, llwyddodd heb nemawr o ystwr i lanhau yr eglwys o'r afiechyd fuasai yn ymgasglu ynddi yn raddol am tua haner can' mlynedd cyn ei ddyfodiad ef i'r lle. Tua deg neu ddeuddeng mlynedd cyn iddo ef ymsefydlu yn y Drewen, yr oedd cangen o'r eglwys hono wedi cyfodi addoldai bychain yn mhlwyfydd Troedyraur a Phenbryn, ac yn fwy efengylaidd yn eu golygiadau na'r fam eglwys. Y lleoedd bychain hyn yw dechreuad yr eglwysi blodeuog sydd yn awr yn Hawen a Glynarthen. Cymerodd Mr. Evans y lleoedd hyn dan ei ofal a chynyddasant dan ei nawdd ef a bendith y Goruchaf i fod yn ddwy gynnulleidfa luosog. Yr oedd hefyd rai o aelodau y Drewen yn byw yn mhlwyfydd Llangranog, Llandysiliogogo, Llan-llwch-haiarn, a Llanarth. Cydaddolai y defaid gwasgaredig hyn ag ychydig Fedyddwyr oeddynt yn wasgaredig ar hyd yr un ardaloedd. Canlyniadau ymweliad Mr. Evans a hwynt fu ffurfiad yr eglwys yn Mhenrhiwgaled a'r holl gangenau mawrion a gyfodasant o honi. Bu ei lafur a'i lwyddiant ef o Deifi hyd y mor, yn y rhan isaf o sir Aberteifi, yn ddirfawr, ac yn nodedig o lwyddianus. Flynyddau yn ol dywedai un hen ŵr craffus, na fuasai capel gan neb ond yr Annibynwyr trwy yr holl wlad o Aberaeron a Llandysul i Aberteifi pe buasai Mr. Evans wedi ymsefydlu yn y Drewen bymtheng neu ugain mlynedd yn gynt nag y gwnaeth. Wedi bywyd o lafur dibaid am fwy na haner can' mlynedd, nesaodd yr amser i'r gwas ffyddlon hwn gael ei alw i orphwys. Er ei fod wedi myned i wth o oedran, parhaodd i deithio a phregethu yn ddibaid hyd fis Hydref, 1816, pryd y cafodd wely llaith ar un o'i deithiau, yr hyn a lanwodd ei gyfansoddiad oedranus a'r gymalwst, ac a hollol ddiffrwythodd ei fraich ddeheu. Ni allodd wneuthur nemawr gyda phregethu

ar ol hyny. Dyoddefodd ei gystudd hirfaith gydag amynedd ac ymostyngiad tawel i ewyllys yr Arglwydd. Yr oedd yn amlwg i bawb a ymwelent ag ef yn y pum' mlynedd cystudd a gafodd, yn niwedd ei oes, ei fod yn addfedu yn hyfryd i'r nefoedd. Dydd Sadwrn, Chwefror 24ain, 1821, aeth ei anadl i fyrhau yn fawr, ond heb arwydd neillduol o boen. Parhaodd i fyned fyrach fyrach hyd Mawrth 2il, 1821, pryd yr anadlodd allan ei enaid i fynwes ei Arglwydd, yn 81 oed. Yr oedd ar y pryd yn eistedd yn ei gadair, cauodd ei lygaid fel pe buasai yn myned i gysgu, ac mewn ychydig eiliadau yr oedd wedi myned "oddicartref o'r corph." Diwrnod neu ddau cyn iddo farw gofynodd ei nai, Mr. Griffiths, Hawen, iddo pa fodd yr oedd yn teimlo. Atebodd, "Yr wyf yn gweled cynllun iachawdwriaeth mor oleu a chanol dydd; mae fy enaid yn ymhyfrydu ynddo." Dro arall gofynodd Mr. Griffiths iddo a oedd ganddo ryw gyngor i'w roddi iddo ef cyn yr ymadawai a'r byd. Atebodd, "Bwrw dy faich ar yr Arglwydd, ac efe a'th gynal" Claddwyd ei gorph yn barchus mewn daeargell y tu cefn i'r pulpud yn Nghapel Hawen. Ar ddydd y claddedigaeth cyn cychwyn o'r ty, wrth y Drewen, gweddiodd Mr. M. Jones, Trelech; yn Hawen, gweddiodd Mr. D. Davies, Aberteifi, a phregethodd Mr. D. Peter, Caerfyrddin, oddiwrth Ioan v. 35, a Dr. Phillips, Neuaddlwyd, oddiwrth Actau viii. 2. Y Sabboth canlynol pregethodd ei nai, Mr. Griffiths, oddiwrth 2 Bren. ii. 9, 12.

Nid ydym mor alluog i roddi desgrifiad o neillduolion person a chymeriad y gweinidog enwog hwn ag o'r rhai y cawsom y fraint o'u gweled, eu clywed, a chyfeillachu a hwynt. Clywsom y rhai a'i hadwaenent yn dyweyd mai dyn lled fyr o wneuthuriad cadarn a lluniaidd ydoedd; ei fod o edrychiad treiddgar, a'i lais yn hytrach yn gras ond yn eglur, ac heb fod yn aflafar. Fel pregethwr, yr oedd yn alluog, tarawiadol, a nodedig o adeiladol i'w wrandawyr. Dywedai lawer o synwyr mewn brawddegau byrion a miniog. Nid arferai, fel llawer o'i gydoeswyr, ddyweyd pethau i beri i'w wrandawyr chwerthin, ond rhai prydiau diferai ymadroddion nas gallasai neb lai na'u cofio a gwenu wrth eu clywed. Adroddai Mr. Davies, Aberteifi, wrthym flynyddau yn ol, ei fod unwaith yn pregethu yn Aberteifi, ac mewn rhyw gysylltiad daeth y gair *gout* ar ei ffordd. "*Gout*," meddai, "*go out;* gormod o'r *go in* yw yr achos o'r *go out.* Ymddengys ei fod fel pregethwr yn sefyll yn y canol rhwng y rhai a gyfrifid yn bregethwyr call, sychlyd, a'r rhai mwyaf hyawdl a phoblogaidd.

Os oedd rhai o'i gydoeswyr yn rhagori arno fel pregethwyr poblogaidd, nid ymddengys fod un gweinidog o un enwad yn ei oes yn rhagori arno fel gweinidog gweithgar, dylanwadol, a llwyddianus. Yr oedd ganddo ryw fedr neillduol i weithio bywyd a gweithgarwch i bobl ei ofal, ac i gynhyrfu yr ardaloedd yr ymwelai a hwynt i sel ac egni crefyddol. Mae hanes y Drewen, Hawen, Glynarthen, Penrhiwgaled, Capel-y-wig, a Pisgah, yn ddigon o brawfion o hyn. Cyn iddo ef ymsefydlu yn y Drewen nid oedd dim ond marwolaeth a diffaethwch am bethau ysbrydol yn teyrnasu trwy yr holl barthau hyn, ond yn fuan bu ef yn foddion i lwyr newid agwedd pethau. Y fath fendith i wlad yw un gweinidog llawn o fywyd, sel, gweithgarch, a doethineb. Yr oedd purdeb difrycheulyd ei gymeriad yn rhan hanfodol o'i rym a'i ddylanwad i wneuthur daioni. Ymgadwodd trwy holl ystod ei fywyd cyhoeddus heb i neb gael un sail i'w gyhuddo o ddim tebyg i anfoesoldeb. Byddai unwaith neu ddwy bob mis yn pregethu yn Mhenrhiwgaled yn y boreu ac yn y Drewen yn y

prydnawn, ac felly yr oedd ganddo tua phymtheng milldir i'w teithio dros wlad noeth rhwng y ddwy oedfa. Byddai yn fynych yn gorfod teithio y ffyrdd hyn ar dywydd oer, ystormus, a gwlawog, ac am y byddai yn llawn bryd iddo fyned i'r pulpud erbyn y cyrhaeddai y Drewen, ni byddai ganddo amser i fyned i'w dŷ i newid ei ddillad pan fuasent yn wlybion, ac er ei fod yn pasio dau neu dri o dafarndai ar ei ffordd o'r naill le i'r llall, ni welodd neb ef erioed yn troi i un o honynt ar y Sabboth i alw am ddim i'w yfed, er fod y fath arferiad yn cael ei hystyried yn ddigon goddefol yn yr oes hono. Ni bu un gweinidog erioed yn wir ddefnyddiol heb iddo ymgadw, nid yn unig oddiwrth ddrygioni, ond hefyd oddiwrth bob "*rhith* drygioni."

Gwnaeth Mr. Evans wasanaeth mawr i'w wlad, ac enw anfarwol iddo ei hun fel awdwr. Yn fuan ar ol ei sefydliad yn y Drewen, wrth weled y llwyddiant mawr a ddilynai ei lafur, deffrowyd sel y gwrthfabanfedyddwyr, ychydig nifer o ba rai oeddynt yn wasgaredig trwy yr ardaloedd y gweinidogaethai Mr. Evans ynddynt, fel yr arferent bob moddion a fedrent i broselytio ac i atal Mr. Evans i fyned a'r holl wlad at yr Annibynwyr. Yn mysg pethau eraill, gwasgarent fan draethodau o blaid bedydd trochiad yn mysg ei aelodau a'i wrandawyr, a thrwy hyny ennillasant rai i gymeryd eu trochi. Barnodd Mr. Evans, yn wyneb hyn, mai ei ddyledswydd oedd cyfansoddi llyfr ar y pwngc o fedydd. Ysgrifenodd ef mewn dull o lythyrau at gyfaill, a chyhoeddodd ef yn 1788. Gan fod y llyfr wedi ei ysgrifenu mor alluog, eglur a phwrpasol, parodd gynhyrfiad nid bychan yn ngwersyll y blaid wrthwynebol. Atebwyd ef gan Dr. W. Richards o Lynn, a chyhoddodd Mr. Evans atebiad galluog i Dr. Richards. Dichon nad ysgrifenwyd dim yn fwy galluog o bob tu i'r ddadl yn y Gymraeg yn y ganrif ddiweddaf na'r llyfrau hyn. Nis gall un darllenydd diragfarn lai na gweled fod Mr. Evans yn amlygu ysbryd llawer mwy boneddigaidd a Christionogol na'i wrthwynebydd. Mae cynydd rhyfeddol Annibyniaeth a diflaniad y gwrthfabanfedyddwyr agos yn hollol o gylch gweinidogaeth Mr. Evans, yn dangos na fu ei ysgrifeniadau ar fedydd yn ddieffaith. Cyhoeddodd hefyd ddau Gatecism galluog iawn, un ar brif byngciau y grefydd Gristionogol, a'r llall ar egwyddorion Ymneillduaeth. Yn 1797, cyhoeddodd gyfieithiad o *Grefydd Gymdeithasol* Mathias Maurice. Cyhoeddodd hefyd pan yn Llanuwchllyn gyfieithiad o bregeth gan Mr. Joseph Jenkins, Wrecsam, a chyhoeddodd wedi ymsefydlu yn y Drewen rai pregethau o'i gyfansoddiad ei hun. Amryw flynyddau yn ol cyhoeddodd Mr. Bulmer o Hwlffordd, gyfrol o hanes bywyd Mr. Evans, yn yr hon y rhoddir hanes helaeth o'i fywyd a'i lafur, a desgrifiad cyflawn iawn o'i gymeriad.

WATKIN WILLIAMS. Ganwyd ef yn Ninbych yn y flwyddyn 1792. Derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys Annibynol yn ei dref enedigol yn dra ieuangc. Wedi iddo ddechreu pregethu derbyniwyd ef i'r athrofa yn Wrecsam, a phan yr oedd ef yn fyfyriwr yno y symudwyd y sefydliad o Wrecsam i Lanfyllin. Wedi gorphen ei amser yn yr athrofa derbyniodd alwad o'r Drewen, lle yr urddwyd ef Mehefin 3ydd, 1819. Enniliodd barch cyffredinol yr eglwys a'r ardal yn ddioed, ac fel y nodasom, bu yn rhyfeddol o lwyddianus dros dymor byr ei weinidogaeth. Bu am y ddwy flynedd olaf o'i fywyd yn gwanychu yn raddol dan effeithiau darfodedigaeth yn yr ysgyfaint. Yn mis Ionawr, 1824, wrth ddychwelyd adref o Gaerfyrddin, lle y buasai yn danfon casgliad cenhadol yr eglwys i'r Trysorydd Cyffredinol dros y Deheudir, torodd ei waed o'i ysgyfaint ar y

ffordd o fewn milldir i dref Castellnewydd. Trwy gymorth un oedd yn digwydd ei weled ar y pryd, cyrhaeddodd dŷ Mr. Phillip Davies. Anfonodd Mr. Davies am feddyg yn ddioed, a'r noson hono cludwyd ef mewn cerbyd cauedig i'w gartref. Wedi dihoeni hyd y 15fed o Chwefror, 1824, bu farw yn yr Arglwydd. Byddai yn hoff iawn o ganu y penill hwnw:—

"Os rhaid dyoddef ar fy nhaith
Dywydd garw;
Cadw f'ysbryd yn dy waith,
Hyd fy marw," &c.

Cafodd ef yr hyn a ddymunai. Bu fyw dan wenau Duw a dynion, a bu farw mewn cyflawn fwynhad o gysuron crefydd. Gadawodd weddw ac un ferch fechan ar ei ol. Claddwyd ef yn barchus yn mynwent Troedyraur. Yr oedd galar cyffredinol trwy yr holl eglwys a'r gymydogaeth ar ei ol, ac y mae ei goffadwriaeth yn fendigedig yn yr ardal hyd y dydd hwn.

JOHN PHILLIPS. Oedd fab i Dr. Thomas Phillips, Neuaddlwyd. Ganwyd ef yn Mhenybanc, yr anedd lle y treuliodd ei rieni eu hoes, Mehefin 30ain, 1805. Yr oedd er yn blentyn o dymer nodedig o garuaidd, ac yn cael ei fawr hoffi gan bawb a'i hadwaenai. Hynodid ef yn mlynyddoedd ei febyd am ei eirwiredd. Addefai y gwir bob amser er y byddai hyny weithiau yn ei osod yn agored i wialen cerydd. Teimlai awydd am fod yn grefyddol er pan yr oedd yn saith mlwydd oed, ond ni dderbyniwyd ef yn aelod eglwysig cyn ei fod yn dair-ar-ddeg oed. Yr hyn a'i dygodd i benderfyniad i wneyd proffes gyhoeddus o grefydd oedd gwrandaw anerchiadau ymadawol Mr. a Mrs. Bevan yn y Neuaddlwyd cyn eu hymadawiad i Madagascar yn 1818. Yn fuan wedi hyn bu ei fywyd mewn enbydrwydd mawr. Aeth ef ac amryw o fyfyrwyr y Neuaddlwyd a chyfeillion eraill gyda llong newydd o Aberaeron i'r Ceinewydd, ac wrth fyned o'r llong i dir mewn bâd, dymchwelodd y cwch. Yr oedd un o'i gydfyfyrwyr, John Medlicat, bachgenyn o Frycheiniog, yn eistedd yn ei ymyl pan ddymchwelodd y cwch. Trwy ei fod ef yn medru nofio ychydig cyrhaeddodd y lan, ond boddodd ei gyfaill a dau neu dri eraill o'r myfyrwyr. Bu y waredigaeth hon yn foddion i ddifrifoli ei feddwl yn fwy nag erioed. Chwefror 21ain, 1822, dechreuodd bregethu mewn cyfeillach grefyddol yn y Neuaddlwyd, ac yn y flwyddyn 1824 aeth i athrofa y Drefnewydd, lle y bu am bedair blynedd. Gan ei fod wedi treulio ei holl fywyd yn yr ysgol, a'i fod yn ddyn ieuangc o alluoedd rhagorol, yr oedd yn ysgolhaig campus erbyn ei fod wedi gorphen ei amser yn yr athrofa. Fel y nodasom yn hanes yr eglwys, urddwyd ef yn y Drewen, Gorphenaf 31ain, 1828. Ni bu gweinidog ieuangc erioed yn fwy parchus a llwyddianus nag y bu ef am yr ysbaid byr y bu yma. Yn gynar yn y flwyddyn 1833 gwaelodd ei iechyd a chollodd ei lais, fel nas gallasai bregethu, ac am hyny rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny. Aeth adref i dŷ ei dad, ac ar ol bod yno ychydig fisoedd gwellhaodd ei iechyd i fesur. Yn gydsyniol a chymhelliad oddiwrth Mr. Luke o Taunton, aeth i Wiveliscombe, yn Ngwlad yr Haf, i gadw ysgol. Ymadawodd a thy ei dad Gorphenaf 31ain, 1833, i fyned i'r lle hwnw. Buasai yn dra sicr o fod yn llwyddianus iawn yno fel athraw pe cawsai iechyd. Hydref 8fed, 1833, ymunodd mewn priodas a Selina, merch ieuengaf Gibs Davies, Ysw., o Lyme Regis, sir Dorset, ac yn fuan ar ol priodi symudodd o Wiveliscombe i Lyme Regis gan ddisgwyl y buasai awyr y mor yno yn fanteisiol i'w iechyd. Ond yr oedd y

darfodedigaeth wedi cymeryd y fath afael yn ei gyfansoddiad fel nad oedd unrhyw le na thriniaeth feddygol yn alluog i gadw angau ymaith. Ganwyd mab iddo ychydig wythnosau cyn ei farwolaeth. Bu farw y baban o flaen y tad. Bu yntau farw Tachwedd 23ain, 1834, dros saith mis cyn cyrhaedd ei ddeg-ar-hugain oed. Claddwyd ef yn mynwent Lyme Regis. Ar ei wely angau dywedodd wrth ei briod fod ei fam wedi dyweyd wrtho lawer gwaith y buasai yn well ganddi hi ganu yn ei angladd na chlywed ei fod wedi gwadu y ffydd, a dymunodd arni anfon at ei fam ei fod ef trwy ras wedi cael y fraint o gadw y ffydd hyd y diwedd.

Buasai y gweinidog ieuangc talentog hwn, pe cawsai fywyd ac iechyd, yn debyg iawn o droi allan yn un o'r gweinidogion mwyaf enwog yn y wlad, oblegid heblaw ei fod yn ysgolhaig rhagorol, yr oedd ynddo gydgyfarfyddiad o allu i drin pyngciau dyfnaf duwinyddiaeth gyda medr meistrolgar, a doniau poblogaidd digyffelyb. Ond ewyllys yr Arglwydd ydoedd caniatau iddo gael ymddangos, a chyda bod ei flagur yn dechreu ymagor ei symud i wlad well. Mae ffyrdd yr Arglwydd yn ddyrys iawn i ni, ond y mae yn rhaid eu bod oll yn uniawn ac yn ddoeth.

Robert Jones. Ganwyd ef yn Ty'nyllan, yn mhlwyf Llanddeiniolen, yn sir Gaernarfon, yn y flwyddyn 1811. Dygwyd ef i fyny gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, a dechreuodd bregethu gyda hwy yn Rhydfawr yn 1834. Yr oedd yn meddu llawer o ddawn a thalent at bregethu, ond ei fod o'r dechreuad yn hyf a mentrus yn yr hyn a ddywedai. Achwynid arno ei fod yn rhy rydd yn ei olygiadau wrth bregethu, ond achwynid llawn cymaint arno ei fod yn rhy rydd yn ei ymadroddion wedi disgyn o'r pulpud. Ymunodd a'r Annibynwyr yn Bethel yn 1839, a chyn hir aeth ar daith i'r Deheudir, a derbyniodd alwad o'r Drewen, lle yr urddwyd ef. Dechreuodd yno yn boblogaidd iawn. Priododd ferch yr hen weinidog, Mr. Watkin Williams, a gallasai, ped ymroddasai o ddifrif i'w waith, fod yn ddefnyddiol a dedwydd iawn. Aeth yn oruchwyliwr i foneddiges yn yr ardal, ac yn mhen amser rhoddodd y weinidogaeth i fyny, ac aeth i fyw i Aberteifi. Yr oedd yn ddyn caredig a chyfeillgar, a llawer o dynerwch yn ei deimlad, ond yr oedd rhyw lacrwydd mawr ynddo mewn gair a gweithred, yr hyn a anafodd ei ddefnyddioldeb ac a ddifwynodd ei enw da. Symudodd o Aberteifi i Dolgian, lle a ddaeth yn eiddo iddo trwy briodas, ond y mae er's blynyddau wedi marw a'i gladdu yn mynwent Troedyraur, lle hefyd y rhoddwyd ei wraig i orwedd yn ddiweddar.

## BETHESDA.

Mae y capel hwn tua thair milldir i'r gogledd-orllewin o'r Drewen, yn mhlwyf Llandygwydd, yn agos i bentref bychan a elwir Ponthirwaen. Adeiladwyd ef yn y flwyddyn 1840. Yn yr amser hwnw yr oedd y cymunwyr yn y Drewen lawer yn rhy luosog i'r capel eu cynwys, ac amryw o'r aelodau oedranus yn yr ardal hon yn teimlo fod y ffordd yn mhell iawn iddynt i fyned yno bob Sabboth. Aed i edrych allan am dir i adeiladu capel yma. Trwy ddylanwad Mr. Lewis Lloyd, Penalltybie, a Mr. Evan Davies, Tafarnybugail, cafwyd addewid am ddarn o dir cyfleus gan W. H. W. Parry, Ysw., o'r Neuadd. Pan glywodd gelynion Ymneillduaeth am y mudiad, gwnaethant eu goreu i gael gan Mr. Parry i alw ei addewid yn ol, ond mewn modd teilwng o foneddwr gwrthododd wneyd hyny, a

rhoddodd lês ar y tir. Yn ddioed wedi llawnodi y lês aed at y gwaith o adeiladu, a chyfodwyd yma gapel digon mawr i gynwys pedwar cant o gynnulleidfa. Cynaliwyd cyfarfodydd yr agoriad Mehefin 15fed a'r 16eg, 1841, pryd y gweinyddwyd gan Meistri Evans, Hebron; Jones, Glynarthen; Rees, Brynseion; Rees, Maenygroes; Jones, Saron; Jones, Ty'nygwndwn; Jones, Cilcenin; Davies, Aberteifi, ac eraill. Wedi cael y capel yn barod ffurfiwyd yma eglwys o agos i ddau cant o aelodau y Drewen. Mr. Lewis Lloyd, Penalltybie, oedd yr unig ddiacon o'r Drewen a ddaeth yma, ond wedi agoriad y capel etholwyd dau eraill i'r swydd yn yr eglwys newydd, sef Mr. Evan Davies, Tafarnybugail, a Mr. Thomas Jones, Ffynoncripil. Mae Mr. Davies yn dal ei swydd yma hyd yn awr, a Mr. Jones wedi symud i ardal Llechryd, ac yn ddiacon defnyddiol yno. Wedi hyny dewiswyd Rees Jones, John Williams, a John Jones yn ddiaconiaid, ond y mae y tri wedi myned i ffordd yr holl ddaear. Y diaconiaid yn bresenol ydyw Meistri Evan Davies, Stephen James, John Jones, Samuel Jones, Daniel Jones, a John Evans, ond mae y diweddaf wedi symud i Aberteifi. Cafwyd yma ddiwygiad grymus iawn yn y flwyddyn 1859 a'r un ganlynol, pryd yr ychwanegwyd ugeiniau at yr eglwys. Rhif yr aelodau yn bresenol yw yn agos i ddau cant. Dan yr un weinidogaeth a'r Drewen y mae yr eglwys hon wedi bod o'r dechreuad. Yn y flwyddyn 1870, rhoddwyd tô newydd ar y capel, a chafodd ei adgyweirio a'i wellhau yn fawr oddifewn.

Un pregethwr a gyfodwyd yma, sef Mr. Josiah Jones, Machynlleth.

## BRYNGWYN.

Mae y capel hwn yn mhlwyf y Bettws, ar fin y ffordd o Gastellnewydd i Aberporth, ac o fewn llai na dwy filldir i'r Drewen. Yn 1841, adeiladodd eglwys y Drewen ysgoldy yma at gadw ysgol Sabbothol, cyfarfodydd gweddio, a phregethu achlysurol. Cafwyd y tir ar ba un y saif yr addoldy hwn ar lês o 900 o flynyddau gan John Lewis, Ysw., Glenview. Y mae yma fynwent helaeth yn nglyn a'r capel. Trwy ymdrechion Mr. Josuah Griffiths, Penalltgeriuchaf, un o ddiaconiaid y Drewen, y cyfodwyd y ty cyntaf yma. Yn y flwyddyn 1867, tynwyd yr hen dŷ i lawr ac adeiladwyd yma gapel hardd. Cymerodd Mr. David Evans, Cwmcoy, y diacon hynaf yn y Drewen, ran neillduol gyda'r adeiladaeth. Mae aelodau yr eglwys hon wedi mwy na dyblu yn ystod y saith mlynedd diweddaf. Y diaconiaid ydyw Meistri Joseph Evans, Bryn, a John James, Ddolgoch. Mewn cysylltiad gweinidogaethol a'r Drewen y mae yr achos hwn wedi bod o'i gychwyniad hyd yn bresenol. Mae yr achos mewn agwedd gysurus.

## HAWEN.

Saif y capel hwn ar fan prydferth yn nyffryn Troedyraur, yn agos i bentref bychan Rhydlewis. Nid oes sicrwydd pa bryd y dechreuwyd yr achos yn y lle hwn. Mae yn debyg fod rhai o aelodau y Drewen yn byw yn yr ardal hon er dechreuad yr achos yn y lle hwnw, a'r traddodiad yw

mai aelodau o'r Drewen nad allent archwaethu yr athrawiaeth a bregethid yno, ddarfu ymneillduo a chychwyn achos yma. Nid ydym yn canfod un rheswm dros ameu cywirdeb yr traddodiad hwn, oblegid mae yn ddigon hysbys fod udgorn y weinidogaeth mewn llawer o bulpudau Ymneillduol yn rhoddi allan sain anhynod tua chanol y ganrif ddiweddaf, a bod amryw o'r aelodau agos yn mhob cynnulleidfa yn anghymeradwyo dull anefengylaidd eu gweinidogion o bregethu. Felly yn ddiameu yr oedd yn y Drewen. Ond pa bryd yr ymneillduodd yr aelodau yn yr ardal hon oddiwrth y fam eglwys sydd anhysbys. Yr ydym yn tybied mai ryw amser rhwng 1740 a 1760 y cymerodd hyn le, oblegid mai yn y blynyddoedd hyny yn benaf y daeth cymysgedd golygiadau ar athrawiaethau yr efengyl i beri blinder amlwg a lled gyffredinol i'r eglwysi. Nid oes un sicrwydd fod ychwaneg na dau neu dri o weinidogion Ymneillduol yn Nghymru yn pregethu Arminiaeth neu Belagiaeth noeth cyn y flwyddyn 1740, ond o'r flwyddyn hono allan ymdaenodd y lefain yn fwy cyffredinol ac amlwg, nes nad oedd ond ychydig iawn o'r hen eglwysi yn rhyddion hollol oddiwrtho. Dywedir i bobl Hawen fod yn addoli am rai blynyddau mewn anedd-dy bychan yn y gymydogaeth cyn adeiladu yr addoldy cyntaf, yr hwn a adeiladwyd yn 1769. Mae traddodiad yn y gymydogaeth o berthynas i'r achos hwn fel y canlyn:—Bod yr achos ar un adeg yma wedi myned mor isel, yr aelodau mor ychydig o rif, a nifer y gwrandawyr mor lleied. fel y cynghorid y ddeadell fechan i roddi y cwbl i fyny a chau y drws. Mewn cyfarfod gweinidogion (yn Glynarthen, medd ein hysbysydd), anogid y cyfeillion i wneyd felly, ond yr oedd Mr. David Davies, Hawen, yr hwn oedd wedi bod hyd yma yn brif golofn yr achos, yn anfoddlon iawn i'r meddwl am ei adael i farw. Pan oedd y gweinidogion o un i un yn dyweyd mai gwell fuasai rhoddi y lle i fyny, cyfododd Mr Jonathan Jones, Rhydybont, ac adroddodd Caniad. viii. 8,—"Y mae i ni chwaer fechan, ac nid oes fronau iddi: beth a wnawn i'n chwaer y dydd y dyweder am dani?" Yna traethodd ychydig o ymadroddion ffraeth a chyffrous yn erbyn y syniad o adael y chwaer fechan yn Hawen i farw o eisiau ymgeledd. Ar hyny distawodd pawb, a phenderfynwyd gwneyd y goreu dros yr achos gwan. O hyny allan aeth yr achos ar ei gynydd yn barhaus nes y mae er's ugeiniau o flynyddau bellach yn un o'r achosion mwyaf llwyddianus yn y Dywysogaeth. Mae yn ddigon posibl fod y traddodiad hwn yn gywir, ond nid ydym yn credu i'r achos fod yn yr agwedd isel a ddarlunir wedi i Mr. B. Evans, Drewen, gymeryd ei gofal tua 1779, ac ni allasai y cyfarfod gweinidogion, yn yr hwn y bu yr achos dan sylw, gan hyny, gael ei gynal yn Glynarthen, oblegid nid oedd capel y Glyn wedi ei adeiladu yn hir ar ol hyny. Mae yn ddigon tebygol mai pan yr oeddid yn addoli yn y ty anedd, neu yn y capel cyntaf yn Hawen, cyn dechreuad gweinidogaeth Mr. Evans, y bu hyn, a dichon mai yr amgylchiad hwn a barodd iddo ef gymeryd gofal yr achos bychan mewn cysylltiad a'r Drewen. Y gweinidogion a ddeuent i Hawen fynychaf cyn i'r lle fyned dan ofal Mr. Evans, oeddynt Meistri John Davies, Trelech; Lewis Lewis, Pencadair, ac Evan Davies, o'r Cilgwyn, o bosibl. Tynewydd Troedyraur y gelwid y capel cyntaf yma, a Rhydhawen y gelwid yr ail gapel, yr hwn a adeiladwyd yn 1790. Bu yma ddiwygiad grymus iawn tua yr amser yr adeiladwyd yr ail gapel. Yn y flwyddyn 1804, y dechreuwyd claddu yn y fynwent wrth gapel Hawen. Yn 1810, torodd diwygiad effeithiol allan yma drachefn, ac ychwanegwyd amryw ugeiniau at yr eglwys hon a'r

eglwysi cymydogaethol. Yn 1811, adeiladwyd yr addoldy y drydedd waith ar ddarn o dir newydd a brynwyd er helaethu y fynwent. Mae y capel presenol, yr hwn a adeiladwyd tua deng-mlynedd-ar-hugain yn ol, y pedwerydd i'r gynnulleidfa hon i'w adeiladu er 1769. Wedi i Mr. B. Evans barhau i wasanaethu y gynnulleidfa hon, a'r tair cynnulleidfa arall, gyda diwydrwydd a llwyddiant mawr am bymtheng-mlynedd-ar-hugain, teimlodd fod pwys y gwaith, eangder y cylch, a llesgedd henaint, yn ei analluogi i wneyd ei wasanaeth yn effeithiol, ac felly yn 1814, dymunodd ar yr eglwysi am gyduno ag ef i gael gwasanaeth ei nai, Mr. Thomas Griffiths, Horeb, fel cynorthwywr iddo, a chydsyniasant. Ymsefydlodd Mr. Griffiths yma y flwyddyn hono fel cynorthwywr i'w ewythr. Yn y flwyddyn 1818, ar anogaeth Mr. Evans a Mr. Griffiths, dewisodd Penrhiwgaled a Chapel-y-wig weinidog iddynt eu hunain, ac yn yr un flwyddyn darfu cysylltiad Mr. Griffiths a'r Drewen. O hyny allan cyfyngodd ei lafur i Hawen a Glynarthen, ond ni bu y ddwy eglwys hyn yn hir cyn ymledu nes yr oeddynt wedi myned yn bedair, rai blynyddau cyn ei farwolaeth ef. Un eglwys yr ystyrid Hawen a Glynarthen am fwy na thriugain mlynedd, a chynelid y cyfarfodydd cymundeb bob yn ail yn y ddau gapel, ond erbyn y flwyddyn 1824, yr oedd yr aelodau wedi myned mor lluosog fel nas gallasai un capel eu cynwys ar y cymundeb, ac felly penderfynwyd yn heddychol i ranu y gymdeithas i ddwy eglwys, un yn Hawen a'r llall yn y Glyn, ond yr oeddynt i barhau dan yr un weinidogaeth. Bu Mr. Griffiths mor ryfeddol o lwyddianus fel yr oedd y cymunwyr yn ei gylch gweinidogaethol cyn terfyn ei oes ef yn rhifo o 700 i 750, a'r ysgolion Sabbothol yn 900. A chofier mai nid mewn tref boblog, neu yn nghanol pentrefydd mawrion, ond mewn gwlad amaethyddol, a chymharol deneu ei phoblogaeth y bu hyn.

Yn mhen ychydig fisoedd wedi marwolaeth Mr. Griffiths yn 1838, rhoddodd yr eglwysi yn Hawen a Glynarthen alwad i Mr. William Jones, Pwllheli. Wedi i Mr. Jones fod yn gwasanaethu yr eglwysi hyn yn ffyddlon a llwyddianus am ddwy-flynedd-ar-hugain, rhoddodd ofal Hawen a Bryngwenith i fyny yn 1860, a chyfyngodd ei lafur o hyny allan i'r Glyn a Brynmoriah. Yn mis Gorphenaf, yr un flwyddyn, rhoddodd yr eglwysi yn Hawen a Bryngwenith alwad i Mr. John Williams, o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yn Hawen yn mis Awst, y flwyddyn hono. Y mae Mr. Williams yn parhau i lafurio yma gyda ffyddlondeb, llwyddiant, a chysur hyd yn bresenol. Yn fuan wedi sefydliad Mr. Williams yma prynodd eglwys Hawen ddarn helaeth o dir at helaethu y fynwent, yr hon oedd wedi llenwi yn fawr. Costiodd y tir ychwanegol 160p., ond casglwyd digon i dalu am dano yn ddioed. Bwriedir yn fuan adgyweirio y capel, yr hwn, er ei fod yn adeilad eang, cadarn, a phrydferth, sydd yn galw am ei adgyweirio.

Mae nifer luosog o ddynion nodedig o ragorol am eu sel, eu llafur, a'u galluoedd, wedi bod yn aelodau o'r eglwys hon ar wahanol adegau. Crybwyllasom eisoes am enw David Davies, yr hwn fu yn eiriol am beidio gadael yr achos yma farw yn ei wendid. Buasai yn dda genym allu rhoddi ychydig o hanes y gwr ffyddlon hwn, ond o ddiffyg defnyddiau nis medrwn. Mae enw Mr. Nathaniel Griffiths, Pantybrain, yn deilwng o'i goffau gyda'r parch mwyaf. Dywedir ei fod ef yn ddyn da iawn, yn grefyddwr ffyddlawn a gwresog, ac yn ŵr cyfoethog, a digon o ras ganddo i ddefnyddio ei gyfoeth er gogoniant Duw a lles dynion. Bu yn ymdrech-

gar iawn gyda'r ysgolion Sabbothol yn yr ardal hon cyn i'r enwogion Mr. Raikes o Gaerloew a Mr. Charles o'r Bala enwogi eu hunain yn eu perthynas ag addysg grefyddol yr ieuengctyd. Rhoddai Mr. Griffiths anrheg o chwe' cheiniog yn y mis i'r rhai a ddysgent ddarllen ac adrodd fwyaf o'r ysgrythyrau. Daeth llawer o'r ardalwyr o bob oed trwy ei ymdrechion ef i fedru darllen gair Duw. Mab i'r gwr da hwn oedd Mr. Josuah Griffiths, yr hwn a grybwyllasom yn hanes y Drewen. Bu Mr. John Morgan, Broniwan, yn aelod ffyddlon ac yn swyddwr gwerthfawr yn yr eglwys hon am lawer o flynyddau. Yr oedd rhagluniaeth a gras wedi ei gymhwyso i fod o wasanaeth neillduol i'r achos. Gan ei fod yn dyddynwr cyfrifol, yn byw ar ei dir ei hun, yr oedd ganddo fwy o fantais i wasanaethu crefydd na dynion cyfyngach eu hamgylchiadau. Bu y gwr da a thalentog hwn farw ar ol cystudd hirfaith a blin yn mis Mai, 1871, yn 90 oed. Heblaw y gwyr da uchod bu yma o bryd i bryd ugeiniau o frodyr a chwiorydd ffyddlon eraill, y rhai y mae eu henwau yn ysgrifenedig yn y nefoedd, er nas gallwn ni gofnodi eu henwau yn llyfrau y ddaear.

Gan fod yr eglwys hon yn gymharol hen, ac yn dra lluosog er's mwy na thriugain mlynedd bellach, yr ydym yn synu na buasai ychwaneg wedi cael eu cyfodi yma i bregethu. Y rhai canlynol yn unig yw y rhai y gallasom ni ddyfod o hyd i'w henwau :—

John Evans, B.A., yr hwn a addysgwyd yn athrofa Aberhonddu, ac a fu yn weinidog yn Saundersfoot a Chastellnedd, ac sydd yn awr yn athraw ysgol Ramadegol yn St. Clears.

David Evans, gweinidog yr eglwys yn Narberth. Addysgwyd ef yn Nghaerfyrddin. Y mae efe yn frawd a Mr. J. Evans, B.A.

Owen R. Owens. Addysgwyd ef yn Nghaerfyrddin, ac y mae er's mwy na blwyddyn bellach yn weinidog yr eglwys henafol yn Nglandwr, sir Benfro.

James Thomas. Y mae efe mewn ysgol yn Llwynrhydowen yn parotoi gyferbyn a chael ei dderbyn i athrofa.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Thomas Griffiths. Ganwyd ef yn Nhrefdraeth, sir Benfro, Mawrth 25ain, 1784. Enw ei dad oedd Owen Griffiths, a morwr wrth ei alwedigaeth. Enw ei fam oedd Martha, ac yr oedd hi yn chwaer i Mr. B. Evans, Drewen. Efe oedd yr ieuengaf o saith o blant. Dyn meddw ac afradlon iawn oedd ei dad, ond yr oedd ei fam yn ddynes nodedig o dduwiol. Trwy ei llafur a'i diwydrwydd hi y cynhelid y teulu gan fod ennill ei gwr yn ddigon bychan i borthi ei flys. Bu farw ei fam ragorol pryd nad oedd ef ond rhwng dwy a thair blwydd oed. O hyny allan disgynodd y gofal o'i fagu ef ar ei chwaer hynaf, Mary, sef mam Meistri D. E. Owen, Cendl; John Owen, Maenclochog, a B. Owen, Zoar, Merthyr. Llanwodd ei chwaer le mam yn dda iddo. Dysgodd ei chwaer iddo yr un egwyddorion ac arferion da ag a ddysgesid iddo gan ei fam pe buasai yn fyw. Dengys yr hanesyn canlynol effaith yr addysg foreuol a gawsai. Pan yn blentyn ieuangc iawn yn chwareu ar yr heol, dranoeth i ddydd ffair yn Nhrefdraeth, cafodd haner *guinea* yn y llaid ar yr heol. Gosododd gareg arno, a rhedodd i'r ty at ei chwaer a dywedodd ei fod wedi cael haner *guinea* melyn ar fanc y capel yn y llaid. "Pa le y mae?" ebe ei chwaer.

Atebodd, "mi a'i gadewais ef yno dan gareg rhag i chwi feddwl fy mod wedi ei gael yn anghyfreithlon; deuwch i fy ngweled i yn ei godi odditan y gareg, a chewch weled ei ol yn y llaid." Pan yn ddeng mlwydd oed cymerwyd ef i wasanaeth y Cadben Jones, Trewern, yr hwn oedd y pryd hwnw yn byw yn Hwlffordd. Bu yno am dymor, ac yn y tymor hwnw daeth i gryn wybodaeth o'r Saesonaeg, ond collodd y teimladau crefyddol a gawsai gartref agos yn hollol, ac yr oedd wedi dysgu tyngu a rhegi yn Saesonig gyda ei gydweision. Un boreu aeth i'r marchdy i nol ceffyl i'w feistr, ac wrth fyned i mewn, troediodd un o'r ceffylau ef yn ei ben nes oedd ei waed yn llifo, ac iddo yntau syrthio yn ddideimlad i'r llawr. Pan aeth ei feistr i'r marchdy i edrych beth a ddaethai o hono, yn yr agwedd hono y cafodd ef. Anfonwyd am feddyg yn ddioed, ac yn mhen ychydig amser gwellhaodd yn holliach, ond bu y tro hwnw yn foddion i ddifrifoli ei feddwl fel na regodd byth mwyach. Yn mhen ychydig wedi hyny penderfynodd yn ddisymwth un boreu ddychwelyd adref. Casglodd ei ddillad ac ymaith ag ef heb ddyweyd gair wrth neb ond un o'r morwynion. Ymdrechai ei chwaer wedi iddo ddychwelyd ei berswadio i fyned yn ol i'w wasanaeth, ond gwrthododd yn benderfynol, ac aeth ymaith boreu dranoeth at ei ewythr i'r Drewen. Gosododd ei ewythr ef am flwyddyn yn yr ysgol yn Nghastellnewydd, ac wedi hyny rhwymodd ef yn egwyddorwas gyda dilledydd o'r enw Enoch Beynon yn ardal Brynberian. Pan yno aeth yn lled gyson i'r cyfarfodydd i Frynberian. Un Sabboth cymundeb yno wrth wrandaw Mr. Henry George yn anerch yr edrychwyr, ac yn eu hanog i wneyd proffes o grefydd, effeithiwyd mor ddwys ar ei feddwl fel na chafodd lonyddwch mwyach nes cynyg ei hun i'r Arglwydd ac i'w bobl. Bu hen bregethwr cynorthwyol o'r enw William George o gymorth mawr i'r llangc ar gychwyniad ei fywyd crefyddol. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig gan Mr. H. George yn Ebenezer, Trefdraeth. Wedi iddo orphen tymor ei egwyddor-wasanaeth ymsefydlodd yn Nhrefdraeth, a bu am dymor yn ennill ei fywioliaeth wrth ei gelfyddyd fel dilledydd. Yn fuan barnodd yr eglwys fod ynddo gymhwysder at waith y weinidogaeth ac felly anogwyd ef i ddechreu pregethu. Tua phedair-ar-bymtheg oed ydoedd pan y dechreuodd bregethu, ac wedi bod yn pregethu yn fynych yn Nhrefdraeth, Brynberian, Trewyddel, Drewen, a manau eraill, am tua phum' mlynedd, cafodd alwad oddiwrth yr eglwys yn Horeb, ac urddwyd ef yno yr wythnos gyntaf yn Mawrth, 1808. Cyn gynted ag yr ymsefydlodd yno ymroddodd a'i holl egni i gyflawni ei weinidogaeth yn effeithiol. Gan nad oedd yn moreu ei oes wedi cael dim manteision addysg, ond y flwyddyn ysgol a gawsai gan ei ewythr yn Nghastellnewydd, cyn gynted ag yr agorwyd athrofa y Neuaddlwyd yn 1810, aeth yno yn fyfyriwr. Myfyriai yno yn ddiwyd am bum' diwrnod o'r wythnos, a phob dydd Sadwrn dychwelai adref i Horeb i ddarparu erbyn y Sabboth. Parhaodd felly i weinidogaethu yn Horeb a myfyrio yn y Neuaddlwyd am ddwy flynedd. Er ei holl anfanteision daeth yn ysgolhaig rhagorol. Wedi bod yn weinidog defnyddiol yn Horeb am chwe' blynedd, symudodd, fel y nodasom, yn 1814 i fod yn gynorthwywr i'w ewythr yn y Drewen, Hawen, Glynarthen, a lleoedd eraill; ac yn 1818, cyfyngodd ei lafur i Hawen a'r Glyn, ac o'r pryd hwnw hyd weddill ei oes. Ond cyn ei farwolaeth yr oedd cangen o Glynarthen wedi ei ffurfio yn eglwys yn Brynmair, a changen o Hawen ar gael ei ffurfio yn Mryngwenith. Ar ol llafurio yn y cylch hwn gyda llwyddiant a pharch anghyffredin am bedair-blynedd-ar-

hugain, galwodd yr Arglwydd ei was ffyddlawn oddiwrth ei waith at ei wobr yn ddisymwth iawn. Yr oedd Mr. Griffiths yn cael ei flino yn aml amryw flynyddau cyn ei farwolaeth gan boen yn ei ben, oherwydd fod y galon yn gyru gormod o waed i'r pen. Oherwydd hyny byddai yn fynych yn gorfod eillio ei wallt a golchi ei ben a dwfr oer. Bu y rhan fwyaf o'i berthynasau feirw yn ddisymwth iawn o rywbeth tebyg i'r parlys mud *(Apoplexy)*, ac yr oedd yntau yn disgwyl mai felly y buasai farw. Yr oedd lawer gwaith wedi amlygu dymuniad am gael marw ar hwyr Sabboth cymundeb, a chael ei ollwng heb lawer o gystudd, "a chafodd ei wrandaw yn yr hyn a ofynodd." Boreu Sabboth, Mehefin 24ain, 1835, aeth i Hawen, lle y pregethodd oddiwrth 1 Cron. xxix. 9, ac y gweinyddodd swper yr Arglwydd Dychwelodd i Glynarthen erbyn yr hwyr, lle y pregethodd oddiwrth 1 Cor. xiii. 9, 10. Wedi y bregeth bedyddiodd ddau blentyn, a chadwodd gyfeillach grefyddol am ychydig amser, yna aeth i'w dŷ yn lled flinedig. Aeth i'w wely rhwng naw a deg o'r gloch, ac wedi gorwedd, ceisiodd gan Mrs. Griffiths gyfodi ychydig ar ei ben am ei fod yn teimlo rhywbeth rhyfedd ynddo. Gyda hyny syrthiodd ei ben yn ddideimlad ar y gobenydd, a bu farw mewn eiliad. Felly aeth o ganol ei waith i fwynhau ei wobr ar unwaith. Claddwyd ef yn barchus yn mynwent Glynarthen yn ngwydd torf ddirfawr o wir alarwyr. Ar ddydd ei gladdedigaeth pregethodd Meistri J. Evans, Hebron, a D. Davies, Aberteifi, ac ar eu hol areithiodd Dr. Phillips, Neuaddlwyd, yn dra effeithiol, a therfynwyd trwy weddi gan Mr. S. Griffiths, Horeb.

Gyda ei ewythr a'i fodryb yn y Drewen y bu Mr. Griffiths yn cyfaneddu o'r flwyddyn 1814, hyd farwolaeth y diweddaf o honynt. Ar farwolaeth Mrs. Evans aeth lês y ty wrth y Drewen allan. Yna adeiladodd eglwys Glynarthen dŷ i'w gweinidog yn ymyl y capel a phan ddaeth y ty yn barod priododd ef a Miss Lloyd, nith ferch brawd i Mrs. Evans, Drewen, yr hon oedd wedi byw y rhan fwyaf o'i hoes gyda ei modryb. Yr oedd Mr. a Mrs. Griffiths mewn gwth o oedran pan y priodasant. Buont yn gysur mawr i'w gilydd am yr ychydig flynyddau y buont yn y sefyllfa briodasol, ac y mae hithau er's blynyddau bellach wedi canlyn ei phriod i'r orphwysfa lonydd.

Gan nad oes neb dan ddeugain mlwydd oed yn awr yn fyw sydd yn cofio gweled a chlywed yr enwog Mr. Thomas Griffiths, Hawen, byddai ychydig ddarluniad o'i berson a'i nodwedd yn ddiau yn dderbyniol i'r oes hon ac i'r oesau dyfodol.

Dyn lled fyr ydoedd, ond o wneuthuriad cadarn. Yn ei flynyddau diweddaf yr oedd yn nodedig o dew. Ond er ei fod yn dew yr oedd yn dra bywiog yn ei ysgogiadau. Yr oedd yn dreiddiol a siriol, ond yn ddifrifol ei edrychiad. Gwisgai bob amser yn daclus iawn, ond nid yn goegaidd; a gallasai ei wisgiad trwsiadus, ei waith yn dal ei ben i fyny yn syth, a'i ddull neillduol o gerdded, beri i ddyn dyeithr dybied mai coegyn balch ydoedd, ond buasai ychydig fynudau o gyfeillach ag ef yn ddigon i ddangos yn amgen. Er mai dyn bychan ydoedd, yr oedd rhywbeth yn fawreddog ac awdurdodol iawn yn ei ymddangosiad. Yr oedd wedi cael ei wneyd gan natur yn gystal a chan ras i fod yn benaeth ac yn flaenor pobl, ac nid oedd neb a'i hadwaenai yn gomedd iddo flaenoriaeth, yr oedd wedi ei gymwyso i'w dal.

Fel dyn yr oedd yn un o'r rhai tyneraf a charedicaf a sangodd y ddaear erioed. Yr oedd ei haelioni a'i dosturi wrth y tlawd yn ddiarebol. Ei

allu i roddi yn unig oedd terfyn ei haelioni. Er iddo fyw yn gynil ac yn ddyn sengl am y rhan fwyaf o'i oes, ni chasglodd gyfoeth, oblegid rhanai yr oll a dderbyniai rhwng achosion crefyddol, ei berthynasau angenus, a thlodion ei gynnulleidfaoedd. Pan welai ddillad ei aelodau tlodion wedi myned yn wael, rhoddai iddynt bob dilledyn a allai hebgor. Mae yr hanes canlynol yn unig yn ddigon i ddangos y fath galon dyner oedd ganddo:—Yr oedd amaethwr bychan yn ei eglwys, yr hwn oedd ddyn deallus yn ei alwedigaeth, ond yn rhyw fodd wedi myned i amgylchiadau lled wasgedig. Aeth at Mr. Griffiths i ofyn benthyg pymtheg punt, a chafodd hwynt. Yn mhen amser wedi hyny wrth weled y dyn yn absenol o'r capel am amryw Sabbothau, aeth Mr. Griffiths i'w dŷ i edrych pa beth oedd yr achos o'i absenoldeb. Pan yr aeth yno yr oedd y gwr allan gyda ei waith. Dywedodd y wraig yn garedig wrtho, "Dyfod yma i ymofyn yr arian yr ydych chwi, Mr. Griffiths." "Nage," ebe yntau, "ond dyfod i gael gwybod paham na byddai y gwr yn dyfod fel arfer i'r capel yr ydwyf." Atebodd y wraig dan wylo fod y dillad goreu a feddai yn rhy wael iddo ymddangos ynddynt mewn cynnulleidfa. Ar hyny dywedodd Mr. Griffiths wrthi am ddyweyd wrtho am fenthycio pâr o ddillad, a dyfod dranoeth i ffair Castellnewydd i'w gyfarfod ef, fod arno ef eisiau ei weled yno. Aeth y dyn yn ol ei gais, a phan gyfarfuasant yn y ffair, dywedodd Mr. Griffiths, "Eisiau ceffyl sydd arnaf fi; ac er dy fod di wedi myned yn dlawd, yr wyt mor alluog i ddeall gwerth ceffyl yn awr a chynt. Dos a phryn geffyl i mi fyddo yn fy ateb." Aeth y dyn a phrynodd y ceffyl. Yna cymerodd Mr. Griffiths ef i siop a phrynodd iddo ddefnydd pâr o ddillad, a dywedodd wrtho, "Dos adref a myn wneyd y dillad hyn erbyn y Sabboth, a thyred i'r capel. Gwna dy oreu i ymladd ag anhawsderau dy amgylchiadau. Os deui yn alluog, tal y pymtheg punt i mi, os na elli eu talu mi a'u maddeuaf i ti." Aeth y dyn adref, a chryfhaodd ei galon. Gwenodd rhagluniaeth arno o hyny allan, ac yn mhen amser talodd yr arian i Mr. Griffiths, a chasglodd gryn olud cyn diwedd ei oes.

Fel cristion yr oedd ef yn nodedig o dduwiolfrydig ac o fuchedd hollol ddifrycheulyd. Treuliau oriau bob dydd mewn gweddi ddirgel, a chrefydd a'i phethau fyddai testynau ei fyfyrdodau a'i ymddiddanion gwastadol. Er ei fod yn ddyn o dymer siriol, ni byddai un amser yn cellwair, ac ni cheid dim un amser yn ei agwedd, ei eiriau, a'i ymddygiadau yn anheilwng o ddyn a'i ymarweddiad yn y nefoedd. Yr oedd yn nodedig o doddedig yn ei deimladau, fel y medrai heb un ymdrech anaturiol wylo gyda'r rhai fyddant yn wylo.

Fel gweinidog, yr oedd yn rhyfeddol o lafurus a ffyddlon. Gwasgai beunydd at bobl ei ofal y pwys o grefydd bersonol a theuluol, a chyda yr ysgolion Sabbothol dichon nad oedd neb yn rhagori arno yn ei oes. Yr oedd ganddo y fath fedr i "holi pwngc" fel nad ystyrid un gymanfa ysgolion yn gyflawn hebddo ef. Mynych ar achlysuron felly y gwelwyd cynnulleidfaoedd lluosog o ieuengctyd a phlant yn cael eu gorchfygu gan eu teimladau nes y torent allan i wylo wrth y canoedd gan mor effeithiol yr anerchai efe hwynt. Yr oedd yn gynghorwr ac yn gyfarwyddwr gwerthfawr i'r hen a'r canol oed, ac yn dad tyner i ieuengctyd a phlant ei gynnulleidfaoedd.

Fel pregethwr yr oedd yn y rhes flaenaf yn mysg pregethwyr enwog ei oes. Ar faterion ymarferol fynychaf y pregethai, ond mewn cywair hollol efengylaidd. Medrai ddarlunio hagrwch ac erchylldra pechod gyda nerth

ac effeithiolrwydd arswydus. Clywsom ef rai gweithiau yn darlunio drygedd a chanlyniadau pechod mewn modd mor rymus ac effeithiol nes yr oedd y miloedd a'i gwrandawent ar syrthio i lewygfeydd. Pan gyfodai ei lais yr oedd rhyw fath o gryndod ynddo, ac etto yr oedd mor rymus nes yr oedd fel taranau yn hollti yr awyr. Er nad oedd miwsig yn ei lais yr oedd yn rhyfeddol o beraidd, toddedig, ac effeithiol. Parablai yn eglur a bwriai allan ffrwd lifeiriol o ymadroddion grymus nodedig. Nid oedd un amser yn arfer iaith isel a sathredig na chwydd-eiriau coegaidd. Dichon fod ei sel angerddol yn erbyn pechod wedi ei gario weithiau yn mhellach nag y goddefai chwaeth goethedig iddo fyned yn ei ddewisiad o ymadroddion i ddarlunio erchylledd y drwg y pregethai yn ei erbyn. Darluniai gybydd-dod, meddwdod, halogi y Sabboth, ac anlladrwydd mewn ymadrodd arswydus o rymus, a buasai y geiriau hyny yn disgyn yn ddiettaith ar ei wrandawyr oni buasai ei fod ef yn eu traddodi gyda'r fath deimlad toddedig. Trwy dynerwch ei deimlad byddai fynychaf yn gwneyd ei gynnulleidfaoedd yn foddfa o ddagrau wrth bregethu ar faterion a ystyrid yn sychlyd ynddynt eu hunain. Bu am flynyddau yn cael ei gyfrif yn un o'r pregethwyr mwyaf poblogaidd yn Neheu dir Cymru. Gan fod ynddo y fath gydgyfarfyddiad o ddaioni, llafur diatal, a doniau poblogaidd fel pregethwr, nid yw yn rhyfedd iddo gyrhaedd safle mor uchel yn mysg ei frodyr, ac yn ngolwg y wlad yn gyffredinol.

## BRYNGWENITH.

Mae y capel hwn ar yr ochr ddeheuol i fryn Penrhiwpal, rhwng dyffryn Teifi a dyffryn Troedyraur, ac yn mhlwyf Llanfair-tref-helygen. Hwn yw yr unig dŷ addoliad yn y plwyf hwnw, oblegid y mae muriau eglwys y plwyf er ys llawer o flynyddau yn agos a bod yn gydwastad a'r llawr, ac ni bu un gwasanaeth crefyddol yn cael ei gynnal ynddi er yn agos i ddechreuad y ganrif bresenol Mae dechreuad yr achos yn Bryngwenith i'w dadogi i raddau mawr i sel, tanbeidrwydd, a gweithgarwch yr enwog a'r anfarwol Thomas Griffiths, Hawen. Yr oedd cyfar odydd gweddio yn cael eu cynal yn yr ardal, ar nos Suliau yn fisol, gan yr hyn a elwid "Dosbarth Bronygest" o eglwys Hawen, yn hir cyn fod son am ddechreu achos yma. Fel y canlyn y dechreuwyd y son am gychwyn achos yn y lle; wrth gyd-deithio adref o Hawen un bore Sabboth, aeth Josuah Jones, Blaengwenllan; David Jones, y Top; Thomas Jones, yr Erddgoed; a James Jones, y Llain, i gydymddiddan am yr anghyfleusdra i fyned cyn belled a Hawen dair gwaith bob Sabboth, ac am amddifadrwydd plant y gymydogaeth o fanteision o eisieu ysgol Sabbothol yn nes atynt. Penderfynasant mewn canlyniad i'r ymddiddan hwnw i gychwyn ysgol Sabbothol mewn anedd-dy gwag oedd yn llaw Josuah Jones yn Blaentir. Yn y flwyddyn 1832 y cymerodd hyn le. Yn yr Hydref canlynol, rhoddodd Mr. J. Jones ei dŷ ei hun at gadw yr ysgol, ond erbyn dechreu 1833, yr oedd y tŷ yn rhy fychan i'w chynwys, fel y bu raid iddo gyfaddasu ei ysgubor i'r dyben o'i chadw. Tua yr amser hwn bu cyfarfod gweddio mewn amaethdy o'r enw Rhippyn ar nos Sabboth. Yr oedd y lle yn orlawn, a theimlwyd nerthoedd y byd a ddaw yn anorchfygol yno. Mae pawb sydd yn fyw, ag oedd yno, yn cofio yn dda am y cyfarfod hwnw i'r dydd heddyw. Bu yr oedfa hono yn foddion i gychwyn diwygiad cref-

yddol yn y gymydogaeth, yn ngwres pa un yr aed i son yn fwy am gael lle addoliad yn yr ardal. Parhawyd o hyny allan i gynal cyfarfodydd gweddio yn gyson yn y Rhippyn, ac yn ysgubor Blaengwenllan, lle y cynelid yr ysgol Sul. Wedi i Mr. Griffiths, Hawen, gael hanes y cyfarfod rhyfedd yn y Rhippyn, gofynodd a allesid cael lle cyfleus iddo ef i roddi ambell bregeth yn yr ardal. Gwnaed lle cyfleus iddo yn ysgubor y Rhippyn, a bu yno yn pregethu amryw weithiau, ac yn neillduol yn ysgubor Blaengwenllan, lle y byddai yn holi yr ysgol "yn y pwngc," a phob oedfa yn cael ei hynodi gan swn gwaeddi a molianu. Yn Hydref y flwyddyn 1833, penderfynodd yr ysgol ddysgu pwngc i fyned i'w adrodd i gymanfa ysgolion oedd i gael ei chynal yn Hawen y Nadolig canlynol. Ar fore dydd y gymanfa penderfynwyd mai yr ysgol newydd hon oedd i gael adrodd yn gyntaf. Cyn dechreu yr holi, rhoddodd John Davies y Rhippyn y pennill allan i'w ganu—

> "Hen agorwr calon Lydia,
> Tyred yma yn dy rym," &c.

Cyn dechreu y canu torodd Mr. Griffiths allan yn y pulpud i wylo, ac aeth yr holl dyrfa i wylo gydag ef, fel yr oedd eu teimladau am yspaid yn rhy ddrylliog i fyned a'r gwasanaeth yn mlaen.

Yn ngwanwyn 1834 aed i edrych allan am le i adeiladu y capel. Yr oedd rhai cyrau o'r ardal hon cyn y pryd hwn, yn enwedig rhanau uchaf plwyf Llandyfriog, yn ddiarebol am eu hanuwioldeb. Wedi nodi allan fan cyfleus at adeiladu, aed at Mr. Lloyd o'r Bronwydd, i ofyn am les arno, yr hyn a addawodd gyda phob parodrwydd, ond pan glywodd person Llangunllo, plwyf cyfagos, am y peth, aeth i'r Bronwydd a pherswadiodd y boneddwr i dynu ei addewid yn ol, trwy ddyweyd wrtho nad oedd yno eisiau capel o gwbl, ac y buasai ei adeiladu yno yn dinystrio gwasanaeth yr Eglwys, yr hon oedd o fewn milldir i'r lle, ac hefyd yn drygu gwasanaeth y Methodistiaid yn Nghapel y Drindod—capel sydd o'r dechreuad dan nawdd teulu y Bronwydd. Felly bu Mr. Lloyd yn ddigon gwan i dynu ei addewid yn ol. Yn wyneb hyny, darfu i Mr. Davies, Pantygwenith, perchenog tir yn yr ardal, anfon am Mr. Griffiths, Hawen, a chynyg tir at gapel, a chwarel i gael ceryg at adeiladu ar ei dir ef. Derbyniwyd ei gynygiad yn ddiolchgar. Cafwyd lês o 79 o flynyddau ar y tir am bum' swllt y flwyddyn o ardreth. Mae y tir hwn o fewn lled cae i'r tir a wrthodwyd roddi gan Mr. Lloyd o'r Bronwydd ar gais yr offeiriad, ac yn llawn mor gyfleus a'r tir hwnw. Adeiladwyd yma gapel yn 1834 yn 30 troedfedd o hyd wrth 20 o led, ac oriel dros dair rhan o bedair o hono. Cludodd yr ardalwyr y defnyddiau ato yn rhad. Dywedir fod Josuah Jones, John Davies, y Rhippyn, a David Jones, y Top, gan angerdd eu sel dros gael y capel yn barod, wedi esgeuluso eu gorchwylion amaethyddol i raddau mawr yr haf hwnw. Gan Mr. D. Rees, Llanelli, y traddodwyd y bregeth gyntaf yn y capel hwn, yr hwn a ddaeth yn ddigwyddiadol i'r ardal erbyn fod y capel yn barod. Dywedir i amryw gyfodi i fyned allan wedi i Mr. Rees weddio, cyn iddo roddi y pennill allan i'w ganu. Wrth eu gweled yn cyffroi i fyned at y drws, dywedodd Mr. Rees, yn ei ddull llym, "Arosed pob un sydd ag *enaid* ganddo yma nes y byddom wedi canu mawl i'r Arglwydd;" ar hyny safodd pawb yn ddigyffro. Yn

fuan ar ol hyn cynaliwyd yma gyfarfod agoriadol, pryd y pregethwyd gan Meistri W. Jones, Rhydybont; D. Davies, Pantteg; M. Ellis, Talybont; G. Griffiths, Ty'nygwndwn, a J. Evans, Penygroes. Traul yr adeiladaeth, trwy gael y cludiad a llawer o'r defnyddiau yn rhad, oedd pedwar ugain punt, ac ar ddydd yr agoriad casglwyd triugain o'r swm hwn. Talwyd ymaith y gweddill yn mhen amser heb fyned allan o'r ardal i gasglu. Dywedodd Mr. Griffiths yn nghyfarfod yr agoriad, y gallesid herio holl Gymru i ddangos y fath addoldy cyfleus wedi ei adeiladu am mor lleied o draul. Wedi marwolaeth Mr. Griffiths yn Mehefin, 1838, a sefydliad Mr. Jones yn ganlyniedydd iddo yn Hawen, yn niwedd yr un flwyddyn, penderfynwyd ar unwaith i ffurfio eglwys yn Mryngwenith, ac ar un boreu Sabboth yn Hawen, dymunodd Mr Jones ar gynifer o'r aelodau a breswylient y tu arall i'r ffordd sydd yn croesi o Benrhiwpal i Fronygest i ymuno yn Mryngwenith. Cydsyniasant oll i wneyd hyny ond tri gwr a gwraig, ac un wraig weddw. Rhif yr aelodau ar ffurfiad yr eglwys oedd tri-ar-hugain. Diaconiaid Hawen fuont yn gweinyddu ar y cymundeb yma am ychydig fisoedd. Yn y flwyddyn 1839 neillduwyd Josuah Jones, Blaengwenllan, a John Davies, y Rhippyn, yn ddiaconiaid. Yn 1854 adgyweiriwyd y capel, a gosodwyd eisteddleoedd mwy cyfleus ynddo, a rhoddwyd awrlais ar wyneb yr oriel. Yn 1855 y cynaliwyd y cyfarfod chwarterol cyntaf yma. Yr oedd rhifedi yr aelodau erbyn hyn wedi cynyddu i saith ugain. Yn y diwygiad mawr a gafwyd yn y flwyddyn 1859, ychwanegwyd llawer at yr eglwys, nes yr oedd yr aelodau yn agos i ddau gant o rif. Yn 1860, oherwydd helaethrwydd maes ei lafur a gwaeledd ei iechyd, rhoddodd Mr. Jones ofal Hawen a'r lle hwn i fyny. Ebrill 22ain, 1860, oedd y Sabboth cymundeb olaf y bu Mr. Jones yn gweinyddu yma fel gweinidog y lle. Yn yr Awst canlynol urddwyd Mr. John Williams yn weinidog i'r eglwysi yn Hawen ac yma, ac efe yw y gweinidog hyd yn bresenol.

Yn y flwyddyn 1867 daeth yr eglwys i'r penderfyniad i gael mynwent, a chawsant ddarn helaeth o dir, y tu arall i'r ffordd gyferbyn a'r capel, ar lês o 999 o flynyddau, am swllt y flwyddyn, gan Sir T. D. Lloyd, Bronwydd, mab y gwr a wrthododd dir at adeiladu y capel yn 1834. Mae y fynwent wedi ei murio yn brydferth, ac amryw o gyrph yn gorphwys ynddi yn barod. Bwriedir yn fuan adeiladu capel helaethach na'r hen un ar ran o'r fynwent.

Y diaconiaid yma yn bresenol ydynt Stephen George, Llwyncadfor; David Evans, Pantygwenith; John Williams, y Castell; Evan Davies, Cafn, a John Davies, Cefnmaesbach.*

## GLYNARTHEN.

Mae yr addoldy hwn yn mhlwyf Penybryn, ac o fewn tua thair milldir i'r gogledd-orllewin o Hawen. Mae yn ymddangos fod yr achos hwn mor hen ag achos Hawen, ac un gynnulleidfa oedd y ddwy mewn gwirionedd hyd yn mhell wedi dechreuad y ganrif bresenol. Yn y flwyddyn yr adeiladwyd yr addoldy cyntaf yn Hawen, sef 1769, adeiladwyd addoldy arall mewn lle a elwir y Ddeinol, yn mhlwyf Penybryn. Byddai cyfarfodydd gweddio, cyfeillachau crefyddol, a phregethu achlysurol, yn cael

* Ysgrif Mr. D. Davies.

eu dwyn yn mlaen yn y ddau le ar yr un amser, er mwyn cyfleusdra yr aelodau a gyfaneddant yn y gwahanol ardaloedd, ond gan mai un eglwys yr ystyrient eu hunain yr oeddynt yn cymuno yn wastad gyda'u gilydd bob yn ail fis yn y naill le a'r llall, ac felly y parhausant i wneyd hyd y flwyddyn 1824, pryd, oherwydd nad oedd un o'r capeli yn ddigon eang i gynwys yr holl gymunwyr, y darfu iddynt benderfynu cymuno yn fisol ar wahan yn y ddau le. Bu cangen Penybryn o'r eglwys unedig hon yn addoli yn y Ddeinol hyd y flwyddyn 1797, pryd yr adeiladwyd yr addoldy cyntaf yn Glynarthen. Mae yn ymddangos fod nifer fechan o wrthfabanfedyddwyr yn cydaddoli a'r Annibynwyr yn y Ddeinol, o bosibl oddiar y pryd yr adeiladwyd y capel yno yn 1769, ac, mae yn dra thebygol, yn yr anedd-dai lle y cyfarfyddent i addoli cyn fod ganddynt un capel. Pan symudodd yr Annibynwyr i'w haddoldy newydd yn Glynarthen arosodd y gwrthfabanfedyddwyr yn y Ddeinol, ac yno y buont nes iddynt yn raddol leihau a darfod yn hollol gyda llwyddiant a chynydd cyflym yr achos yn Glynarthen. Dan ofal gweinidogaethol Mr. Evans, Drewen, y bu yr achos hwn, yr un fath a'r un yn Hawen, o 1779 hyd ei farwolaeth yn 1821, ond fod Mr. Thomas Griffiths yn cydweinidogaethu ag ef yn Hawen a'r Glyn am y saith mlynedd olaf o'i fywyd, ac yna disgynodd gofal y ddau le ar Mr. Griffiths yn hollol hyd ei farwolaeth yntau yn 1838. Bu llwyddiant anghyffredin ar weinidogaeth Mr. Griffiths trwy ei holl oes, ac yn ei holl gylch gweinidogaethol, ond dichon fod ei lwyddiant yn y Glyn yn fwy nodedig nag yn Hawen. Yn nhymor ei weinidogaeth ef cafodd y rhan fwyaf o boblogaeth ardal y Glyn am filldiroedd o gwmpas eu hennill i fod yn aelodau neu yn wrandawyr gyda'r Annibynwyr. Ond yr oedd achos cryf gan y Methodistiaid yn y Twrgwyn, yn ymyl Hawen, cyn i Mr. Griffiths ddyfod i'r lle, ac felly nid oedd ganddo ef ond rhan o boblogaeth yr ardal hono i'w hennill. Derbyniodd rhwng chwech a saith cant o aelodau i'r Glyn yn unig yn nhymor ei weinidogaeth yno, a chyn ei farwolaeth yr oedd cangen luosog o'r Glyn wedi cael ei ffurfio yn eglwys yn Brynmair, a'r fam eglwys etto yn parhau mor luosog fel y cafodd ei ganlyniedydd, Mr. W. Jones, yr hyfrydwch o ffurfio dwy o gangenau eraill yn eglwysi yn Beulah a Brynmoriah. Bu farw Mr. Griffiths, fel y nodwyd, yn Mehefin, 1838, a chyn diwedd y flwyddyn hono rhoddodd yr eglwysi yn Hawen a'r Glyn alwad i Mr. William Jones, Pwllheli. Bu Mr. Jones yn llafurus, llwyddianus, a pharchus iawn yn y ddwy eglwys hyd 1860, pryd y rhoddodd ofal Hawen i fyny, ac y cyfyngodd ei lafur o hyny allan i'r Glyn a Brynmoriah. Bu farw yn Mehefin, 1865. Yn 1841 adeiladwyd capel Glynarthen yn ei ffurf bresenol. Mae yn addoldy mawr a chadarn o wneuthuriad, ac yn un o'r rhai helaethaf sydd yn perthyn i'r Annibynwyr yn sir Aberteifi. Yn y flwyddyn 1848, adeiladodd yr eglwys hon ysgoldy cyfleus, yn agos i'r capel, lle y cynelir ysgol Frutanaidd effeithiol.

Yn y flwyddyn 1866, rhoddodd yr eglwysi yn Glynarthen a Brynmoriah alwad i Mr. John Davies, aelod o Maenygroes, a myfyriwr yn athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yn y Glyn Gorphenaf 11eg a'r 12fed, yn y flwyddyn hono. Yn yr urddiad pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. W. Roberts, un o athrawon athrofa Aberhonddu; holwyd y gofyniadau gan Mr. O. Thomas, Brynmair; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. R. Thomas, Penrhiwgaled; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. T. Rees, Maenygroes, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. W. Evans, Aberaeron.

Pregethwyd hefyd y dydd o'r blaen a phrydnawn ddydd yr urddiad gan Dr. Davies, yn awr o Penbroke Dock, a'r Meistri D. Griffiths, Troedrhiwdalar; W. E. Jones, Ceinewydd; J. Williams, Castellnewydd; H. Jones, Ffaldybrenin; J. G. Morris, Trefdraeth, ac eraill. Mae Mr. Davies yn parhau i lafurio yn ffyddlon yn y maes eang hwn hyd yn bresenol.

Cafodd llawer o aelodau yr eglwys hon eu cyfodi i bregethu wedi iddynt symud i ardaloedd eraill, a chrybwyllir enwau rhai o honynt yn nglyn a'r eglwysi lle y dechreuasant bregethu. Nid ydym wedi gallu dyfod o hyd i enwau ychwaneg o'r rhai a gyfodwyd yma na'r rhai canlynol:—

John Thomas. Bu ef am flynyddau lawer yn bregethwr cynorthwyol nodedig o ddefnyddiol a pharchus. Deugain a haner can' mlynedd yn ol yr oedd "John Thomas, Glynarthen," yn adnabyddus i agos holl eglwysi Annibynol Deheudir Cymru, ac o holl bregethwyr teithiol ei oes nid oedd un yn fwy derbyniol a pharchus gan yr eglwysi nag ef. Yr oedd yn ddyn addfwyn, gwylaidd, a dirodres nodedig, ac yn bregethwr anghyffredin o felus. Dywedai y diweddar Mr. Rees, Llanelli, mai dan bregeth o eiddo John Thomas y dychwelwyd ef at yr Arglwydd. Mae yn ddiau iddo fod yn offerynol yn nhroedigaeth canoedd heblaw Mr. Rees. Tua haner can' mlynedd yn ol, pan yr oedd ar ei daith tuag ardal Penrhiwgaled, neu y Neuaddlwyd, fel yr oedd ef a gwr y ty lle y llettyai yn eistedd un o bob tu i'r aelwyd, disgynodd mellten i lawr ar y ty a tharawodd John Thomas nes ei niweidio yn fawr. Bu am amser yn dyoddef oddiwrth hyny, ac yr oedd effaith yr ergyd yn ganfyddedig yn ngwendid y naill ochr iddo hyd ei fedd. Bu yr hen bererin anwyl a ffyddlon hwn farw yn orfoleddus yn yr Arglwydd Gorphenaf 22ain, 1846, a chladdwyd ef yn barchus gan eglwys Glynarthen.

David Jones, Penlôn. Bu yn bregethwr cynorthwyol defnyddiol iawn am flynyddau. Y mae yntau wedi gorphwys oddiwrth ei lafur er's blynyddau bellach.

David Thomas, Pwllybroga. Gyda y Bedyddwyr y dechreuodd ef bregethu, ond aelod o'r eglwys hon ydoedd trwy holl dymor ei gysylltiad a'r Annibynwyr, nes dechreu yr achos yn Beulah, yna ymunodd yno. Bu am dymor maith yn bregethwr derbyniol a defnyddiol iawn yma, ac mewn eglwysi eraill yn y gymydogaeth. Bu farw yn Mawrth, 1861, a chladdwyd ef yn Glynarthen.

J. G. Morris, Trefdraeth. O'r eglwys hon yr anfonwyd ef i athrofa Aberhonddu, lle yr addysgwyd ef.

William Jones, Trewyddel. Aelod gwreiddiol o'r eglwys hon yw Mr. Jones, ond mai yn Seion, Rhymni, y dechreuodd bregethu.

D. T. Evans. Yn ddiweddar y dechreuodd ef bregethu. Mae yn awr mewn ysgol ramadegol yn parotoi i fyned i ryw athrofa.

Mae cymydogaeth Glynarthen wedi cael ei gwneyd gan natur, i raddau pell, i sefyll ar ei phen ei hun, ac y mae ei thrigolion, gydag ychydig iawn o eithriadau, yn Annibynwyr. Mae yma gynulleidfa luosog, a'r aelodau tua phedwar cant o rif. Yr oedd yr hen weinidogion Mr. Evans, Mr. Griffiths, a Mr. Jones yn rhai nodedig o selog dros yr achos cenhadol a'r ysgol Sabbothol, ac y maent wedi gadael eu hargraff ar yr eglwys. Mae yma un o'r ysgolion Sabbothol mwyaf gweithgar ac effeithiol yn y Dywysogaeth, a'r casgliadau cenhadol bob blwyddyn yn deilwng o'r gynulleidfa. Cafodd yr eglwys hon o dro i dro yn nhymor ei hanes ei

benditbio a diwygiadau crefyddol nodedig o rymus. Y mae ôl y cyffroadau bendithiol hyn yn ganfyddedig yma i'r dydd hwn, nid yn unig yn lluosogrwydd yr aelodau, ond hefyd yn eu teimladau toddedig dan y gair. Nid yn aml y cyfarfyddir a chynnulleidfa hawddach i'w thoddi dan bregeth wresog ac efengylaidd na'r gynnulleidfa hon. Mae yma beunydd gyfarfodydd nodedig o ddylanwadol, ac ar amserau mae y gwirionedd, wrth gael ei draethu mewn pregethau, ei adrodd mewn profiadau crefyddol yn y cyfeillachau, a'i dywallt allan mewn gweddiau, yn llwyr orchfygu teimladau y bobl. Hyderwn fod y tân sanctaidd sydd etto heb ddiffoddi ar yr allor yma i gyneu yn y dyfodol yn fflamau mwy angerddol nag erioed.

Nis gellir disgwyl i eglwys luosog fel hon fod wedi llwyr ddiangc bob amser rhag cael ei haflonyddu gan bersonau pigog, ac o dymerau gwenwynig ac annghristionogol, ond ni fu yma un rhwygiad o ddechreuad yr achos hyd yn bresenol, ac yr ydym yn hyderu yr erys heddwch i deyrnasu o fewn ei rhagfuriau a ffyniant cyson yn ei phalasau tra y byddo haul a lleuad.*

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

William Jones. Yr oedd ef yn nai fab brawd i'r Dr. Arthur Jones o Fangor. Ganwyd ef yn Llandrillo, Meirionydd, yn y flwyddyn 1800. Ni chafodd ond y peth nesaf i ddim o fanteision addysg yn moreu ei oes, ond trwy ei dalent naturiol, ei ymroad dibaid, a bendith yr Arglwydd ar y cwbl, daeth yn ddyn pwysig, yn ysgolhaig da, yn bregethwr poblogaidd, ac yn weinidog nodedig o ddefnyddiol. Pan yr oedd ef tuag un neu ddwy-ar-bymtheg oed daeth Mr. Moses Ellis, wedi hyny o Fynyddislwyn, i Llandrillo i gadw ysgol. Yr oedd Mr. Ellis wedi dechreu pregethu yn y Wern, gyda Mr. Williams, ychydig cyn hyny. Wedi ymsefydlu yn Llandrillo, a chael allan nad oedd yno un Annibynwr, penderfynodd bregethu ar y Sabbothau yn y ty lle y cadwai yr ysgol. Yn fuan amlygodd un, "Betti o'r Felin," awydd am ymuno a'r un enwad a Mr. Ellis, ac yn fuan wedi hyny amlygodd y gwr ieuangc William Jones yr un peth. Yna dechreuodd y tri gadw cyfeillach grefyddol. A dyna ddechreuad achos yr Annibynwyr yn Llandrillo. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig gan Mr. Michael Jones yn Bethel, ac efe, a rhai eraill o Llandrillo, a dderbyniesid yn Bethel, a gorpholwyd yn eglwys yn Llandrillo. Yn mhen rhyw gymaint o amser ar ol cael ei dderbyn yn aelod eglwysig dechreuodd bregethu, ac wedi bod am amryw flynyddau yn bregethwr cynorthwyol, cafodd alwad o Bwllheli, lle yr urddwyd ef yn mis Hydref, 1831. Bu yno am saith mlynedd, ond gan fod anghydfod blin wedi ysigo heddwch yr eglwys cyn ei ddyfodiad ef i'r lle, ni chafodd fawr cysur yno, er iddo, trwy ei bwyll a'i ddoethineb, wneyd llawer tuag at wellhau yr hen glwyfau. Gadawodd yr eglwys mewn cyflwr llawer gwell nag y cafodd hi. Yn mis Tachwedd, 1838, symudodd i Hawen a Glynarthen, fel canlyniedydd i'r enwog Mr. Thomas Griffiths. Fel y nodwyd yn barod, rhoddodd ofal Hawen a Bryngwenith i fyny yn Ebrill, 1860, ond parhaodd i weinidogaethu yn Glynarthen a Brynmoriah hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le Mehefin 7fed, 1865. Felly gwelwn iddo fod yn weinidog yn y Glyn am fwy na chwe'-mlynedd-ar-

* Llythyr Mr. J. Davies.

hugain-a-haner, ac yn Hawen am fwy na dwy-flynedd-ar-hugain. Yn nhymor ei weinidogaeth yn y lleoedd hyn derbyniodd fil o aelodau i'r eglwysi dan ei ofal, a bedyddiodd 1,113 o blant. Wedi bywyd o lafur ffyddlon gwaelodd ei iechyd yn fawr ychydig cyn ei farwolaeth. Poenid ef gan glefyd y gareg, ac aeth i Lundain lle y tynwyd careg allan o hono, ond er hyny gwaelu yn raddol a wnaeth nes i'w gyfansoddiad cadarn yn y diwedd orfod rhoddi ffordd i ergydion angau. Bu farw Mehefin 7fed, 1865, yn 65 mlwydd oed.

Yr oedd Mr. Jones wedi claddu ei unig ferch a'i unig blentyn ychydig cyn ei farwolaeth, ond gadawodd weddw a phobl lluosog ei ofal mewn galar mawr ar ei ol. O ran ei gorph yr oedd Mr. William Jones yn lled fawr ac o wneuthuriad cadarn. Gallesid barnu wrth edrych ar ei gorph cadarn a'i wynebpryd coch y buasai fyw i bedwar ugain neu bedwar ugain a deg oed, ond nid felly y gwelodd y llywydd mawr yn dda i drefnu. Fel pregethwr, yr oedd yn draddodwr grymus a blasus i'w wrandaw, ac yr oedd ei bregethau yn cael eu nodweddu gan eglurhadau lled darawiadol a synwyr cyffredin cryf. Yr oedd yn rhagorach pregethwr na'r cyffredin; ond nid oedd i'w restru gyda "chedyrn cyntaf" y pulpud Cymreig. Am ei gymeriad fel dyn, gweinidog, a christion, gadawn i'w ganlyniedydd, Mr. Davies, Glynarthen, lefaru. "Dywedir gan y rhai oedd yn ei adnabod yn dda ei fod yn hynod am ei synwyr cyffredin, ei bwylledd, ei graffder i adnabod dynion, ei ddidwylledd, ac uniondeb ei ysbryd. Yr oedd hefyd yn brydlon, trefnus, a gofalus gyda phob peth o bwys. Dywedir hefyd ei fod yn gyfaill trwyadl, ac os cymerai ryw un ar ei gefn nad oedd perygl byth iddo ei daflu i lawr ar ganol yr afon. Yr oedd yn bregethwr rhagorol, ac yn dra enwog fel holwr ysgolion. Yr oedd ei bregethau yn ysgrythyrol, trefnus, eglur, a galluog. Meddai lais uchel, clir, gyda mesur o beroriaeth, ac yr oedd ei arddull o siarad yn gwisgo gwedd arbenig, yr hyn a ychwanegai at ei gymeradwyaeth a'i boblogrwydd fel pregethwr. Pa le bynag y cyhoeddid ef i bregethu, o fewn cylch ei adnabyddiaeth, byddai cyffro trwy y lle a chynnulleidfa luosog yn sicr o ddyfod i'w wrandaw." Claddwyd ef yn mynwent Glynarthen yn ngwydd torf fawr o alarwyr, pryd y pregethodd ac y gweddiodd Meistri T. Rees, Maenygroes; W. Evans, Aberaeron; D. Davies, Aberteifi; J. Williams, Castellnewydd, ac eraill.

## BRYNMORIAH.

Mae yr addoldy hwn ar ymyl y ffordd sydd yn arwain o Aberteifi i Aberystwyth, tua dwy filldir o Glynarthen, a thua thair milldir o Gapel-y-wig. Yr oedd amryw o aelodau Glynarthen, Hawen, a rhai o aelodau Capel-y-wig, yn byw yn yr ardal hon, ac yn arfer am lawer o flynyddau i gynal cyfarfodydd gweddio o dŷ i dŷ yma. Teimlid er's blynyddau fod yma angen am dŷ addoliad. O'r diwedd trwy ymdrech Mr. David Reynalds, Blaendyffryn, un o ddiaconiaid Capel-y-wig, ac yn nhy yr hwn y bu llawer o bregethu cyn adeiladu capel yn yr ardal, cafwyd tir at adeiladu capel, a thir hefyd at gladdu y meirw. Yn 1849, cyfodwyd yma dŷ cyfleus, a galwyd ef Brynmoriah, oherwydd ei fod ar fan amlwg a lled noeth. Nid amcenid y ty hwn ar y cyntaf ond yn unig at gadw ysgol Sabbothol, pregethu achlysurol, a chyfarfodydd gweddio. Bu Mr. Jones, Glynarthen, a Mr. Rees, Maenygroes, yn pregethu bob yn ail yn lled gyson

yma o 1849 hyd 1859. Ar y degfed o Orphenaf, 1859, bu Mr. Jones a Mr. Rees yma yn corpholi eglwys. Wedi corpholi eglwys yma cryfhaodd yr achos yn gyflym nes y bu raid, yn y flwyddyn 1861, fyned i'r draul o 140p. i helaethu y capel. Bernid ei fod pan yr agorwyd ef ar ol ei helaethu yn ddigon byth i'r gynnulleidfa a ddeuai iddo, ond erbyn heddyw cwynir ei fod yn rhy fychan i gynwys y gwrandawyr. Mae yma yn awr o 140 i 150 o aelodau, a'r achos yn gwisgo agwedd nodedig o lewyrchus a blodeuog. Dan ofal gweinidogion Glanarthen y mae yr achos hwn wedi bod oddiar ffurfiad yr eglwys hyd yn bresenol. Mae amryw o'r ffyddloniaid gyda'r achos hwn wedi cael eu symud oddiwrth eu gwaith at eu gwobr, a thrwy drugaredd y mae yma lawer o ffyddloniaid etto yn aros.

Yr unig un a gyfodwyd yma i bregethu yw David Jones, yr hwn sydd yn awr yn ysgol Mr. Palmer yn Aberteifi yn cael ei barotoi i fyned i athrofa Aberhonddu.

## BRYNMAIR.

Mae y capel hwn yn mhlwyf Blaenporth, ar lechwedd bryn a elwir Brynmair, yn agos i Aberporth. Byddai ieuengctyd yr ardal gynt yn cyfarfod tua'r fan y saif y capel i gyflawni eu campau ar y Sabboth. Bernir fod y lle wedi cael yr enw Brynmair oherwydd yr arferid yn amser Pabyddiaeth gyflawni rhyw ddefodau yma er anrhydedd y Forwyn Fair.

Mae yn dra sicr fod rhai Ymneillduwyr yn cyfaneddu yn y parth hwn o'r wlad er dyddiau yr hen Anghydffurfwyr. Bu Mr. David Jones, un o weinidogion anghydffurfiol y sir, yn cyfaneddu am flynyddau yn mhlwyf Penbryn, ac yr oedd yn byw yno yn 1675. Mae yn ddigon tebygol fod rhai aelodau perthynol i Lechryd a'r gangen yn y Drewen yn preswylio yn yr ardaloedd o oes i oes, ac na fu y gymydogaeth mewn un oes o amser y Werin-lywodraeth hyd yn bresenol heb rai Annibynwyr yn preswylio ynddi. Daeth Methodistiaeth Calfinaidd i'r ardal mor foreu o'r flwyddyn 1742, neu yn fuan ar ol hyny, a chasglodd nifer o ddysgyblion yma, ac nid oes un enghraifft o fewn cylch ein gwybodaeth ni o Fethodistiaeth, am y deng neu y pymtheng mlynedd cyntaf o'i hanes, yn cynyg wynebu ar un gymydogaeth lle na buasai Ymneillduaeth wedi arloesi y ffordd o'i blaen. Rhyw amser yn y ganrif ddiweddaf daeth pregethwr Annibynol o'r enw Hughes, o rywle o'r Gogledd i'r ardal hon, a phriododd ag etifeddes Cwmhowy, a thrwy ei briodas daeth yn berchenog y lle hwnw. Mae yn ddiamheuol fod teulu Cwmhowy, a theuluoedd eraill yn yr ardal, yn perthyn i'r eglwysi yn Llechryd a'r Drewen, eu bod yn achlysurol yn gwahodd pregethwyr i bregethu yn eu tai, ac mai yn y modd hwnw y daeth y Mr. Hughes hwn i'r gymydogaeth. Yr ydym yn barnu mai ei enw oedd Griffith Hughes. Cafodd ei addysgu yn athrofa Caerfyrddin, lle y bu o 1740 hyd 1744. Ar derfyniad ei amser yno ymsefydlodd yn Newmarket, sir Flint, lle y bu hyd 1747. Yn 1755 a 1756 yr oedd yn aros yn Mlaenywern, gyda'r hybarch Phillip Pugh, a dichon mai oddiyno y daeth i'r lle hwn. Wedi iddo ddyfod i fyw i Gwmhowy adeiladodd addoldy Annibynol ar ei dir ei hun, a chasglodd gynnulleidfa. Yn mhen amser trodd allan yn ddyn anfoesol, fel y darfu ei gysylltiad a chrefydd, a'r canlyniad fu i'r gynnulleidfa a gasglasai ymwasgaru, ond mae yn dra sicr i rai o honynt barhau yn grefyddol, ac iddynt ymuno â Llechryd, y Drewen, y Ddeinol, a Hawen. Wedi gwasgariad y gynnulleidfa Anni-

bynol bu y capel ar dir Cwmhowy am ysbaid yn cael ei ddefnyddio gan y Methodistiaid Calfinaidd, nes iddynt yn 1794 adeiladu capel Blaenanerch. Er i'r gynnulleidfa Annibynol gael ei gwasgaru yma, trwy anfoesoldeb Hughes, fe barhawyd i bregethu gan yr Annibynwyr yn lled gyson yn yr ardal o'r pryd hwnw hyd nes yr adeiladwyd capel Brynmair. Byddai Mr. Evans, Drewen, yn pregethu yn fynych mewn amaethdy o'r enw Cwmporthmair, a bu Mr. M. Jones, Trelech, am lawer o flynyddau yn pregethu yn fisol yn y Dyffryn, gerllaw Aberporth. Wedi i Mr. Griffiths ymsefydlu yn Glynarthen byddai yntau yn dyfod yn fisol yno i bregethu. Yn ei amser ef sefydlwyd ysgol Sabbothol yn y lle. Erbyn hyn yr oedd amryw o aelodau Glynarthen yn wasgaredig ar hyd a lled y ardal, ac er mwyn eu cyfleusdra gosodasant i fyny gyfeillach wythnosol mewn ty a elwir Gwaentrefol. Rhwng y gwahanol foddion fel hyn ennillwyd cynifer o'r ardalwyr i hoffi gwasanaeth crefyddol, yn ol y drefn Annibynol, fel y penderfynwyd adeiladu capel yma, yr hyn a wnaed yn 1833, ac yn yr un flwyddyn corpholodd Mr. Griffiths eglwys ynddo, cynwysedig gan mwyaf oll o aelodau Glynarthen. Daeth yma achos cryf a llewyrchus ar unwaith. Yn 1838, cynaliwyd y gymanfa dair sirol yma, a chymanfa nodedig o lewyrchus ydoedd. Yn y gymanfa hon y daeth y seraphaidd Williams, Llandeilo, i sylw cyffredinol gyntaf. Yn mhen tair wythnos ar ol y gymanfa bu farw y gweinidog, Mr. Griffiths, er galar cyffredinol i'r holl wlad, ac yn enwedig i bobl ei ofal. Wedi ei farwolaeth ef bu yr eglwys hon dros ddwy flynedd heb weinidog sefydlog. Pan yr urddwyd Mr. Robert Jones yn y Drewen yn Rhagfyr, 1840, rhoddodd yr eglwys hon ei hun dan ei ofal ef mewn cysylltiad a'r Drewen. Yn gymaint a bod cangenau o'r Drewen wedi cael eu ffurfio yn Bethesda a Bryngwyn yn fuan ar ol hyny, nis gallasai yr un gweinidog eu gwasanaethu oll, ac felly rhoddodd eglwys Brynmair alwad i Mr. Abednego Jenkins, o athrofa Aberhonddu. Urddwyd ef yma Medi 11eg, 1846. Gweinyddwyd yn yr urddiad gan Meistri D. Thomas, Penrhiwgaled; D. Davies, Aberteifi; R. Jones, Drewen; J. Lewis, Henllan; J. Evans, Hebron; W. Jones, Glynarthen, a W. Morgan, yn awr o Gaerfyrddin. Bu Mr. Jenkins yn gwasanaethu yr achos hwn yn ffyddlon a derbyniol hyd nes iddo symud i Cana, sir Gaerfyrddin, yn 1859. Yn nhymor ei weinidogaeth ef adeiladodd yr eglwys ysgoldy at gadw ysgol Frutanaidd. Wedi ymadawiad Mr. Jenkins unodd eglwys Brynmair a'r eglwys ieuangc yn Glandwr, (y lle a elwir Beulah yn awr), i roddi galwad i Mr. Owen Thomas, Talybont. Atebodd Mr. Thomas yr alwad, ac ymsefydlodd yma yn 1860, ac y mae yn parhau a'i fŵa yn gryf i lenwi ei gylch yn effeithiol hyd y dydd hwn. Yr oedd adfywiad grymus wedi dechreu yma pan ddechreuodd Mr. Thomas ei weinidogaeth yn y lle, ac ychwanegwyd llawer at yr eglwys. Ar ddyfodiad Mr. Thomas yma penderfynwyd adgyweirio a phrydferthu y capel, a chasglu at y weinidogaeth yn fisol, yn lle bob tri mis fel y gwnelid yn flaenorol. Mae yr eglwys hon yn parhau yn nodedig o weithgar a ffyddlon, ac yn un o'r rhai mwyaf tangnefeddus yn y wlad.

Nid ymddengys i un o aelodau yr eglwys hon gael ei gyfodi i bregethu o ddechreuad yr achos hyd yn bresenol. Gwnaeth angau rwygiadau pwysig yn y ddeadell hon yn mhen ychydig amser ar ol ei ffurfiad yn eglwys. Yn mhen pum' mlynedd ar ol ei chorpholiad amddifadwyd hi o'r gweinidog yr edrychai pob aelod arno fel tad, ac yn agos i'r un amser bu farw William Davies, Penorisaf; John Evans, a David Griffiths, Gwaen-

trefol, y rhai fuont yn llafurus gyda Mr. Griffiths i gychwyn yr achos. Oddiar hyny y mae degau o ffyddloniaid eraill wedi eu symud o'r gynnulleidfa hon i "gymanfa a chynnulleidfa y rhai cyntaf-anedig," ond y mae yr Arglwydd yn rasol wedi galw eraill i lenwi eu lleoedd.

## BEULAH.

Mae y capel hwn yn mhlwyf Bettws Evan, o fewn pedair milldir i Gastellnewydd-Emlyn, ac o fewn tair milldir i'r Drewen, a thua yr un faint i Glynarthen. Yr oedd pregethu achlysurol yn yr ardal hon er's oesau. Mae yma rai hen bobl yn awr yn fyw yn cofio Mr. Griffiths, Hawen, yn dyfod yma i bregethu yn 1807, pan yr oedd yn ŵr ieuangc yn byw yn Nhrefdraeth. Yr oedd amryw o aelodau Glynarthen yn byw yn yr ardal hon, ac am y teimlent fod y ffordd yn rhy bell iddynt fyned yno ragor nag unwaith bob Sabboth, penderfynasant osod ysgol Sabbothol i fyny yma mewn anedd-dai. Buwyd felly yn cadw yr ysgol o dŷ i dŷ yma am lawer o flynyddau, a byddai Mr. Griffiths, ac eraill, yn dyfod yn achlysurol ar hwyr y Sabbothau i bregethu i dŷ David Jenkins, Trefaesfawr. Pan nas gallent gael pregethwyr byddai y proffeswyr yma yn cynal cyfarfodydd gweddio, a chyfeillachau crefyddol bob nos Sabboth, ond elent yn wastad i'r Glyn bob boreu Sabboth. Yn y flwyddyn 1831, adeiladwyd ysgoldy bychan ar ran o dir Trefaesfawr, yr hwn a dowyd o gwellt, ac a wnaed mor gyfleus ag y gallesid at gynal gwasanaeth crefyddol. Yr oedd lês gan David Jenkins ar ei fferm, Trefaesfawr, yr hon oedd i barhau dros ei fywyd ef, ac ar hyny o sicrwydd yr anturiwyd i adeiladu yr ysgoldy, ond hefyd cafwyd caniatad W. H. Parry, Ysw., perchenog y tir. Galwyd yr ysgoldy Glandwr Isaf. Wedi cael y lle hwn yn barod, buwyd yn cynal yr ysgol ynddo am ddeng-mlynedd-ar-hugain, ac hefyd yn cynal cyfarfodydd gweddio, cyfeillachau crefyddol, a phregethu lled gyson. Byddai Meistri John Thomas, Glynarthen; Daniel Jones, y Wern; David Jones, Penlôn, a David Thomas, Pwllybroga, yn pregethu yma yn fynych pryd nas gallesid cael gwasanaeth y gweinidog. Er cael y cyfleusdra hwn yn eu hardal parhaodd y bobl i fyned i Glynarthen i gymuno ac i wrandaw bob boreu Sabboth hyd y flwyddyn 1841, pryd y darfu i Mr. Jones, trwy gydsyniad y fam eglwys yn y Glyn, eu ffurfio yn eglwys Annibynol. Bu yr achos bychan hwn yn lled lewyrchus o'r pryd y ffurfiwyd yma eglwys, ond yr oedd dan lawer o anfanteision oherwydd fod yr addoldy mor fychan ac anghyfleus, a bod Mr. Jones, ar gyfrif helaethrwydd maes ei lafur, yn methu rhoddi yma ond un bregeth yn y mis. Bu yr hen frawd David Thomas, Pwllybroga, o wasanaeth mawr fel pregethwr a diacon o'r pryd y corpholwyd yr eglwys, ond yr oedd rai blynyddau cyn ei farwolaeth wedi myned yn analluog i bregethu nemawr.

Yn y flwyddyn 1859, bu farw David Jenkins, Trefaesfawr, ac felly aeth lês y fferm allan. Erbyn hyn yr oedd W. H. Parry, Ysw., hefyd wedi marw, ac ni chaniatâi ei etifeddion i'r lle gael ei gadw mwyach at gynal gwasanaeth Ymneillduol ynddo. Gwrthodwyd rhoddi lês ar y ty ar un cyfrif, ac felly bu raid i'r gynnulleidfa edrych allan am dir i adeiladu capel newydd. Cafwyd tir cyfleus ar lês o 99 o flynyddau gan James

Bowen, Ysw., Troedyraur, ac adeiladwyd capel Beulah arno yn 1860. Yn y flwyddyn hono rhoddodd Mr. Jones, Glynarthen, ofal y lle i fyny, ac yna unodd yr eglwys hon ag eglwys Brynmair i roddi galwad i Mr. Thomas, y gweinidog presenol. Goddefwyd y gynnulleidfa i gadw Glandwr tra y buwyd yn adeiladu Beulah. Gorphenwyd adeiladu y capel yn 1861. Costiodd 300p., er cael cludiad y defnyddiau ato yn rhad, ond talwyd am dano yn fuan heb fyned nemawr allan o'r ardal i gasglu. Cyn fod y capel wedi ei gwbl orphen bu raid i'r gynnulleidfa ymadael o Glandwr, am fod y perchenog mewn brys mawr am gael meddiant o'r lle. Felly symudwyd i Beulah Mawrth 10fed, 1861. Er yn ddiau fod perchenog Glandwr yn meddwl dirygu yr achos wrth ymlid y gynnulleidfa oddiyno, ond ei wasanaethu yn fawr iu yr effaith, oblegid wedi cael capel hardd a chyfleus cynyddodd y gynnulleidfa yn fawr, ac ychwanegwyd ugeiniau yn fuan at yr eglwys. Wedi ymlid yr Ymneillduwyr o Glandwr, amcanwyd troi y lle hwnw i fod o ryw wasanaeth i'r Eglwys Wladol. Anfonwyd am rai offeiriaid i ddyfod yno i draddodi rhyw fath o ddarlithiau er mwyn goleuo trigolion y gymydogaeth, y rhai y tybid eu bod yn byw mewn tywyllwch mawr. Wedi cael dwy neu dair o'r darlithiau hyny, rhoddwyd y cynllun heibio am fod pobl yr ardal naill ai yn rhy dywyll i werthfawrogi y darlithiau neu yn rhy oleuedig i gael un budd oddiwrthynt. Yn y flwyddyn 1872, cafwyd darn o dir at fynwent gan J. Bowen, Ysw., Troedyraur. Yr oedd y boneddwr hwn yn Eglwyswr efengylaidd, ac yn selog dros ei Eglwys, ond yr oedd yn ddigon crefyddol a goleuedig i fod yn rhydd a charedig tuag at enwadau eraill. Perchid ef yn fawr gan bawb a'i hadwaenai fel dyn da a christion syml. Byddai ef a'i foneddiges yn dyfod yn fynych i wrandaw i Beulah. Talent am eisteddle yno, a chyfranant yn gyson at y weinidogaeth. Buwyd yn cynal cyfarfodydd gweddio yn ei balas ef bob pythefnos am flynyddau, a chafwyd yno lawer o gyfarfodydd nefolaidd iawn. Yr oedd awydd ar y gynnulleidfa am gael tir at gladdu wrth y capel, ond yr oedd ar bawb o honynt ofn gofyn i Mr. Bowen am dano rhag iddo ddigio. Ond un diwrnod gofynodd ef i Mr. Thomas, y gweinidog, a garent hwy gael tir claddu. Atebodd yntau y buasent yn ddiolchgar iawn am dano os gwelsai ef yn dda ei roddi. Yna gofynodd iddo pa faint a welai yn dda ei roddi, ac ar ba amodau. "O," ebe yntau, "chwi gewch faint a fynoch ar lês o 99 o flynyddau am swllt y flwyddyn." "Mae hyny yn dda iawn," ebe Mr. Thomas, "ond y mae 99 o flynyddau yn amser lled fyr ar dir claddu, am y bydd ar y meirw ei eisiau i orphwys ynddo yn hwy na hyny." "O wel," ebe y boneddwr, "chwi a'i cewch ef dros byth." Diolchwyd yn wresog iddo am ei garedigrwydd. Yna anturiwyd gofyn iddo am gael y tir yr oedd y capel arno ar yr un amodau, a chafwyd ef. Wedi hyny gwnaeth Mr. Bowen bob brys i barotoi y weithred er trosglwyddo y tir yn feddiant i'r eglwys. Aeth i lawr i Aberteifi i lawnodi y weithred, ac yn fuan wedi hyny bu farw. Bydded heddwch i'w lwch.

Mae golwg obeithiol iawn ar yr achos yma yn awr. Mae y cynnulleidfaoedd yn lluosog ar y Sabbothau, yr ysgol Sabbothol yn effeithiol, a'r eglwys yn cynyddu yn ei hysbryd haelionus o flwyddyn i flwyddyn, a rhai beunydd yn dyfod yn ymgeiswyr am aelodaeth. Ond teimlir fod yr achos yn cael ei wanychu i raddau oherwydd fod cynifer o ieuengctyd yr ardal yn symud beunydd oddiyma i weithfaoedd siroedd Morganwg a Mynwy.

Un yn unig a gyfodwyd i bregethu yn yr eglwys hon, sef Mr. Samuel Griffiths, yr hwn a addysgwyd yn athrofa Caerfyrddin, ac sydd yn bresenol yn weinidog yr eglwys Saesonig yn Abersychan, Mynwy.*

## HOREB.

Mae y capel hwn yn mhlwyf Llandysul, a thua dwy filldir i'r gogledd-orllewin o'r pentref ac Eglwys y plwyf. Cangen o Bencadair yw yr achos hwn, ac y mae yn agos, os nad yn hollol, cyn hyned a'r fam eglwys. Dan ofal Mr. Stephen Hughes yr oedd yr holl Ymneillduwyr yn y parth hwn o'r wlad o 1662 hyd amser ei farwolaeth yn 1688. Byddai Mr. Hughes yn pregethu yn fynych yn mhlwyf Llandysul yn nhymor yr erledigaeth o 1662 hyd derfyn ei oes, ond nis gwyddom yn mha le neu leoedd y pregethai yma yn yr amser enbyd hwnw. Mae yn dra thebygol fod llawer o Ymneillduwyr yn y plwyf hwn oddiar amser y Werin-lywodraeth. Yr oedd Mr. Jenkin Lloyd, M.A., mab David Lloyd, Ysw., o'r Tairdref-fawr, yn weinidog y plwyf hwn yn amser Cromwell, a chyn hyny. Yr oedd ef yn weinidog galluog ac efengylaidd iawn. Yr oedd yn un o'r rhai a osodwyd i brofi a chymeradwyo dynion cymwys i fod yn bregethwyr cyhoeddus dan y weithred seneddol a basiwyd yn nechreu 1650, er taenu yr efengyl yn Nghymru, ac ni buasai neb ond dynion o syniadau Puritanaidd yn cael yr anrhydedd hwnw gan y senedd. Gan fod Mr. Lloyd yn ddyn mor enwog, yn buritan, ac yn fab i dir feddianwr parchus o'r plwyf, mae yn rhaid fod ganddo ddylanwad mawr yma, ac iddo ennill llawer i'r ffydd yn y lle. Mae yn debygol iddo ef farw cyn adferiad Siarl II. yn 1660, ac yna disgynodd y gofal o borthi ei ddysgyblion ef ar Mr. Stephen Hughes. Cyfeiriasom yn hanes Penrhiwgaled at yr anghydfod a gyfododd rhwng Mr. Thomas David Rees a Mr. Hughes oherwydd fod Mr. Hughes yn myned i wrandaw i Eglwys y plwyf. Gan i Mr. Rees yn yr ymryson hwnw fyned yn Fedyddiwr, ac ennill rhai o'r Ymneillduwyr yn y parthau hyn i ddilyn ei esiampl, mae yn sicr fod yr Ymneillduwyr yma yn nhymor yr erledigaeth yn ddau enwad. Yr oedd yn mhlwyf Llandysul yr amser hwnw un John James yn pregethu gyda'r Bedyddwyr, a bu yn ddyoddefydd mawr yn achos ei grefydd. Mae yn dra sicr i'r Annibynwyr hefyd orfod dwyn eu rhan o'r tywydd garw yma y pryd hwnw; ond y mae eu hanes hwy a'u dyoddefiadau agos yn hollol anhysbys i ni o 1662 hyd 1698. Dywedir eu bod y flwyddyn hono yn addoli dan dderwen yn agos i amaethdy a elwir Pantgwyn. Nid oes un sail i feddwl mai oherwydd unrhyw erledigaeth yr addolent dan y dderwen yn 1698, oblegid yr oedd rhyddid crefyddol i'r Ymneillduwyr i addoli lle y mynent y pryd hwnw. Y peth mwyaf tebygol ydyw, mai yn y Pantgwyn yr addolent, a'u bod ar dywydd teg, oherwydd fod y torfeydd yn lluosog a'r ty yn rhy fychan i'w cynwys, yn addoli allan dan y dderwen er mwyn cyfleusdra. Yn mhen rhyw amser wedi 1698, o bosibl tua 1700, adeiladwyd addoldy bychan yn Mhantycreuddyn, ar dir Gellifarhareu, a symudodd y gynnulleidfa o'r Pantgwyn yno; ac yn Mhantycreuddyn y buont yn addoli am o leiaf bedwar ugain mlynedd. Dan yr un weinidogaeth a Phencadair y bu

* Llythyr Mr. Thomas.

yr achos hwn trwy yr oll o'r ddeunawfed ganrif, a chyn hyny. Tua y flwyddyn 1722, neu y flwyddyn ganlynol, cyfododd ychydig o derfysg yn yr eglwys yn Mhantycreuddyn. Yr oedd gwr iauangc o'r eglwys hon o'r enw Jenkin Jones yn fyfyriwr yn athrofa Caerfyrddin, a thra yno mabwysiadodd olygiadau Arminaidd neu Belagaidd, ac yn mhoethder ei sel dros ei olygiadau newyddion gwnaeth newidiad ei farn yn hysbys i amryw. Yr oedd ei weinidog, Mr. James Lewis, Pencader, yn wrthwynebydd selog i Arminiaeth, ac y mae yn ddiameu fod mwyafrif mawr o'r aelodau yn Mhencadair a Phantycreuddyn yn Galfiniaid yr un fath a'r gweinidog. Yr ydys hefyd i gofio fod Arminiaeth y pryd hwnw yn beth hollol newydd i eglwysi Ymneillduol Cymru, a'u bod yn edrych arno fel cyfeiliornad gwenwynig iawn. Felly pan aeth y son allan fod Jenkin Jones yn Arminiad nid oedd boddlonrwydd iddo gael pregethu yn ei fam eglwys. Ond pan ddychwelodd adref o'r athrofa, yn adeg un o'r gwyliau, daeth y peth i brawf. Yr oedd yn naturiol i'w berthynasau, ac yr oedd llawer o honynt yn aelodau yn Mhantycreuddyn, ddymuno iddo gael pregethu, tra yr oedd y rhai a ddygent sel dros yr hyn a ystyrient yn athrawiaeth iachus yn erbyn iddo gael pregethu o gwbl. Pa fodd bynag, ar un boreu Sabboth aeth i'r areithfa yn Mhantycreuddyn, a phan ddaeth Mrs. Lewis, gwraig y gweinidog, i fewn a'i weled ef yn yr areithfa, cyfododd ac aeth allan. Achosodd hyn gryn deimlad a chynwrf. Yr amser hwnw hefyd byddai symiau o arian yn dyfod i bob un o'r hen eglwysi o'r *Funds* yn Llundain, ac ystyrid fod hawl gan y myfyrwyr yn gystal a'r gweinidogion i gyfran o honynt. Gwrthodid i Jenkin Jones gael cyfran o'r arian a ddaethai i Bantycreuddyn, oblegid ei Arminiaeth, a hyny, yn nghyda'r gwrthwynebiad iddo gael pregethu yno, a arweiniodd yn y diwedd i rwygiad yr eglwys. Mae yn ymddangos fod Jenkin Jones yn ŵr ieuangc talentog a doniol iawn, ac nas gallasai fod gan neb ddim yn ei erbyn ond ei Arminiaeth. Felly darfu iddo yn raddol ennill plaid yn ei fam eglwys i sefyll drosto ef a'i olygiadau. Wedi gorphen ei amser yn yr athrofa daeth adref a phriododd etifeddes o gryn gyfoeth yn ei ardal enedigol. Ychwanegodd hyny lawer at y dylanwad oedd ganddo yn barod. Pan na chydunid i roddi derbyniad iddo fel pregethwr yn Mhantycreuddyn, adeiladodd addoldy Llwynrhydowen, ar ei dir ei hun, tua dwy filldir neu lai o Bantycreuddyn, ac ymadawodd rhan o'r gynnulleidfa gydag ef i'r capel newydd, lle yr urddwyd ef yn weinidog yn 1726. Am ddim a wyddom ni yn amgen bu heddwch yn teyrnasu yn Mhantycreuddyn am flynyddau lawer wedi yr ymraniad hwn. Ond tua y flwyddyn 1770 daeth Mr. William Perkins yn weinidog i Bencadair a Phantycreuddyn, ac ni bu ei arosiad yn eu mysg yn hir cyn i'r ddwy eglwys fyned yn derfysglyd ac anedwydd yn ei achos. Yr oedd yn ddyn galluog iawn o gorph a meddwl, ond un o gymeriad moesol lled amheus ydoedd. Rhyw amser rhwng 1775 a 1778, aeth yr anghydfod y fath yn Mhantycreuddyn fel yr ymadawodd y rhan fwyaf o lawer o'r aelodau a'r gwrandawyr, gan adael yr hen gapel i Mr. Perkins a'r ychydig bobl a ymlynent wrtho. Ond wedi ymadawiad y bobl hyn a wrthwynebent Mr. Perkins aeth yr achos yno yn fuan i'r dim, ac ymadawodd yntau a'r lle. Mae yn debygol i'r bobl a ymadawsant a'r capel fod yn addoli mewn anedd-dai am dymor, ac iddynt ar ol ymadawiad Mr. Perkins ddychwelyd i hen gapel Pantycreuddyn hyd nes yr adeiladwyd Horeb yn y flwyddyn 1784, mewn man mwy cyfleus o'r ardal. Bu Mr. Benjamin Jones, Pencadair, yn gweinidogaethu iddynt cyhyd ag yr arosodd yn

Mhencadir, ac ar ei ymadawiad ef rhoddodd pobl Horeb eu hunain dan ofal Mr. Jonathan Jones, Rhydybont, a than ei ofal ef y buont am un-mlynedd-ar-hugain, ond cafodd Mr. John Lloyd, aelod o Bencadair, a myfyriwr yn athrofa Caerfyrddin, ei urddo yn gynorthwywr i Mr. Jones yn Horeb, Tachwedd 2il, 1802. Bu Mr. Lloyd yn llafurio yma fel cyd-weinidog a Mr. Jones hyd ei symudiad i Henllan yn 1805. Wedi ei ymadawiad ef bu yr eglwys am ysbaid yn petruso pa un a'i aros dan ofal Mr. Jones, mewn cysylltiad a'r eglwysi eraill oedd dan ei ofal a wnelent, neu fyny gweinidog iddynt eu hunain. O'r diwedd penderfynodd y mwyafrif i gael gweinidog iddynt eu hunain. Rhoddasant alwad i Mr. Thomas Griffiths, Trefdraeth, ac urddwyd ef yma yr wythnos gyntaf yn mis Mawrth, 1808. Y dydd cyntaf pregethodd Mr. A. Shadrach, Talybont, a Dr. Phillips, Neuaddlwyd. Yr ail ddydd, gweddiodd Mr. P. Maurice, Ebenezer; pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. B. Evans, Drewen; derbyniwyd y gyffes ffydd, a gweddiwyd yr urdd-weddi, gan hen weinidog y lle, Mr. Jonathan Jones, Rhydybont; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. H. George, Brynberian, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. M. Jones, Trelech. Yn y prydnawn, pregethodd Mr. D. Peter, Caerfyrddin, a Mr. D. Jones, Crugybar. Wedi i Mr. Griffiths lafurio yma yn gydwybodol a diwyd iawn am chwe' blynedd, symudodd i fod yn gydweinidog a'i ewythr, Mr. Evans, Drewen. Yn fuan wedi ymadawiad Mr. Griffiths rhoddodd yr eglwys alwad i un o'i meibion, sef Mr. John Jones, Cilfachgronw, yr hwn oedd newydd orphen ei efrydiaeth yn athrofa Caerfyrddin. Urddwyd ef yma ryw amser yn niwedd y flwyddyn 1814, ond gan na welsom hanes ei urddiad mewn ysgrifen nac argraff nis gallwn enwi y dydd, na'r personau a gymerasant ran yn y gwasanaeth. Wedi bod yn llafurus a llwyddianus iawn fel gweinidog am yr ysbaid byr o dair blynedd, bu y gweinidog addawus hwn farw yn mlodeu ei ddyddiau yn y flwyddyn 1817. Yn fuan wedi marwolaeth Mr. Jones, edrychodd yr eglwys allan am ganlyniedydd iddo, a syrthiodd eu dewisiad ar Mr. Samuel Griffiths, aelod o'r eglwys yn Llwynyrhwrdd. Cynaliwyd cyfarfodydd urddiad Mr. Griffiths Medi 29ain a'r 30ain, 1818. Dygwyd y gwasanaeth yn mlaen yn y drefn ganlynol:—Yr hwyr cyntaf, dechreuwyd trwy weddi gan Mr. J. Bowen, Saron, a phregethodd Meistri D. Jones, Crugybar, a Mr. W. Davies, Rhosycaerau, oddiwrth Mat. xxi. 13, a Jer. xxx. 17. Boreu dranoeth, dechreuwyd gan Mr. J. Lloyd, Henllan; pregethwyd ar natur eglwys, a derbyniwyd y gyffes ffydd, gan Dr. Phillips, Neuaddlwyd; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. T. Jones, Saron; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. M. Jones, Trelech, oddiwrth Phil. ii. 10, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. D. Peter, Caerfyrddin, oddiwrth Exod. xvii. 12. Yr oedd yr eglwys yn Horeb yn gymharol gref ar sefydliad Mr. Griffiths yma. Rhifai yr aelodau y pryd hwnw 218, ond yn mhen ychydig o flynyddau, trwy fendith yr Arglwydd ar ei ymdrechion doeth a dibaid ef, aethant yn fwy na thri chymaint o rif, a chan i'r capel fyned yn rhy fychan helaethwyd ef i gymaint arall o faint yn 1826. Cynaliwyd cyfarfod ei agoriad yn nglyn a chyfarfod chwarterol sir Aberteifi, Hydref 4ydd a'r 5ed, 1826. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri E. Jones ac M. Jones, Trelech; G. Griffiths, Ebenezer; T. Griffiths, Hawen; I. Jones, Trefdraeth; M. Ellis, Talybont; J. Rowlands, Cwmllynfell; W. Jones, Rhydybont; D. Davies, Aberteifi; T. Phillips, Neuaddlwyd, a D. Peter, Caerfyrddin. Mesurai y capel 40 troedfedd wrth 27

troedfedd, a thalwyd yr holl ddyled gan yr eglwys a'r ardal.* Aeth y capel hwnw yn fuan yn rhy gyfyng, fel y bu raid ei helaethu yn 1832. Yn y flwyddyn hono hefyd adeiladwyd addoldy i gangen o'r fam eglwys yn Mwlchygroes, ac ail adeiladwyd Carmel, cangen arall a ffurfiesid yn eglwys yn fuan ar ol dechreuad tymor gweinidogaethol Mr. Griffiths yn y lle. Ar ol bywyd o lafur diatal a llwyddianus iawn yn y cylch hwn am ddwy-flynedd-a-deugain bu farw Mr. Griffiths yn 1860, yn gyflawn o ddyddiau, ac o barch gyda Duw a dynion.

Yn mhen dwy flynedd wedi marwolaeth Mr. Griffiths urddwyd ei ganlyniedydd, Mr. Thomas P. Phillips, y gweinidog presenol. Urddwyd Mr. Phillips yma Gorphenaf 18fed, 1862. Dechreuwyd trwy weddi gan Mr. D. Davies, Llanbedr; pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. W. Roberts, un o athrawon athrofa Aberhonddu; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. W. Jones, Glynarthen; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. D. Davies, Aberteifi; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. J. Morris, athraw duwinyddol athrofa Aberhonddu, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. J. Williams, Castellnewydd. Pregethwyd hefyd yn y prydnawn yn Horeb, a thrwy y dydd canlynol yn Mwlchygroes, gan Meistri W. M. Davies, Blaenycoed; J. Williams, Hawen; J. M. Prytherch, Wern; D. Williams, Rhydybont; I. Williams, Trelech; W. Evans, Aberaeron; O. Thomas, Brynmair, ac eraill. Mae Mr. Phillips, fel ei ragflaenydd rhagorol Mr. Griffiths, wedi bod yn ymdrechgar iawn i ledaenu terfynau yr achos trwy ffurfio cangenau o'r fam eglwys mewn gwahanol gyrau o'r ardal. Fel y nodwyd, yn nhymor gweinidogaethol Mr. Griffiths ffurfiwyd cangenau yn Carmel a Bwlchygroes, ac yn nhymor Mr. Phillips ffurfiwyd y cangenau yn y Gwernllwyn a Llandysul. Felly mae yr hen eglwys barchus hon, yr hon nid oedd ond un yn 1818, erbyn hyn wedi myned yn bump, ac er fod pob un o'r cangenau yn llodeuog y mae yr hen fam etto yn parhau yn lluosog ei haelodau. Mae yma eglwys unol a gweithgar, ac ysgol Sabbothol effeithiol a bywiog. Fel y cawn sylwi etto, y mae gweinidog wedi cael ei sefydlu ar y gangen yn y Gwernllwyn, ond y mae y tair cangen arall, yn gystal a'r fam eglwys dan ofal Mr. Phillips.

Mae yn sier fod llawer o bersonau rhagorol am eu duwioldeb a'u defnyddioldeb wedi bod o bryd i bryd yn dal cysylltiad ag eglwys mor henafol a lluosog a hon, ond o ddiffyg defnyddiau nid ydym ni yn alluog i gofnodi eu henwau nac i roddi un hanes am danynt. Mae ein cofres o'r pregethwyr a gyfodwyd yma yn sier o fod yn mhell o fod yn gyflawn, ond wele hi mor gyflawn ag y medrasom ni ei gwneyd:—

Jenkin Jones. Efe yw y cyntaf o'r pregethwyr a gyfodwyd yma ag y mae genym ni hanes am dano. Fel y nodasom eisoes, bu ef yn achlysur o derfysg a rhwygiad yn yr eglwys ryw amser rhwng 1723 a 1726. Efe oedd y cyntaf o'r pregethwyr Ymneillduol yn Nghymru ag y mae genym hanes am dano a bregethodd Arminiaeth neu Belagiaeth yn gyhoeddus. Wedi i'w fam eglwys yn Mhantycreuddyn ymwrthod ag ef oherwydd ei Arminiaeth, urddwyd ef yn Ebrill, 1726, yn Llwynrhydowen, capel a adeiladesid ganddo ar ei dir ei hun. Bu yno yn gweinidogaethu hyd ei farwolaeth yn 1742. Yr oedd Jenkin Jones, fel yr ymddengys yn ddyn talentog a boneddigaidd iawn, a thrwy fod cyfoeth mawr wedi dyfod i'w ran trwy ei briodas yr oedd ganddo ddylanwad dirfawr. Mae yn dra

* *Seren Gomer.* Rhagfyr, 1826.

thebygol iddo fod yn fwy cynil yn ei addefiad o'i Arminiaeth cyn ei urddiad nag y bu wedi hyny, pe amgen ni chawsai un gweinidog Ymneillduol yn Nghymru i ddyfod i'w urddiad. Yn fuan ar ol ei urddiad cyhoeddodd ei olygiadau yn fwy digel. Bernir mai efe yw awdwr y llyfryn a gyhoeddwyd yn 1729, dan yr enw, *Cyfrif cywir o'r pechod gwreiddiol.* Cyhoeddwyd ateb i hwn yn 1730, gan James Lewis, Pencadair, a Christmas Samuel, Pantteg, dan yr enw *Y Cyfrif o'r pechod gwreiddiol.* Gwnaeth cyhoeddiad ei olygiadau newyddion gan Jenkin Jones gynwrf nid bychan trwy holl gylch Ymneillduaeth Gymreig. Cofleidiwyd ei olygiadau gan rai o bregethwyr y Bedyddwyr, yn gystal a'r Annibynwyr, yr hyn a derfynodd yn rhwygiad rhai eglwysi yn eu mysg. Cafodd Jenkin Jones cyn ei farwolaeth weled pump neu chwech o gynnulleidfaoedd Ymneillduol yn Neheudir Cymru wedi mabwysiadu ei olygiadau, ac er nad oedd ef yn proffesu dim yn mhellach nag Arminiaeth aeth y rhan fwyaf o'i bleidwyr cyn diwedd eu hoes yn Ariaid ac yn Undodiaid. Gwnaeth Mr. Jones gryn ddefnydd o'r argraffwasg. Yn 1723, cyhoeddodd gyfieithiad o'r *Llun Agrippa* gan Mathew Mead; yn 1727, cyhoeddodd gyfieithiad o waith Thomas Vincent ar *Ddydd y farn fawr*; yn 1729, fel y nodwyd, cyhoeddodd ei lyfryn ar *Bechod gwreiddiol;* yn 1732, cyhoeddodd lyfr o fwy na 150 o dudalenau o gatecismau i blant; ac yn 1769, cyhoeddwyd gan ei gyfeillion ei gyfansoddiadau barddonol, cynwysedig o hymnau a chaniadau. Nid oes un dadl nad oedd Mr. Jones yn ddyn gweithgar a galluog, ond y mae yn ddiameu i waith dyn o'i weithgarwch, ei dalent, a'i ddylanwad ef daro allan i bleidio Pelagiaeth, neu Arminiaeth anefengylaidd, fod o niwed dirfawr i Ymneillduaeth yn Nghymru. Achlysurodd rwygiadau mewn amryw eglwysi, oerodd deimladau y gweinidogion tuag at eu gilydd, ac ymlidiodd ysbryd crefydd, i raddau pell iawn, o'r eglwysi. Os oedd yn ddyn o deimladau crefyddol, fel yr ydym yn casglu ei fod oddiwrth duedd dduwiol y llyfrau a gyfieithwyd ganddo, mae yn ddiameu na chymerasai y byd am bleidio y golygiadau a bleidiwyd ganddo pe buasai yn gallu rhagweled eu canlyniadau andwyol.

John Jones. Rhoddir ei hanes ef yn mysg y gweinidogion.

James Jones. Urddwyd ef yn Nghapelhelyg, Arfon, yn 1832. Symudodd oddiyno i'r Abermaw, lle y bu yn ddefnyddiol iawn hyd o fewn tair blynedd yn ol, pryd y rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny. Mae etto yn parhau i bregethu bob Sabboth mewn gwahanol fanau.

John Williams. Efe a ymfudodd i'r America wedi iddo ddechreu pregethu, ac nid oes genym ychwaneg o hanes i'w roddi am dano.

D. W. Jones. Yn nglyn a Threffynon y daw ei hanes ef.

David Evans. Ganwyd ef yn mhlwyf Llandysul yn 1803. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yn Horeb yn 1824. Dechreuodd bregethu yn 1828. Bu wedi hyny am rai blynyddau yn athrofa y Neuaddlwyd. Aeth oddiyno i Meare, yn Ngwlad yr Haf, lle y bu yn pregethu am dymor fel efengylwr, ond heb gael ei urddo. Yn 1837, symudodd i Winsham, yn yr un sir, lle yr urddwyd ef yn Hydref, 1839. Bu yno yn ddefnyddiol hyd 1859, pryd y rhoddodd y weinidogaeth i fyny oherwydd methiant yn ei iechyd. Yna symudodd i Wiveliscombe, lle y bu farw yn ddisymwth iawn Rhagfyr 20fed, 1863.

Theophilus Griffiths, mab Mr. Griffiths, y gweinidog. Bu ef farw yn ugain oed Ionawr 20fed, 1838, pan yr oedd newydd ddechreu pregethu. Yr oedd yn ŵr ieuangc gobeithiol iawn.

Thomas Davies, Pantmorwynion. Yr oedd ef oddeutu yr un oed a Mr. Theophilus Griffiths. Dechreuasant bregethu yr un amser, a buont farw yn agos i'r un amser.

David Griffiths, mab Mr. Griffiths, y gweinidog. Addysgwyd ef yn Nghaerfyrddin. Cafodd ei urddo yn Bethesda a Llandysilio, gerllaw Narberth, symudodd oddiyno i St. Florence. Mae er's blynyddau bellach yn weinidog i gynnulleidfa Saesonig yn Falfield, sir Gaerloew.

David Jones. Urddwyd ef yn Mhenygroes, sir Benfro. Mae yn awr yn weinidog yn y Gwernllwyn, cangen o Horeb.

John Davies. Bu ef yn bregethwr cynorthwyol. Y mae wedi marw er's amser bellach.

James Davies. Y mae efe yma yn awr yn bregethwr cynorthwyol.

Aelodau gwreiddiol o'r eglwys hon oedd Mr. D. Davies, Glantaf, a Dr. Pan Jones, Mostyn; ond yn Seion, Rhymni, a Berea, Blaenau, y dechreuasant hwy bregethu, fel y gwelir yn hanes yr eglwysi hyny.*

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

John Jones. Ganwyd ef mewn amaethdy, yn nghymydogaeth Horeb, a elwir Cilfachgronw, neu efallai Cilfachgoronwy, yn y flwyddyn 1787. Cafodd fanteision addysg o'r fath ragoraf o'i febyd. Pan yr oedd mewn ysgol ramadegol yn Nghaerfyrddin y dygwyd ef i benderfyniad i wneyd proffes o grefydd wrth wrandaw pregeth gan Mr. D. Peter oddiwrth Ioan vi. 37, ac ar ei gais pregethodd Mr. Peter ar y testyn hwnw yn ei angladd. Yr oedd yn bedair-ar-bymtheg oed pan dderbyniwyd ef yn aelod eglwysig. Yn mhen tair blynedd wedi hyny y dechreuodd bregethu. Nid ydym yn sicr pa un a'i yn Horeb neu Gaerfyrddin y derbyniwyd ef ac y dechreuodd bregethu. Wedi gorphen ei amser yn yr athrofa, urddwyd ef yn Horeb yn y flwyddyn 1814. Daeth yn boblogaidd a pharchus anghyffredin, nid yn unig yn mysg pobl ei ofal, ond yn eglwysi y wlad yn gyffredinol. Yn nhymor byr ei fywyd cyhoeddus ymwelodd a llawer a leoedd yn y De a'r Gogledd, a bu am rai misoedd yn pregethu i'r Cymry yn Llundain. Ond yn nghanol ei barch a'i boblogrwydd machludodd ei haul a hi etto yn ddydd. Dechreuodd y darfodedigaeth ag ymddangos yn ei gyfansoddiad, ac ar ol pum' mis o gystudd difaol bu farw Hydref 29ain, 1817, yn ddeg-ar-hugain oed. Claddwyd ef yn meddrod y teulu yn mynwent plwyf Bangor. Ar ddydd ei angladd pregethwyd gan Mr. D. Peter, Caerfyrddin, a Mr. T. Jones, Saron, oddiwrth Ioan vi. 37, ac Ephes. i. 7,—testynau a ddewisasid gan yr ymadawedig yn ei gystudd. Yn mhen ychydig ar ol ei farwolaeth cyhoeddwyd marwnad am dano gan y diweddar Mr. Powell, Caerdydd. I'r farwnad hono yr ydym yn ddyledus am gymaint o hysbysrwydd a gawsom o berthynas i'w nodwedd fel dyn, gweinidog, a phregethwr. Fel y canlyn y desgrifia Mr. Powell ef:—

"Efangylwr oedd ei enw, efangylu oedd ei waith;
Efangylaidd oedd ei fywyd, nes terfynwyd ar ei daith;
Gostyngeiddrwydd mawr a chariad, g'lymwyd ynddo ef yn nghyd,
Nes oedd pawb yn gorfod tystio ei fod yn un o'r perlau drud.

Fe'i heneiniwyd ef ag olew gras, gan sanctaidd Ysbryd Ne',
Ac fe'i dygwyd ef i'r gwindy, ynddo rhoddwyd iddo le;

* Llythyrau Mr. T. P. Phillips, Mr. Ebenezer Jones, a Mr. J. B. Jones, B.A.

Drosto rhoddwyd mantell cariad, gwisgoedd iechydwriaeth gun,
Harddwyd ef a phob rhyw dlysau, tegwch nefoedd fawr ei hun

Pibell auraidd oedd ef yma, trwyddo rhoddwyd melus win,
Cwynfan oedd, ac weithiau canu, nes ba'i'r werin ar ddihun ;
Colled ardal, colled eglwys, colled i gymanfa'r De',
Colled cyfarfodydd misol, ydoedd colli ei lafur e'.

A raid cuddio'i wyneb siriol ? a raid pylu'i lygaid llon ?
A raid tewi'i dafod auraidd obry yn y ddaear gron ?
Rhaid, mae'n debyg, dyma'r drefn, dyma'r awr a thyma'r dydd,
I bob gofid gyda'u gilydd orfod gollwng Jones yn rhydd.

Swn canmoliaeth glywaf iddo yn mhob teulu, gan bob un,
Swn canmoliaeth glywaf hefyd gan wirionedd Duw ei hun ;
Trwy eglwysi'r saint yn unfryd peraidd hyfryd yw ei glod,
Teithiwr oedd—ei daith orphenodd, a chyrhaeddodd at y nôd."

Gan fod y gweinidog ieuangc anwyl hwn yn gymeriad mor rhagorol, nid rhyfedd fod ei farwnadydd yn dyweyd—

"Casglodd lluoedd idd ei angladd, wylo oedd eu galar prudd,
Cymysg dagrau a phregethau, fel afonydd ar bob grudd."

Yr oedd Mr. Jones yn dyfod o dylwyth rhyfeddol o garedig, a'r rhan fwyaf o'u berthynasau agosaf yn bobl grefyddol. Yr oedd ei dad a'i fam wedi cael eu claddu o'i flaen ef. Buasai yn dda genym allu rhoddi hanes helaethach am ŵr ieuangc mor rhagorol, ond nid oes genym ddefnyddiau at hyny.

SAMUEL GRIFFITHS. Ganwyd ef yn mhlwyf Clydau, sir Benfro, yn y flwyddyn 1783. Yr oedd ei rieni yn bobl grefyddol a pharchus yn mysg eu cydnabod. Cyfododd dau o'u meibion i'r weinidogaeth, sef William Griffiths, yr hwn fu am flynyddau lawer yn weinidog parchus yn nghyfundeb y Methodistiaid Calfinaidd, ac a dreuliodd y rhan fwyaf o'i oes yn weinidog gyda'r Saeson yn Bury Green, yn Mrowyr, a Samuel Griffiths, gwrthrych y sylw hwn. Ni chafodd ef yn moreu ei oes ond y peth nesaf i ddim o fanteision addysgol. Mewn gwirionedd, nid oedd ysgolion dyddiol o werth dim yn y gymydogaeth y magwyd ef ynddi, ac ni bu ef ond ychydig iawn o amser yn un o'r rhai hyny. Wedi iddo dyfu i fyny i oedran cyfaddas cafodd ei osod i ddysgu y gelfyddyd o saer maen, a bu am rai blynyddau yn dilyn yr alwedigaeth hono. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yn Llwynyrhwrdd gan Mr. M. Jones, Trelech, pan yr oedd rhwng pymtheg ac ugain oed, a pharhaodd i fyw yn deilwng o grefydd hyd ei fedd. Pan yn gweithio wrth ei gelfyddyd fel saer maen, cysegrodd ei holl oriau hamddenol i ddysgu yr iaith Saesonig, a gwahanol gangenau gwybodaeth fuddiol, ac er ei holl anfanteision boreuol daeth yn ddyn gwybodus iawn, ac yn alluog i ysgrifenu yn dlws a gramadegol yn y Gymraeg a'r Saesonaeg. Wedi iddo ddyfod yn ysgolhaig rhagorach na'r cyffredin trwy ei ymdrechion personol, rhoddodd heibio ei gelfyddyd, ac aeth yn ysgolfeistr. Bu am rai blynyddau yn cadw ysgol ddyddiol yn nghapel Llwynyrhwrdd, a gwnaeth ddaioni dirfawr yn yr ardal fel ysgolfeistr. Bu Mr. Samuel Bowen, gynt athraw yr athrofa yn y Drefnewydd, a'r diweddar Mr. Josiah Thomas Jones, Aberdar, yno yn mysg ei ysgolheigion. Yr amser yr oedd yn cadw ysgol yn Llwynyrhwrdd, ar gais taer ei weinidog

a'r eglwys yno, dechreuodd bregethu. Tua yr amser y dechreuodd bregethu, os nad cyn hyny, ymunodd mewn priodas ag Esther, merch Mr. Theophilus James, Pontgych Bu iddynt ddeuddeg o blant, a chawsant y fraint o'u magu i'w maintioli a'u gweled oll yn proffesu crefydd. Bu Mrs. Griffiths fyw ychydig amser ar ol ei phriod, ond y mae hithau er's blynyddau bellach wedi gorphwys oddiwrth ei llafur. Wedi bod am amryw flynyddau yn bregethwr derbyniol, cafodd alwad unfrydol oddiwrth yr eglwys yn Horeb, ac urddwyd ef, fel y gwelsom, yn 1818. Parhaodd i lafurio yn y cylch hwn gyda llwyddiant a pharch mawr hyd derfyn ei oes. Yr oedd arwyddion i'w canfod arno ddwy neu dair blynedd cyn ei farwolaeth fod ei gyfansoddiad cadarn yn rhoddi ffordd yn raddol, ond parhaodd i bregethu hyd y Sabboth diweddaf ond un y bu fyw. Gorphenodd ei yrfa mewn tangnefedd Gorphenaf 4ydd, 1860, yn 77 mlwydd oed. Claddwyd ef ar y nawfed dydd o'r un mis yn mynwent Bwlchygroes. Dangoswyd parch neillduol i'w goffadwriaeth ar ddydd ei angladd. Yr oedd yno tua chwech-ar-hugain o weinidogion, boneddigion yr holl wlad oddiamgylch mewn deuddeg-ar-hugain o gerbydau, a thua dwy fil o wŷr traed.

Yr oedd yn Samuel Griffiths, Horeb, y fath gydgyfarfyddiad dedwydd a chyflawn o ragoriaethau fel ag i'w wneyd yn ddyn nodedig o bwysig, dylanwadol, a pharchus o fewn holl gylch ei adnabyddiaeth. Yr oedd rhyw beth yn fawreddog yn ei ymddangosiad corphorol. Yr oedd yn ddyn lled fawr o gorph, tua phum' troedfedd a deng modfedd o daldra; yn fawr ei esgyrn, ac yn dra thew ei gnawd. Ei wyneb yn llawn, llydan, ac yn wastad yn cael ei harddu gan gochni naturiol. Yr oedd y fath ddiniweidrwydd, sirioldeb, a difrifoldeb yn ei edrychiad, fel nas gallasai neb fod yn bruddaidd nac yn gellweirus yn ei gymdeithas. Medrai chwerthin yn iachus heb wneuthur hyny fel ynfyd-ddyn, a medrai wylo gyda'r rhai fyddant yn wylo mor naturiol a neb a welsom erioed.

Fel dyn a chyfaill yr oedd yn un o'r rhai mwyaf dymunol, dirodres, a chywir a adnabuasom yn ein bywyd. Yr oedd ei hynawsedd yn amlwg i bob un a edrychai yn ei wynebpryd mwyn a diddrwg. Er ei fod yn ddyn siaradus iawn, ac y cymerai ei ran yn gyflawn yn yr ymddiddan yn mhob cyfeillach, nid oedd dim ynddo a wnelsai ei gymdeithas yn anhyfryd i un dyn rhinweddol, ac ni byddai un amser yn siarad yn anfuddiol, nac yn angharedig am neb.

Dichon nad oedd un o ddeng mil o'i gydoeswyr yn fwy cyflawn nag ef fel gwladwr. Bu o wasanaeth dirfawr i'w gymydogion, ac arbedodd iddynt ganoedd, os nad miloedd, o bunau, fuasai yn myned i gyfreithwyr, wrth ysgrifenu ewyllysiau a chytundebau, a chymodi rhwng pleidiau ymrysongar. Yr oedd ei ofal, ei fedr fel ysgrifenydd eglur a chywir, a grym ei synwyr cyffredin, a'i natur dda, y fath fel na wnelai ddim yn wallus ac na fethai braidd un amser i roddi terfyn ar bob ymryson. Ato ef yr elai pawb trwy y gymydogaeth, o bob enwad crefyddol, i ofyn cynghor ar bob mater dyrus, ac anfynych y methent gael yr hyn a ddymunent. Cymerer y ffaith ganlynol fel engraifft o'i fedr i derfynu ymryson:—Unwaith torodd anifeiliaid un o'r Undodiaid i gae ŷd un o aelodau Horeb, ac aeth yn anghydfod rhyngddynt yn nghylch gwerth y golled a wnaethant. Boddlonodd y ddwy blaid i Mr. Griffiths a chymydog arall i fod yn ganolwyr rhyngddynt. Wedi ystyried yr achos barnodd y ddau fod y golled yn hyn a hyn. Gosododd perchen yr anifeiliad y swm a

enwyd ar unwaith ar y bwrdd; ond barnai y gwr a gawsai y golled nad oedd y swm yn ddigon. Ar hyny dywedodd Mr. Griffiths wrtho, "Yr ydym ni ein dau wedi barnu yn gydwybodol fod y swm a enwasom yn ddigon i wneuthur i fyny eich colled, ond os ydych chwi yn barnu yn wahanol deuwch y fory i'm hysgubor i a chymerwch gymaint o ŷd oddiyno ag a farnoch yn angenrheidiol i'ch digolledu." Ar hyny tawelodd y dyn, a darfu yr ymryson. Er iddo fod lawer gwaith yn cymodi pleidiau gelynol ni chlywsom iddo gymaint ag unwaith losgi ei fysedd wrth wneuthur y cymod.

Fel cristion, yr oedd yn un o'r dynion mwyaf duwiolfrydig a nefolaidd ei ysbryd yn ei oes. Yr oedd ei ymddiddanion a'i holl gyflawniadau cyhoeddus yn dangos yn eglur mai dyn yn byw mewn cymundeb agos iawn a'r Arglwydd ydoedd. Yr oedd yn medru ymddangos a bod yn dduwiol iawn heb fod yn ffugsantaidd, a throai bob ymddiddan i gyfeiriad crefyddol heb fod yn annaturiol, a gwneyd ei grefyddolder yn wrthwyneblyd i neb.

Fel pregethwr, er nas gellir ei restru yn mysg prif bregethwyr yr oes, etto yr oedd ynddo gynifer o ragoriaethau fel y gellir ei ystyried yn un o gedyrn y pulpud Cymreig Nodweddid ei holl bregethau gan synwyr cyffredin cryf, chwaeth goethedig, tôn efengylaidd, a thraddodiad tyner, effeithiol, a chyfaddas iawn i doddi teimladau y gwrandawyr. Anfynych y pregethai heb dynu dagrau o ddegau o lygaid. Gan ei fod ef ei hun yn teimlo yr hyn a ddywedai, yr oedd yn naturiol i'w wrandawyr deimlo. Er nad oedd ei lais o ran ei rym ond anghyfartal iawn i rym a maint ei gorph, etto, yr oedd yn eglur, mwyn, a pherseiniol.

Er iddo fyw trwy ei oes ar gyflog bychan iawn mewn cymhariaeth, a magu teulu o ddeuddeg o blant, etto, trwy ei ofal, ei gynildeb, a threfnusrwydd a diwydrwydd diail ei wraig werthfawr, gyda bendith yr Arglwydd, galluogwyd ef i dalu ei ffordd yn anrhydeddus, a byw yn mysg ei gymydogion fel tywysog. Yr oedd yn ysgrifenydd medrus, ond yr oedd ei ofalon teuluol a gweinidogaethol y fath fel nas gallodd gael amser i barotoi nemawr o bethau i'r wasg. Ei draethawd ar grefydd deuluaidd, hanes bywyd ei hen weinidog, Mr. Jones, Trelech, ac ychydig o Gatecismau at wasanaeth yr ysgolion Sabbothol, yw y cwbl, cyn belled ag yr ydym ni yn cofio, a gyhoeddwyd ganddo.

Ar ol bywyd santaidd, llafurus, a defnyddiol, rhoddwyd yr hyn sydd farwol o'r gwas ffyddlon hwn i Grist i orphwys mewn daeargell yn y pen isaf i fynwent capel Bwlchygroes. Heddwch i'w lwch. Wylodd lawer yn ei fywyd mewn gwir gydymdeimlad ag eraill yn eu trallodau, oherwydd cystuddiau, a marwolaethau yn ei deulu ei hun a theuluoedd ei berthynasau, gwasgariad ei blant i wledydd pellenig, a chalongaledwch y gwrandawyr y pregethai iddynt; ond erbyn heddyw y mae pob deigryn wedi eu sychu oddiwrth ei lygaid. Mae y meddwl fod lluaws o fath Mr. Griffiths, o Horeb, yn y nefoedd, yn peri i ni yn fynych fod a "chwant i'n datod," ac i fod yn eu cymdeithas ddedwydd.

## CARMEL.

Cangen o Horeb yw yr achos hwn. Saif y capel tua thair milldir o Landysul ar ymyl y ffordd oddiyno i Ceinewydd, ac o fewn ychydig ddegau

o latheni i gapel yr Undodiaid, a elwir Pantydefaid, ac y mae hefyd o fewn milldir i Lwynrhydowen, ac felly yn nghanol yr Undodiaid. Dechreuwyd yr achos yma dan yr amgylchiadau canlynol:—Mr. John Jones, mab Mr. Jonathan Jones, Rhydybont, yr hwn oedd yn bregethwr ac yn weinidog urddedig, ond yn wrthodedig gan yr Annibynwyr oherwydd ei fod yn proffesu syniadau Arminaidd, ac o bosibl nad oedd ganddynt ddigon o ymddiried yn ei foesoldeb, a aeth at Mr. Jones, Pantydefaid, hen foneddwr oedranus, a mab i Mr. Jenkin Jones, sylfaenydd yr achos yn Llwynrhydowen, a dywedodd wrtho, "Yr oedd eich tad yn bregethwr enwog a dylanwadol yn y gymydogaeth hon; ond y mae y bobl sydd yn awr yn nghapeli Llwynrhydowen a Phantydefaid wedi gwyro at Ariaeth ac Undodiaeth, fel y maent yn anghymeradwy gan lawer yn yr ardal. Mae pobl Horeb yn ormod o Galfiniaid iddynt fyned i'w plith; felly mae yma lawer o bobl yn Arminiaid, fel eich tad, a hoffent gael addoldy ar eu penau eu hunain. Pe caid yma gapel iddynt mi a'u casglwn hwynt yn nghyd, a bregethwn iddynt, ac a ofalwn am danynt." Mewn canlyniad i hyn adeiladodd Mr. Jones gapel ar ei dir ei hun. Wedi ei gael yn barod gwahoddodd Mr. John Jones weinidogion yno i'w agor; ond gan nad oedd ef yn awr yn dal cysylltiad ag un enwad neillduol o grefyddwyr, a bod amheuaeth am iachusrwydd ei gred a glendid ei fuchedd, ni ddaeth ond ychydig o weinidogion i'r cyfarfod. Adeiladwyd ac agorwyd y capel yn y flwyddyn 1819. Bu Mr. J. Jones yn pregethu yma am ychydig fisoedd ond ni ddaeth nemawr i'w wrandaw. Yn y flwyddyn 1820 clafychodd ef a bu farw. Yna cauwyd y capel i fyny. Bu yn gauedig am ychydig amser. Yn urddiad Mr. J. Davies yn Llwynrhydowen, tua y flwyddyn 1821, daeth un John Charles, gof o'r gymydogaeth, at Mr. Griffiths, Horeb, yr hwn oedd yn nghyfarfod yr urddiad, a dymunodd arno fyned at Mr. Jones, Pantydefaid, i geisio benthyg yr addoldy gwag oedd ganddo ar ei dir iddo ef at bregethu ynddo. "Nid wyf fi yn adnabod Mr. Jones," ebe Mr. Griffiths. "Mi ddeuaf fi gyda chwi ato," ebe Sion y gof. Aethant, a derbyniwyd hwy yn garedig. Caniataodd Mr. Jones i Mr. Griffiths gael pregethu yn y capel y Sabboth canlynol. Daeth yno gynnulleidfa luosog yn nghyd. Yn fuan cymerwyd lês o un-flynedd-ar-hugain ar y capel, a pharhawyd i bregethu ynddo bob Sabboth. Cynyrfodd hyn eiddigedd yr Undodiaid, y rhai a dybient mai iddynt hwy yn unig y perthynai y gymydogaeth hono. Ond nid oedd ganddynt ddim i'w wneyd ond canu ambell rigwm i wawdio y pregethwr a'r gwrandawyr, a darogan mai achos i fyned i'r dim ydoedd. Ond profwyd hwy hyd yma yn gau brophwydi. Mae yr achos wedi byw yma am fwy na haner can' mlynedd, ac y mae ynddo yn awr fwy o elfenau bywyd nag erioed.

Yn mhen ychydig amser wedi dechreu pregethu yn y capel meddyliwyd am ffurfio yr aelodau o Horeb a breswylient yn yr ardal yn eglwys yma. Cyhoeddwyd cyfarfod parotoad cyn y cymundeb cyntaf, ac yn mysg eraill, daeth Sion y gof yno yn ymgeisydd am aelodaeth fel *aelod achlysurol*. Gofynodd Mr. Griffiths iddo pa beth a olygai wrth "aelod achlysurol?" Atebodd iddo ef fod am flynyddau yn aelod gyda'r Undodiaid, a'i fod yn awr am eu gadael, ac y gwyddai na chawsai lythyr o ollyngdod ganddynt "Mae hyny yn ddigon tebyg," ebe Mr. Griffiths, "oblegid y mae y fath bellder mawr rhyngom mewn barn am brif bethau yr efengyl, fel nad yw ryfedd yn y byd ein bod heb gyfrinachu a'n gilydd trwy lythyrau. Os nad yw Iesu Grist yn wir Dduw, megis y bernir genym ni ei fod, yna mae

yn rhaid ein bod ni, yn eu golwg hwy, yn ymddiried mewn braich o gnawd, ac yn addoli creadur yn lle Duw. Ond os ydyw Iesu Grist yn wir Dduw, megis yr ydym ni yn credu ei fod, yna nis gallent hwy, sydd yn gwadu ei Dduwdod, fod yn Gristionogion; oblegid nad ydynt yn rhoddi y parch a'r addoliad dyledus iddo." Atebodd Sion, "Y mae hynyna yn eithaf rhesymol; ond efallai eich bod yn fy ngweled i yn ormod pechadur i ddyfod i'ch plith." "Na, ni chauir neb allan oblegid hyny," ebe Mr. Griffiths, "ond y pwngc mawr ydyw, a ydych chwi yn gweled ac yn teimlo eich bod yn bechadur mawr, y fath ag sydd yn golledig yn mhob man tu allan i'ch cael yn Iesu Grist yn gwbl i'ch cadw." "Pechadur mawr ydwyf fi, boed a fyno," ebe Sion. "Y mae genym ni bethau eraill i'w hystyried cyn cymodi a'n gilydd," ebe Mr. Griffiths, "y mae yn rhaid cael crefydd yn y teulu yn gystal ag yn yr eglwys." "Nid oes genyf fi deulu yn y byd ond yr hen wraig a minau," ebe Sion. "Hawddaf i gyd yw i chwi fyned trwy y gwaith gyda'ch gilydd; ond gan ein bod yn lled anhysbys o'n gilydd, meddyliwn mai gwell i chwi aros am ychydig heb ymgyfamodi a ni," ebe Mr. Griffiths. "Gwelaf," ebe Sion, "eich bod am fy ngwrthod, ond pa un bynag a wneloch a'i fy nerbyn a'i peidio, yr wyf yn penderfynu eich dilyn hyd fy medd." Parhaodd i ddyfod i'r cyfarfodydd cyhoeddus, ond ni chynygiodd ei hun yn aelod mwyach. Daeth ei wraig yn mlaen, a derbyniwyd hi yn aelod. Erbyn y flwyddyn 1832 yr oedd y capel wedi myned yn rhy fychan i gynwys y gynnulleidfa, fel yr oedd eisiau ei helaethu. Yr oedd Mr. Jones, Pantydefaid, perchen y capel, erbyn hyn wedi marw, a'i eiddo wedi myned i feddiant Mr. David Thomas o Lanfair. Er fod y gwr hwnw yn fwy o Undodwr na dim arall, etto bu mor garedig a rhoddi lês newydd ar y capel am gant ond un o flynyddau, a swm o arian at ei helaethu. Helaethwyd ef fel y mae yn awr yn ddigon eang i gynwys cynnulleidfa lled fawr. Er na fu yma ddim tebyg i gyffroad neu adfywiad crefyddol o ddechreuad yr achos hyd yn bresenol, y mae yma ychydig o gynydd graddol wedi bod o flwyddyn i flwyddyn, fel y mae yr achos wedi gwreiddio a myned yn gymharol gryf yma. Mae yr aelodau er's blynyddau bellach tua chant a haner o rif.

Mae y capel hwn yn lled agos i Bontycreuddyn, lle bu yr Annibynwyr yn addoli am fwy na phedwar ugain mlynedd, felly wrth osod i fyny achos Annibynol yma nid oedd yr arch ond yn dychwelyd i'w hen gymydogaeth. Er mai Mr. Jenkin Jones fu yn achlysur i ddwyn Ariaeth ac Undodiaeth i'r ardal hon, defnyddiodd rhagluniaeth ei fab drachefn fel offeryn i ddwyn yr athrawiaeth wrthwynebol yma i'w gwrthweithio. Mae dechreuad yr achos Annibynol yn y lle hwn yn dangos y gall yr Arglwydd ddefnyddio unrhyw foddion at ddwyn ei achos yn mlaen, a'i fod yn fynych iawn yn cyfodi offerynau o leoedd na buasai neb yn disgwyl i gyflawni ei fwriadau, fel Sion y gof a Mr. Jones, Pantydefaid, yn yr amgylchiad hwn. Gweinidogion Horeb sydd wedi bod yn gweinidogaethu yma o'r dechreuad.

Cyfodwyd yma yn ddiweddar ddau bregethwr, sef John Morgan Jones a Daniel Jones, y rhai sydd yn awr yn fyfyrwyr yn athrofa Caerfyrddin.

## BWLCHYGROES.

Mae y capel hwn yn mhlwyf Llangunllo, tua haner y ffordd o Horeb i Hawen, ac oddeutu tair milldir o'r ddau le. Pan ddaeth Mr. Samuel

Griffiths i weinidogaethu i Horeb daeth i fyw i le a elwir y Llethr yn agos i'r lle hwn. Wedi iddo ymsefydlu yno, gan fod cryn bellder i gapel Horeb, dechreuodd gadw moddion crefyddol yn ei dŷ ei hun. Trwy y moddion hyn ennillwyd amryw o'r ardalwyr i wrandaw, ac aeth rhai o honynt i ymgeisio am aelodaeth yn Horeb. Yn fuan cychwynodd ysgol Sabbothol yn yr ardal, ac wrth weled cynydd yr ysgol yn yr anedd-dai tueddwyd Llewelyn Parry, Ysw., o'r Gurnos, boneddwr a breswyliai yn yr ardal, i roddi tir a choed at adeiladu ysgoldy. Wedi cael yr ysgoldy yn barod cynelid ynddo gyfarfodydd gweddio a phregethu achlysurol, yn gystal ag ysgol. Yn 1833, dechreuwyd cadw cyfeillachau crefyddol yma, ac yn fuan aed i son am gael capel. Cynyrfwyd ysbryd T. L. Parry, Ysw., mab y gwr a roddodd y tir at yr ysgoldy, ac mewn ymddiddan a Mr. S. Griffiths dywedodd fod yn rhaid cael addoldy yn y gymydogaeth. Dywedodd yntau fod y bobl yn dlodion i fyned dan y fath faich, ac y gallasai hyny fod yn achos i'w gofidio a'u digaloni. Atebodd y boneddwr, "Mae yn rhaid i ni eu cynorthwyo hwy i fyned trwy y gwaith." Cyffrodd yr addewid garedig hon yr holl ardal. Yr amser hwn aeth Mr. Griffiths am dri mis i Lundain, ond cymaint oedd brys y bobl am gael capel fel y dechreuasant ar y gwaith yn ei absenoldeb ef. Hysbyswyd ef mewn llythyr fod y capel wedi cael ei roddi allan i'r crefftwyr, dan arolygiad Mr. Rees Rees, yr hwn a roddai ei wasanaeth yn rhad, a bod Mr. Parry wedi rhoddi ugain punt at ddechreu y gwaith. Wrth gael y fath gychwyniad calonog, cyffrowyd y bobl i ysbryd haelionus. Cyfranodd yr ardalwyr yn gyffredinol yn ol eu gallu. Aeth Mr. Rees, arolygydd y gwaith, trwy y gymydogaeth i dderbyn cyfraniadau y bobl, a daeth yr adeilad yn fuan dan dô, a gosodwyd pulpud a meingciau ynddo, fel y gallesid addoli ynddo am dymor heb gyfleusderau ac addurniadau ychwanegol. Dygwyd ef i'r sefyllfa hon heb fod yn aros nemawr o ddim dyled. Penderfynwyd cael cyfarfod agoriad, ac yn ol dymuniad Mr. Parry gwahoddwyd rhai o weinidogion y Methodistiaid Calfinaidd yn gystal a'r Annibynwyr yno i bregethu ar yr achlysur. Darparodd Mr. Parry giniaw i'r gweinidogion ar ddydd yr agoriad yn ei balas, ac fel y dengys y ffaith ganlynol, mae yn amlwg mai caredigrwydd dynol a chymydogol, yn hytrach na sel grefyddol, a barai iddo gymeryd y fath ddyddordeb yn adeiladaeth y capel a sefydliad yr achos yn y lle. Boreu dydd yr agoriad yr oedd tri i bregethu, ar diweddaf o'r tri oedd Mr. John Evans, Llwynffortun; gyda fod Mr. Evans yn cyfodi i ddarllen ei destyn, wele genad yn dyfod o'r palas yn hysbysu fod y ciniaw yn barod. Mynai Mr. Parry i'r cwbl gael ei roddi i fyny ar y pryd iddynt gael myned i giniaw, a phan y gwrthodwyd cydsynio, nes y buasai Mr. Evans wedi gorphen pregethu, ffromodd ef ac aeth allan o'r capel, ond safodd wrth y drws nes yr oedd yr oedfa drosodd. Yna yn y modd siriolaf arweiniodd y gweinidogion i'r palasdy, a chawsant bob caredigrwydd ganddo.

Yn fuan wedi agoriad y capel, corpholwyd ynddo eglwys o ychydig o aelodau o Horeb oedd yn cyfaneddu yn y gymydogaeth. O hyny allan aeth yr achos ar gynydd yn barhaus. Yn y deg neu ddeuddeng mlynedd diweddaf y mae rhif yr aelodau wedi dyblu. Y maent erbyn hyn tua dau cant neu ychwaneg o rif. Amgylchynir y capel gan fynwent eang wedi ei threfnu yn nodedig o daclus. Fel yr ydym wedi crybwyll yn barod yn y fynwent hon y gorphwys gweddillion y duwiol Mr. Samuel Griffiths, Horeb. Bwriedir yn fuan dynu yr hen gapel i lawr, ac adeiladu

un harddach a llawer mwy eang. Y mae lluosogrwydd a grym y gynnulleidfa yn galw am hyny er's amser bellach.

Ni hysbyswyd ni fod neb wedi cael ei gyfodi i bregethu yn yr eglwys hon. Mewn cysylltiad gweinidogaethol a Horeb y mae yr eglwys hon wedi bod o'r dechreuad, ac felly y mae yn debyg o barhau. Hysbysir ni gan Mr. Phillips, y gweinidog, fod yma eglwys unol, wresog, a gweithgar.

## Y GWERNLLWYN.

Saif y capel hwn tua thair milldir i'r gorllewin o Horeb, yn ymyl y brif-ffordd sydd yn arwain o Landysul i Gastellnewydd, ar y tu gogleddol i'r afon Teifi. Adeiladwyd yma gapel tlws iawn, ac agorwyd ef Hydref 12fed a'r 13eg, 1864. Yr un amser corpholwyd yma eglwys o aelodau Horeb, a bu Mr. Phillips yn weinidog yma am chwe' blynedd. Yn 1870 rhoddodd ofal y lle i fyny, ac yna dewiswyd Mr. David Jones, gynt o Benygroes, sir Benfro, yn weinidog, ac y mae efe yn parhau yma hyd yn bresenol. Cymerodd llawer o'r ardalwyr eu rhan yn deg yn nghychwyniad yr achos ac adeiladaeth y capel hwn, ac yn mysg y rhai mwyaf blaenllaw, ymdrechgar, a selog gyda'r gwaith, dylid crybwyll enwau Meistri John Jones ac Enoch Jones, Ffynonwen. Gan fod y boblogaeth yn lled luosog yn y gymydogaeth hon, a bod yr addoldy yn un mor hardd a chyfleus, y mae pob sail i ddisgwyl, gyda bendith yr Arglwydd, y daw yma gydag amser achos cryf a dylanwadol iawn. Os nad ydym yn camgymeryd, yn mhlwyf Bangor y mae y capel hwn. Ychydig i fyny ar y llechwedd uwchlaw iddo y mae y Bronwydd, palasdy Syr Thomas D. Lloyd, Barwnig.

## SEION, LLANDYSUL.

Mae Llandysul yn un o'r pentrefydd harddaf yn y Dywysogaeth, ac yn deilyngach o gael ei alw yn dref nag yn bentref, gan fod yma adeiladau prydferth, a mwy o drigolion, a phob cyfleusdra arall, nag a geir mewn llawer o drefydd. Dylasai fod yma gapel gan yr Annibynwyr er's haner can' mlynedd yn ol, gan mai hwy yw yr enwad hynaf a lluosocaf o lawer yn y plwyf eang hwn er's mwy na dau ganrif, ond yn rhyw fodd esgeuluswyd adeiladu capel yma hyd yn ddiweddar. Yn niwedd y flwyddyn 1870 dechreuwyd ar y gwaith o ddifrif. Tynwyd cynllun capel eang a phrydferth gan Mr. Thomas, Glandwr, a chafodd yr adeilad hardd ei orphen fel y cynaliwyd cyfarfodydd yr agoriad yma Hydref 4ydd a'r 5ed, 1871. Yr oedd y cyfarfod hwn hefyd yn gyfarfod chwarterol y sir. Pregethwyd yn y gwahanol oedfaon gan Meistri Thomas, Glandwr; Evans, Caernarfon; Kilsby Jones, Evans, Aberaeron; Evans, Ceinewydd; Morgans, Penlan; Thomas, Llanfair; Jones, Llwyncelyn; Davies, Aberteifi; Marks, Salem, a Thomas, Brynmair. Mewn cysylltiad a'r achos hwn dylid crybwyll gyda pharch enw Mrs. Jones, y Shop, yr hon a roddodd y tir at adeiladu y capel, a chanoedd o bunau at draul yr adeiladaeth. Bu Mr. Ebenezer Jones hefyd yn ddiwyd, haelionus, ymdrechgar, a ffyddlon iawn gyda'r gwaith o'r dechreu i'r diwedd. Trwy eu gweithgarwch a'u dylanwad hwy, a chydweithrediad calonog yr ardalwyr, cyfodwyd yma un o'r addoldai harddaf yn y sir. Ffurfiwyd yma eglwys o aelodau Horeb gan Mr.

Phillips, y gweinidog, ac efe yw bugail yr eglwys ieuangc mewn cysylltiad a'r fam eglwys. Mae yma gynnulleidfa dda, a thua chant o aelodau yn barod, a phob argoel y bydd yma achos cryf iawn mewn ychydig amser. Mae y capel erbyn hyn yn ddiddyled, a phob peth yma yn ymddangos yn llodedig o addawus a gobeithiol. Mor wahanol yw agwedd pethau yn mhlwyf Llandysul yn awr i'r hyn ydoedd pan yr ymwelai Stephen Hughes a'r lle rhwng 1662 a 1688, ac y pregethai yn ddirgel mewn anedd-dai i nifer cymharol fychan o bobl erlidiedig. Gall trigolion Llandysul heddyw ddyweyd, "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen." Ond dylent gofio mai i lafur a dyoddefiadau y tadau y maent yn ddyledus am eu holl freintiau yn yr oes hon.

## BRYNTEG.

Saif y capel hwn yn rhan orllewinol plwyf Llanwenog. Er's llai na deugain mlynedd yn ol yr oedd y plwyf hwn yn amddifad o addoldy Ymneillduol, ac oherwydd hyny mewn cyflwr digrefydd ac anfoesol. Treulid y Sabboth yn gyffredin i ddwyn yn mlaen gampau llygredig, yn neillduol "cicio'r bêl droed." Ar y Nadolig yr oedd "*match* cicio'r bêl" yn cymeryd lle rhwng gwyr y plwyf a gwyr y Blaenau, pryd y ceid cynnulliad lluosog, oddeutu tair mil, meddir, o drigolion y plwyf a'r ardaloedd cyfagos. O dosturi at gyflwr truenus y trigolion gwnaed cynyg i godi ysgol Sabbothol yn mhentref Rhuddlan, ond oherwydd ymddygiad anfad a gwrthwynebus y trigolion, gorfodwyd ei rhoddi i fyny. Yn 1834, symudodd Mr. John Jones a'i deulu o Blaenborthyn, yn mhlwyf Llandysul, i fyw i Blaenbronfain, yn mhlwyf Llanwenog, a daeth ei frawd-yn-nghyfraith, Mr. John Griffiths, a'i deulu, i fyw yn ei le yn Blaenborthyn. Yr oedd y ddau deulu yn perthyn i eglwys Pencadair. Yr oedd Mr. David Griffiths a'i deulu, Llanfechan, a Mr. David George, gwas Major Evans, Dolaubach, hefyd yn perthyn i Rydybont. Cynygiasant gadw ysgol yn amaethdai Bro Gwenog ar gylch, a llwyddasant tu hwnt i bob disgwyliad. Cawsant lawer o gymorth gan rai o aelodau y Methodistiaid Calfinaidd yn nghapel Waunifor. Pan gasglodd yr ysgol neith, penderfynwyd codi addoldy. Cafwyd tir at hyny, a chladdfa eang, gan Major Evans, ar dir Abertegan, ar lês o 200 o flynyddau am 10s y flwyddyn. Cafwyd pob caredigrwydd gan amaethwyr yr ardal. Agorwyd y capel yn 1838, a'r Nadolig cyntaf cynaliwyd cyfarfod ysgolion Sabbothol Noni, Rhydybont, a Brynteg ynddo, er mwyn dybenu "y *match* cicio'r bel," yr hyn a wnaed yn llwyr, ac am byth with bob tebyg. Ffufiwyd yma eglwys, ac am y pedair blynedd cyntaf gofelid am yr achos gan Meistri S. Griffiths, Horeb; M. Rees, Pencadair; J. Lewis, Rhydybont; D. Davies, Llanbedr, ac E. Williams, Penycae. Bu y ddau olaf yn cadw ysgol yn Brynteg, bob un am auaf yn olynol. Yn 1842, ymunodd Brynteg a Rhydybont a Chapel Noni i fod dan weinidogaeth "Jones, Llangollen," ond darfyddodd Mr. Jones a gweinidogaethu yn Brynteg flynyddoedd cyn iddo ymadael a'r ddwy eglwys arall. Yn 1852, ymunodd Brynteg a'r ddwy eglwys uchod i roddi galwad i Mr. Henry Jones, Saron, ac yn 1862, i Mr. D. Williams, Glynnedd. Talwyd dyled adeiladu y capel yn bur fuan, ond yn ddiweddar y mae wedi ei adnewyddu a'i brydferthu. Mae golwg gysurus iawn ar yr achos dan weinidogaeth fywiog ac effeithiol Mr. Williams.

Yr unig bregethwr a gyfodwyd yma yw Mr. John Bowen Jones, B.A., Penybont-ar-ogwy, a mab Mr. John Jones, Blaenborthyn, un o gychwynwyr yr achos yma.

---

Mae yn sir Aberteifi, fel y gwelir, 56 o eglwysi, heb gyfrif deg yn ychwaneg sydd yn nghyfundeb Annibynol y sir, ond sydd yn ddaearyddol yn sir Gaerfyrddin; ac yr ydym eisioes wedi rhoddi eu hanes yn nglyn a'r sir hono. Un cyfundeb sydd yn y sir, a Chymreig yw yr holl eglwysi oddigerth dwy, un yn Aberteifi a'r llall yn Aberystwyth. Dichon nad oes yr un o siroedd Cymru yn fwy Cymreig na'r sir hon, ac er mor gyflym yw lledaeniad yr iaith Saesneg, gallwn dybied y bydd yn lled hir cyn cyrhaedd rhai o gymoedd a glynoedd mwyaf anghysbell sir Aberteifi.

Saif y sir yn uchel yn marn y cyhoedd fel sir grefyddol, ac mor belled ag y mae darostyngiad poblogaeth gwlad i wrando yr efengyl, a thalu parch allanol i'w hordinhadau, yn dangos ei chrefyddolder, y mae yn sefyll yn uchel mewn gwirionedd. Nid oes un sir yn Nghymru lle y ceir cynnulleidfaoedd lluosocach i wrando yr efengyl ar unrhyw awr o'r dydd, ac y mae ynddynt astudrwydd mawr wrth wrando, a llawer iawn o dynerwch yn eu teimladau sydd yn gwneyd pregethu iddynt yn hyfrydwch; ac nid ydym yn tybied eu bod ar ol i siroedd eraill mewn dealldwriaeth a gwybodaeth ysgrythyrol a duwinyddol. Fel y gwelsom eisioes, cafodd Ymneillduaeth afael foreu, a gafael ddwfn yma, ac y mae yr hyn a adnabyddid er's mwy na dau can' mlynedd yn ol fel "Eglwys sir Aberteifi" wedi ymestyn i luaws o wahanol gangenau, ac i wahanol enwadau. Mae un peth neillduol yn haeddu ei grybwyll yn nglyn a hen eglwysi y sir hon, sef fod cynifer o honynt wedi eu colli i'r enwad yr oeddynt unwaith yn dal cysylltiad ag ef. Gelwid rhai o'r hen eglwysi yn Bresbyteriaid, ond i bob amcan ymarferol yr oeddynt yn Annibynwyr, ac yn gwbl annibynol ar eglwysi eraill yn nhrefniad eu hamgylchiadau mewnol; ond mewn llawer o honynt yr oedd yr awdurdod yn llaw y gweinidog a'r swyddogion, ac nid yn ol y drefn Annibynol yn llaw yr holl aelodau. Gogwyddodd amryw o'r eglwysi hyn yn eu golygiadau yn nechreu y ddeunawfed ganrif, ac erbyn hyn y maent oll wedi gwyro i Undodiaeth yn ddigel. Mae dylanwad y golygiadau hyn wedi cyrhaedd yn mhellach na'r eglwysi neillduol a ddirywiodd ynddynt. Mae eu tuedd bob amser i sychu ysbryd crefydd, ac i oeri yr awyrgylch ysbrydol. Dyna yr effaith a gynyrchwyd ganddynt yn y rhanau hyny o'r sir hon lle y mae eu coleddwyr luosocaf. Mae y rhan hono o'r wlad ar lan Teifi, o Lanbedr hyd Landysul, lle y mae yr Undodiaid yn fwyaf lluosog, yn nodedig am anghrefyddolder eu hysbryd, a'u hamddifadrwydd o argyhoeddiadau crefyddol dwfn a dwys. Er y gallent

fod yn gymydogion heddychol, ac yn wladwyr da, etto y mae yr eglwysi efengylaidd sydd yn llafurio yn eu mysg yn gorfod teimlo fod eu dylanwad yn milwrio yn erbyn crefydd bur ac ysbrydol.

Gwelsom fod rhanbarth eang arall o'r wlad lle y cafodd yr Annibynwyr feddiant boreu o hono wedi ei golli yn llwyr iddynt trwy waith Mr. Thomas Gray yn dwyn hen eglwysi Llwynpiod a Blaenpenal i gyffyrddiad agos a'r Methodistiaid Calfinaidd. Dyma hen faes llafur yr hyglod Phillip Pugh, yr hwn oedd yn hen weinidog Ymneillduol efengylaidd cyn i Daniel Rowlands dori allan fel diwygiwr yn Llangeithio, ac at yr hwn yr oedd Mr. Rowlands yn teimlo y parch dyfnaf fel "gweinidog da i Iesu Grist." Parhaodd Thomas Gray, olynydd Phillip Pugh, yn weinidog Annibynol i'r eglwysi hyn hyd ei farwolaeth, ond anaml y cyfathrachai a'r Annibynwyr, ac ni chyrchai i'w cymanfaoedd na'u cyfarfodydd cyhoeddus; ond dilynai gymdeithasfaoedd y Methodistiaid os byddent o fewn cyrhaedd iddo, a derbyniai eu pregethwyr i'w bulpudau, fel yr oedd y rhan fwyaf o'i bobl yn mhell cyn diwedd ei oes wedi ymddyeithrio yn hollol oddiwrth yr Annibynwyr. Teimlai amryw o'r hen bobl er hyny hwyrfrydigrwydd i gyflwyno eu hunain yn llwyr i'r Methodistiaid, ac wedi ei farwolaeth bu gradd o ymryson rhwng yr hen bobl a'r bobl ieuaingc, pa un ai gweinidogion yr Annibynwyr ai yr offeiriaid Methodistaidd a elwid i weini yr ordinhadau. Adroddai Mr. B. Rees, Llanbadarn, wrthym flynyddau yn ol un digwyddiad, yr hwn rhag iddo fyned ar ddifancoll a roddwn i mewn yma. Tebygol iddo ef ei dderbyn oddiwrth Mr. Azariah Shadrach ei hun, fel nad oes un lle i amheu ei gywirdeb. Yr oedd cyfarfod gweinidogion yn cael ei gynal mewn man yn sir Aberteifi, yn union wedi marw Mr. Gray, a daeth cais yno oddiwrth rai o hen bobl Llwynpiod a Blaenpenal ar i un o'r gweinidogion ddyfod yno y Sabboth canlynol i gadw cymundeb. Trefnwyd i Mr. Shadrach fyned. Ond ar ei ffordd yno clywodd Mr. Shadrach fod yr eglwysi yn ymrafaelio yn nghylch pwy a wahoddid i gadw y cymundeb—fod yr hen bobl am gael gweinidog Annibynol yno, ond fod y bobl ieuaingc am gael Mr. Williams, Lledrod, yno, a bod yn debyg y byddai Mr. Williams yno yn ei gyfarfod dranoeth. Digalonodd Mr. Shadrach ar hyny, a throdd yn ei ol, a gadawodd y lle i'r offeiriad Methodistaidd. Y tebygolrwydd ydyw ped aethai Mr. Shadrach yno, a chymeryd meddiant o'r lle, y buasai gorsaf i Annibyniaeth wedi ei chadw yn y rhanbarth yma o'r sir; ond fel arall y bu, a bellach er's mwy na thriugain mlynedd y mae yr Annibynwyr wedi eu cau allan yn hollal o'r parth helaeth hwn o'r wlad o Langybi hyd Lanbadarn. Nid ydym yn dyweyd fod crefydd bur ac efengylaidd wedi bod ar ei cholled trwy hyn, ond yr ydym yn teimlo fod yn bur annaturiol fod yr hen enwad a gymerodd y meddiant cyntaf o'r wlad hono wedi ei gau allan yn llwyr o honi, a'i gau allan trwy anffyddlondeb un a aeth yno i'w wasanaethu; a byddai yn burion i luaws Methodistiaid rhanau

uchaf sir Aberteifi gofio mai "eraill a lafuriasant, a chwithau a aethoch i mewn i'w llafur hwy."

Bendithiwyd sir Aberteifi yn yr oes ddiweddaf a thô o ddynion egniol a gweithgar o blaid helaethiad yr achos. Yr ydym eisioes wedi crybwyll am eu llafur yn nglyn a hanesion yr eglwysi, ond y mae yn werth ail grybwyll eu henwau, os bydd hyny yn foddion i ddwyn yr oes hon i gydnabod yn ddwysach eu dyled iddynt, ac i feddwl am eu ffydd gan ystyried "diwedd eu hymarweddiad hwy." Yn rhan uchaf y sir Dr. Phillips, Neuaddlwyd, a Mr. A. Shadrach o bawb a wnaeth y gwasanaeth mwyaf i grefydd ac i'w henwad; ac yn y rhan isaf a chanol y sir bydd enwau a llafur Meistri B. Evans, Drewen; T. Griffiths, Hawen; D. Davies, Aberteifi; D. Thomas, Penrhiwgaled, ac S. Griffiths, Horeb, mewn coffadwriaeth barchus gan genedlaethau a ddel. Yr oeddynt yn boblogaidd fel pregethwyr, yn llafurus fel gweinidogion, ac yn nodedig o ymdrechgar i eangu terfynau teyrnas y Gwaredwr.

Dylem gydnabod y gwasanaeth mawr a wnaeth athrofa Neuaddlwyd am dymor hir yn y sir hon. Bu ynddi o bryd i bryd dô ar ol tô o bregethwyr oeddynt yn dra phoblogaidd trwy yr holl wlad; ac er eu holl lafur a'u gweithgarwch nis gallasai y gweinidogion a enwyd wneyd y gwaith a wnaethant heb eu cynorthwy hwy. Yr oedd yn gyfryw sefydliad ag oedd yn cyfarfod angen y wlad yn y dyddiau hyny, ac o ran hyny bu yn y Neuaddlwyd, ar wahanol adegau, ddynion oeddynt mor boblogaidd fel pregethwyr fel y buasent yn anrhydedd i unrhyw athrofa mewn unrhyw oes, a diau genym fod y golled yn fwy na'r ennill o ddileu y cyfryw sefydliadau.

Mae cyfnewidiadau mawrion wedi cymeryd lle yn agwedd pethau yn y sir yn ystod y chwarter canrif diweddaf. Mae yr hen weinidogaethau eang, cangenog, wedi eu tori i fyny gan mwyaf, ac os nad ydynt wedi dyfod mor bell a chael gweinidog ar bob eglwys, y maent yn nesau at hyny. Yn lle trefn yr hen weinidogion, y rhai a ymddibynent ar eu ffermydd er dwyn eu teuluoedd i fyny, y mae y rhan fwyaf o'r gweinidogion yn byw "wrth yr efengyl, heb rwystro gyda negeseuau y bywyd hwn," a'r eglwysi yn lle cyfranu yn haner blynyddol at gynhaliaeth y weinidogaeth, fel yr arferent gynt, yn aml yn gwneyd hyny yn fisol, a llawer yn dechreu dyfod i deimlo na ddylai yr un Sabboth fyned heibio heb i bob un gael cyfle i gyfranu megis y llwyddodd Duw ef. Mae crefydd yn ei gwedd allanol trwy y sir mewn agwedd iachus—capeli eang, ac agos oll yn ddiddyled, cynnulleidfaoedd cryfion, a'r ysgolion Sabbothol yn lluosog ac yn weithgar, a'r gweinidogion sydd yn aros yn olynwyr teilwng o'r rhai a fu o'u blaen; ac er nad yw yr eglwysi ar hyn o bryd yn mwynhau diwygiadau grymus, etto y mae y dynion goreu yn hiraethu am weled nerth a gogoniant yr Arglwydd fel ei gwelsant yn ei gysegr, ac y mae rhyw rai ar ei heithaf yn ymdrechu er "darparu i'r Arglwydd bobl barod."

# SIR FLINT.

Terfynir y sir hon ar y dwyrain gan sir Gaerlleon; ar y de a'r gorllewin gan sir Ddinbych, ac ar y gogledd gan y môr. Hon yw y leiaf o holl siroedd Cymru mewn arwynebedd. Nid yw ei harwynebedd ond 184,905 o erwau. Mae y tir gan mwyaf oll yn nodedig o fras a ffrwythlon. Mae cryn gyfoeth o lô, mŵnoedd haiarn a phlwm, a digonedd o gerig calch i'w cael ar hyd a lled y sir, ac felly mae mwyafrif y trigolion yn ymddibynu ar y gweithiau glo, plwm, a haiarn, er fod yma gryn nifer hefyd yn ymddibynu ar amaethyddiaeth. Nifer y trigolion yn 1871 oedd 76,245, a'r cynydd er 1861 oedd 6,508. Tri o'r ddwy fil Anghydffurfwyr a drowyd allan o'r Eglwysi plwyfol yn y sir hon yn 1662, sef Phillip Henry, Robert Fogg, a Richard Steel. Yr oedd nifer o drigolion y sir yma yn perthyn i'r eglwysi Ymneillduol yn Wrecsam a Dinbych yn amser yr erledigaeth o 1662 i 1688, ond ni chafodd eglwys ei ffurfio yma cyn 1672. Cafodd hono ei ffurfio yn rhywle yn agos i Gaergwrle, ond mae yn ymddangos iddi fyned i'r dim yn mhen ychydig flynyddau, os nad yw yr achos yn Newmarket yn barhad o honi. Rhai cymharol ddiweddar yw yr eglwysi Annibynol yn y sir hon, fel y dangosir yn eu hanes. Tair-ar-ddeg-ar-hugain yw rhif ein heglwysi trwy yr holl sir, ac nid yw y rhan fwyaf o'r cyfryw ond bychain a gweiniaid. Y Methodistiaid Calfinaidd a Wesleyaidd yw y ddau enwad cryfaf yma, ac y mae y ddau hyn agos yn gyfartal mewn rhif. Er fod yr Eglwys Wladol yn gymharol luosog ei phleidwyr yma, nid yw ei chynnulleidfaoedd ond llai nag un ran o dair o gynnulleidfaoedd yr holl enwadau Ymneillduol yn nghyd. Y trydydd mewn rhif yw yr enwad Annibynol yn y sir hon.

## NEWMARKET.

Dyma yr eglwys hynaf yn sir Flint. Nis gwyddom a ydyw yn ddilyniad o'r eglwys fechan a gyfarfyddai yn mhlwyf Hope. Tebygol nad ydyw, ac i hono ddiflanu yn llwyr cyn diwedd yr eilfed-ganrif-ar-bymtheg, ac mai yn nechreuad y ddeunawfed ganrif y cychwynwyd yr achos yma, yr hwn sydd wedi parhau hyd y dydd hwn, er iddo fod ar fwy nag un adeg fel "llin yn mygu."

Yn y flwyddyn 1701, darfu i un John Wynne, Ysw., o Copperleny, gerllaw y lle, dadleuydd cyfreithiol wrth ei swydd, roddi llysdy y dref, yr hwn oedd feddiant iddo, i ymddiriedolwyr, i fod dros byth yn gapel i Ymneillduwyr Protestanaidd. Ymddengys fod y boneddwr hwn yn meddu etifeddiaeth helaeth yn y gymydogaeth, a'i fod yn Ymneillduwr selog, oblegid gorchymynodd fod i'w gorph gael ei gladdu y tu fewn i furiau y capel. Nis gwyddom pwy oedd y gweinidog cyntaf a fu yma. Dichon mai gweinidogion Wrecsam a Dinbych a ddeuai yma yn achlysurol; beth bynag, y mae genym sicrwydd y byddent hwy yn dyfod yma mewn blynyddoedd diweddarach. Bu Mr. Thomas Perrot yma am rai blynyddoedd. Nis gwyddom pa bryd y daeth yma, ond rhywbryd wedi y flwyddyn 1706 ydoedd, oblegid yn Awst y flwyddyn hono yr urddwyd ef yn Knutsford, sir Amwythig. Aeth oddiyma cyn 1715, oblegid nid ydym yn cael ei enw yn mysg gweinidogion Cymru yn y rhestr a gasglwyd y flwyddyn hono. Tebygol iddo symud oddiyma i Loegr cyn ymsefydlu yn Nghaerfyrddin tua'r flwyddyn 1718. Un Richard Humphreys oedd y gweinidog yma yn 1715, yr hwn yn 1718 a drodd i'r Eglwys Sefydledig. Yr oedd yma un aelod y pryd hwnw yn werth rhwng 14,000p. a 15,000p., ac yr oedd gan yr aelodau yma un bleidlais dros y sir, a thair dros y bwrdeisdrefi. Dilynwyd Mr. Humphreys yma gan un Jonathan Davies, ond nid ymddengys iddo fod yma fwy nag un flwyddyn, oblegid Mr. William Williams oedd yma o'r flwyddyn 1720 hyd 1730, yr hwn a symudodd oddiyma i Stroud, ac a aeth wedi hyny i Dredwstan, sir Frycheiniog, lle y treuliodd weddill ei oes, fel y ceir gweled pan ddeuwn at hanes yr eglwys hono. Am flwyddyn wedi hyny bu un Jenkin Lewis yma, ac wedi hyny drachefn am flwyddyn bu James Jardine yma. Yn 1733 daeth Francis Boult yma, a bu yma am ddeng mlynedd, ac yna symudodd i'r Amwythig i fod yn gynorthwywr i Mr. Job Orton. O 1744 hyd 1747 bu Mr. Griffith Hughes yma. Bu yn athrofa Caerfyrddin am bedair blynedd cyn hyny, ac wedi ymadael oddiyma bu yn cynorthwyo Mr. Phillip Pugh; a thueddir ni i feddwl mai efe oedd yr Hughes a briododd etifeddes Cwmhowy, am yr hwn y crybwyllasom yn hanes Brynmair, sir Aberteifi. Dilynwyd ef gan Mr. John Evans o athrofa Caerfyrddin, yr hwn a fu farw yma yn 1748. Dywed Mr. Thomas Morgan am dano, "yr wyf yn ofni nad oedd o fawr anrhydedd i grefydd." Ar ei ol ef bu un Posthumus Lloyd yma o 1749 hyd 1751, ac un Evan Jones o 1752 hyd 1758, ac un James Bevan o 1759 hyd 1762. Wedi hyny bu y gofal am ddwy flynedd ar Mr. Daniel Lloyd, Dinbych, ac am ddwy flynedd wedi hyny bu un John Williams yma. Nis gwyddom fawr fwy am y personau uchod na'u henwau, a'u bod yn ystod y blynyddau a nodir yn derbyn cynorthwy o'r Trysorfwrdd Presbyteraidd fel rhai yn gweinidogaethu i'r eglwys yn Newmarket.

Yn y flwyddyn 1790 daeth Mr. Thomas Jones, myfyriwr o'r athrofa yn Nghroesoswallt, yma. Daeth yma ar gais Dr. Williams, ei athraw; Mr. Jones o Gaer; Dr. Harries, ysgrifenydd y Bwrdd Presbyteraidd yn Llundain, a Mr. Jonathan Catheral. Yr oedd yr achos yma wedi myned yn hynod o isel, ond cynghorent ef i wneyd y prawf. Nid oedd yma ddim ond un aelod, a hen wraig o Scotland oedd hono, ac yr oedd y capel wedi myned yn adfeiliedig hollol. Dichon y dylase i grybwyll cyn hyn mai yn Saesneg y dygid yr achos yma yn mlaen o'r dechreuad, er mwyn y dyeithriaid o Loegr a Scotland, y rhai yn benaf a'i dechreuasant, ac felly, nid oedd brodorion y lle yn cymeryd dim dyddordeb ynddo, ac yr oedd yr holl gymydogaeth yn ddiarhebol am ei llygredigaeth a'i hanfoesoldeb. Llafuriodd Mr. Jones yma am ddwy flynedd heb un arwydd llwyddiant ar ei lafur. Ni allai gael gan neb ddyfod i ganu i'r capel, oblegid eu bod yn cael tâl arianol, a diodydd meddwol yn yr Eglwys. Meddyliodd am ymadael yn mhen dwy flynedd, a hysbysodd ei fwriad i Mr. Brown, gweinidog Gwrecsam, yr hwn a'i hanogodd i aros blwyddyn yn rhagor. Yr oedd ei feddwl mewn pryder dwys, a'r flwyddyn hono torodd gwawr. Daeth amryw yn mlaen i ymofyn aelodaeth, ac adgorpholwyd yr eglwys cyn diwedd y flwyddyn 1793, ac ordeiniwyd Mr. Jones yn weinidog. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri G. Lewis, Llanuwchllyn; W. Brown, Wrecsam; D. Davies, Treffynon, a D. Lloyd, Dinbych. Bu Mr. Jones yn dra llwyddianus yma; adgyweiriwyd a helaethwyd yr addoldy dair gwaith yn ei amser ef, a chodwyd capeli bychain yn Gwaunysgor a'r Sarn. Llafuriodd yma yn ddiwyd a ffyddlon am yr ysbaid maith o 51 mlynedd, a bu farw Gorphenaf 10fed, 1841, yn 75 oed. Cyn diwedd y flwyddyn hono rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. Evan Davies (Eta Delta), Llanerchymedd, a bu yma yn ddiwyd a ffyddlon hyd ei farwolaeth yn 1855. Yr un flwyddyn rhoddwyd galwad i Mr. Thomas Roberts, Llanuwchllyn, ond ni bu yma ond ychydig gyda dwy flynedd. Derbyniodd alwad o Lanrwst, a symudodd yno. Yn nechreu y flwyddyn 1859 dechreuodd Mr. Robert Parry, Abercarn, ei weinidogaeth yma. Ni bu yntau yma ond ychydig gyda dwy flynedd. Rhoddodd ei weinidogaeth yma i fyny, gan gyfyngu ei lafur i'r Sarn, a chyn hir symudodd i'r Graigfechan a'r Pwllglas. Yn mhen amser rhoddwyd galwad i Mr. Josuah Davies, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Chwefror 16eg, 1863. Ar yr achlysur gweinyddwyd gan Meistri W. Rees, Aberllyfeni; L. Everett, Dyserth; M. D. Jones, Bala; J. Roberts, Conwy; J. Davies, Amwythig; B. Williams, Dinbych, ac H. Pugh, Mostyn. Llafuriodd Mr. Davies yma yn ddiwyd a ffyddlon, er mewn gwendid a llesgedd, am fwy na chwe' blynedd, a bu farw Gorphenaf 5ed, 1869. Y flwyddyn ganlynol derbyniodd Mr. William Griffith, Llanelwy, alwad gan yr eglwys, a dechreuodd ei weinidogaeth yma Mawrth 5ed, 1870, ac y mae yn parhau i lafurio yma gyda derbyniad mawr.

Mae yn ddiau i lawer o bersonau nodedig fod yn perthyn i'r eglwys hon o'i dechreuad hyd yn awr, ond nid oes enwau neb o honynt wedi treiglo i lawr hyd atom ni. A ganlyn yw y rhestr gywiraf a allwn gael o'r pregethwyr a godwyd yn yr eglwys hon:—

Edward Evans. Yr oedd yn fyfyriwr yn athrofa Caerfyrddin yr un pryd a Mr. Thomas Morgan; fel hyn y dywed ef yn ei ddydd-lyfr am dano, "Mr. Edward Evans, genedigol o Newmarket yn sir Flint. Yr oedd yn ŵr ieuangc gwyllt, ond o dalentau da. Yr wyf yn clywed ei fod yn

awr wedi diwygio, ac yn debyg o fod yn ddefnyddiol yn Bridgenorth, yn sir Amwythig. Trodd allan drachefn yn ddrwg iawn, a chlywais iddo fyned yn offeiriad yn 1760."

Lewis Everett. Bu yn aelod o'r eglwys yma am 32 o flynyddau, a dechreuodd ei yrfa grefyddol pan oedd yr achos yn isel. Am flynyddoedd olaf ei oes bu yn bregethwr cynorthwyol parchus a derbyniol. Bu farw Medi 2il, 1826, yn 68 oed.

Robert Everett, D.D. Mab i'r uchod. Addysgwyd ef yn athrofa Gwrecsam. Urddwyd ef yn Ninbych, ac y mae yn awr er's 50 mlynedd yn America, ac y mae ei enw yn anwyl a pharchus gan filoedd o bob tu i'r Werydd.

Lewis Everett. Brawd i'r uchod. Daw dan sylw yn nglyn a Dyserth.

Edward Williams. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1810. Mab ydoedd i Thomas Williams, Ochr-y-gop. Derbyniwyd ef yn aelod yn Newmarket, lle hefyd y dechreuodd bregethu. Aeth i Liverpool i dderbyn addysg, ac ymunodd a'r eglwys yn y Crescent. Yn 1836 cynygiodd ei hun i wasanaeth y Gymdeithas Genhadol, ac wedi cael prawf boddhaol arno, derbyniwyd ef, ac anfonwyd ef allan i ddeheubarth Affrica cyn diwedd y flwyddyn hono. Bu am ysbaid blwyddyn yn llenwi lle Dr. Phillips yn Union Chapel, Cape Town, gyda ffyddlondeb a chymeradwyaeth mawr. Yn Rhagfyr, 1837, hwyliodd i'w orsaf genhadol yn Hankey, ac am yn agos i bum' mlynedd llafuriodd gyda hunanymwadiad sanctaidd er daioni ysbrydol y brodorion yno. Yr oedd yn llawn o ysbryd y gwaith, a bu ei lafur o dan fendith Duw yn llwyddianus yn nychweliad llawer o eneidiau. Yn mis Medi, 1842, bu raid iddo adael maes ei lafur, a dychwelyd i Loegr oherwydd anhwyldeb poenus yn ei wddf, yn gystal ag adfeiliad cyffredinol yn ei iechyd. Cyrhaeddodd drosodd yma yn Ebrill, 1843. Yr oedd yn llawn gobeithion am ddychwelyd i faes ei lafur, ond fel arall y trefnodd rhagluniaeth. Yn niwedd Ebrill, 1844, aeth i Lundain i gael barn feddygol ar ei ddolur, ac i ymgynghori a chyfarwyddwyr y Gymdeithas Genhadol. Wedi myned yno, aeth yn waelach, a bu farw Mehefin 15fed, yn 30 oed, a chladdwyd ef yr 20fed o'r un mis yn Abney Park Cemetery. Priododd cyn cychwyn allan gyda Miss Roberts, merch ieuengaf Rosa, gerllaw Dinbych, yr hon a adawodd ar ei ol yn weddw gyda dau blentyn amddifaid. Goruchwyliaeth dywyll i ni oedd i Mr. Edward Williams farw pan yr oedd cymaint o angen dynion o'i sel, ei ymroddiad, a'i hunanymwadiad ef ar y maes cenhadol.

John Hughes, Purgatory. Bu yn bregethwr cynorthwyol parchus yn yr eglwys am dymor hir. Bu farw Awst 18fed, 1844, yn 56 oed. Yr oedd yn sefyll yn uchel a chymeradwy yn yr eglwys a'r ardal.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Gan nad oes genym ddim i ychwanegu am y gweinidogion a fu yn yr eglwys hon am y ganrif ddiweddaf, rhaid i ni gyfyngu ein cofnodion i'r tri gweinidog a fu farw mewn cysylltiad a'r eglwys yn y ganrif hon.

Thomas Jones. "Ganwyd ef mewn lle a elwir Penybont, yn mhlwyf Llanedi, yn sir Gaerfyrddin, Tachwedd 1af, 1764, o rieni a elwid John a Margaret Hughes, y rhai oeddynt yn amaethwyr wrth eu galwedigaeth, yn byw yn gysurus, ond yn amddifad o fywyd crefydd yn eu buchedd. Bu

ei dad farw cyn ei eni ef; ac yn mhen amser, ailbriododd ei fam a dyn arall, yr hwn ydoedd ŵr caled, yn ymroddi i feddwdod. Oherwydd y pethau hyn, ni chafodd nemawr o addysg a hyfforddiant daionus yn ei ieuengctyd, ond gorfu arno weithio yn galed ar y tyddyn. Ond gofalodd Tad yr amddifaid am y llangc Thomas Jones, er ei alluogi i gyrhaedd ychydig o ddysgeidiaeth fuddiol yn lled fore. Nid oedd y pryd hwnw mor fantais werthfawr o gael ysgol Sabbothol i hyfforddi pobl ieuaingc fel ag sydd yn awr. Un boreu (y mae yn debyg mai boreu Sabboth oedd), pan yr oedd mewn brys mawr yn gwisgo am dano i fyned allan, daeth ei chwaer hynaf ato, a dywedodd wrtho yn ddifrifol am farw, y farn, a'r sefyllfa ddyfodol o wobr a chosb mewn byd arall, yr hyn bethau a effeithiodd mor ddwys ar ei feddwl y pryd hwnw fel na fedrodd byth eu dilëu, er iddo amcanu at hyny. Cymerodd hyn le pan yr oedd o naw i ddeng mlwydd oed. Teimlai awydd mawr i ddysgu darllen, fel y gallai ddarllen y Bibl ei hun, ond yr oedd hyn yn fwy nag a oddefai ei amgylchiadau iddo gael y pryd hwnw. Ond bu farw ei frawd hynaf, yr hwn a adawodd iddo ychydig o arian; ac mor fuan ag y daeth i feddiant o'r rhai hyn, defnyddiodd hwynt i gyrhaedd ychydig o ddysgeidiaeth. Ar ol treulio o hono y rhai hyn, daeth i sychedu fwyfwy am wybodaeth lenyddol; a phan ydoedd wedi myned heb obaith am ychwaneg, bu farw brawd arall iddo, yr hwn a adawodd fwy o arian na'r llall ar ei ol iddo, a defnyddiodd y rhai hyn drachefn i'r un perwyl. Yr oedd ei feddwl y pryd hwn wedi ei ddwyn dan argraffiadau dwysach o bethau byd arall, fel y daeth i'r penderfyniad mai ei ddyledswydd oedd gwneuthur proffes gyhoeddus o grefydd Crist, yr hyn a wnaeth trwy aelodi ei hun yn y gangen eglwys a ymgyferfydd yn y Crwys.

"Yr oedd ei ymgais i gyrhaedd gwybodaeth, a meithriniad crefyddol, y pryd hwn gymaint fel yr aberthodd ei giniaw bob Sabboth er cael tair pregeth, a chyfeillach dynion duwiol. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig pan tua dwy-ar-bymtheg oed, ac yn mhen tair blynedd wedi hyn anogwyd ef gan yr eglwys i ddechreu pregethu yr efengyl. Yn fuan wedi hyn, agorwyd drws iddo trwy diriondeb rhagluniaeth i gael derbyniad i'r athrofa oedd y pryd hwnw yn Nghroesoswallt, dan arolygiaeth yr hybarch Dr. Williams. Yr oedd gan Mr. Jones y meddyliau parchusaf am Mr. Williams fel athraw medrus a chyfaill caredig. Pan yn agos a gorphen ei amser yn yr athrofa, danfonodd ysgrifenydd y Bwrdd Henaduriaethol at Dr. Williams i ofyn iddo a allai efe ddim eu cyfarwyddo hwy at unrhyw ddyn ieuangc sobr a chymwys i fyned i Newmarket i ymdrechu adferu yr achos yn y lle. Cyfeiriodd yntau hwy, mewn canlyniad, at Mr. Jones fel un tebyg, yn ol ei feddwl ef, i wneyd daioni yno. Wedi iddo fyned am un Sabboth, a dychwelyd, efe a aeth yno drachefn yn mhen y flwyddyn, ac a arosodd yno, megis y nodwyd yn flaenorol.

"Yn y flwyddyn 1793, ymbriododd a Miss E. Davies o Groesoswallt, yr hon a fu yn wraig dda a rhinweddol iddo trwy holl daith yr anialwch, o'r pryd hwnw hyd derfyn ei oes, a gadawodd hi yn y diwedd yn weddw i alaru ei cholled ar ei ol. Bu iddynt lawer o blant, ond ni bu ond pump o honynt byw i gael tyfu i fyny i oedran gwyr. Yr oedd Mr. Jones yn ddyn teimladwy a llariaidd, yn briod hawddgar, ac yn dad tyner a gofalus. Teimlai yn fawr dros lwyddiant ei blant, yn enwedig mewn cysylltiad a'u cyflwr a'u cynydd ysbrydol, a chafodd eu gweled oll yn arddel crefydd Mab Duw.

"Er nad oedd Mr. Jones yn ŵr cyhoeddus iawn yn y wlad, nac yn bregethwr poblogaidd yn ngolwg y cyffredin, etto yr oedd yn weinidog syml, doeth, a synwyrlawn—yn efengylaidd ei egwyddorion, a difrycheulyd ei ymddygiadau, yr hyn bethau a ennillodd iddo barch mawr, dylanwad cryf, a chymeradwyaeth gwresog gyda'i gyfeillion a'i gydnabyddion. Astudiai ei bregethau yn dda, a byddent yn llawn o efengyl. Cymwysai ysgrythyrau priodol at yr hyn bethau yr ymdriniai a hwy. Er nad oedd ganddo darawiadau tanllyd i effeithio ar deimladau ei wrandawyr, llais uchel a pheraidd i'w cynhyrfu, nac ysgogiadau neillduol i dynu eu sylw, etto dysgleiriai ei weinidogaeth yn ngoleuni gair Duw, a symledd Cristionogol. Yr oedd yn llawn o ymborth iachus, a hyfforddiant sancteiddrwydd, i'r rhai hyny ag oedd o deimladau ac archwaeth ysbrydol. Yr oedd yn rhaid ei fod yn llafurio yn galed pan yr ystyriom ei fod yn cadw ysgol ar hyd yr wythnos, a'i fod yn dwyn cymaint o amrywiaeth yn ei weinidogaeth bob Sabboth, ger bron yr un gynnulleidfa, am dros haner can' mlynedd, heb iddi golli ei blas; oblegid yr oedd efe yn fwy cartrefol na'i frodyr yn gyffredin. Ymddangosai hyn yn rhyfeddach wrth ystyried nad ydoedd yn un helaeth iawn o ran ei dalentau naturiol, ac mai trwy lafur a diwydrwydd y daeth yr hyn oedd. Cyfarfu a gwahanol dywydd yn ei berthynas a'r eglwys ar wahanol amserau. Bu rai gweithiau yn dra llwyddianus yn yr eglwys; gwelodd droion eraill gladdu llawer o'i gyfeillion goreu, a diarddeliad eraill, er tristwch a gwaradwydd i grefydd. Ymarferiad dynion a diodydd meddwol a'i tristaodd fwyaf drwy ei oes yn yr eglwys."*

Yr oedd Mr. Jones yn ŵr Duw mewn gwirionedd, a threuliodd ei fywyd mewn cymundeb agos ag ef. Ennillodd barch mawr trwy yr holl wlad, a hyny yn benaf trwy ei gymeriad diargyhoedd a'i ffyddlondeb difwlch. Ni chafodd ond byr gystudd, a phregethodd ddwywaith y Sabboth cyn ei farwolaeth. Bu farw Gorphenaf 10fed, 1841, yn 75 oed, a chladdwyd ef yn y capel gerllaw gweddillion ei anwyl ferch, yr hon a roddasid i orwedd yno ychydig o'i flaen ef. Cafodd gladdedigaeth anrhydeddus, ac yr oedd y rhan fwyaf o'i frodyr yn y weinidogaeth yn siroedd Dinbych a Fflint yn bresenol ar yr achlysur.

Evan Davies (Eta Delta). Ganwyd ef yn y flwyddyn 1794. Ei rieni oeddynt Robert ac Elizabeth Davies, Cefn, Llanbrynmair. Derbyniwyd ef yn aelod yn Hen Gapel, Llanbrynmair, pan yn ieuangc, a dechreuodd bregethu yn y flwyddyn 1820. Bu am rai blynyddoedd yn athrofa y Drefnewydd, ac ar ol hyny aeth am dymor i Bilston i lafurio. Gwasanaethodd am ysbaid blwyddyn yn y Tabernacl, Liverpool, tra yr oedd Mr. Breese yn Llundain cyn casglu. Derbyniodd alwad o Lanrwst, ac urddwyd ef yno Chwefror 8fed, 1827, a bu yno hyd y flwyddyn 1834, pryd y symudodd i Lanerchymedd, a bu yno hyd ddiwedd 1841, pryd y symudodd i Newmarket, lle y bu hyd derfyn ei oes. Gwaelodd ei iechyd yn fawr yn ei fisoedd diweddaf, a bu farw Medi 1af, 1855, yn 61 oed.

Yr oedd Mr. Davies yn gymeriad tra nodedig, ac yn un anhawdd iawn i roddi dar uniad cywir o hono. Yr oedd yn ŵr llafurus a gweithgar fel gweinidog, a sicr genym ei fod yn gydwybodol fel cristion, er fod llawer o ryw rodres o'i gylch. Hynododd ei hun yn arbenig fel dirwestwr, ac efe oedd y cyntaf a ddaeth allan yn Nghymru yn gyhoeddus i bleidio

* *Hanes Ymneillduaeth.* Tu dal. 575.

llwyrymataliad. Goddefodd lawer o wawd a gogan oblegid ei sel, a diau y gallasai yntau wasanaethu yr amcan yn llawn mor effeithiol gyda mwy o dynerwch, a geiriau caredicach. Yr oedd yn bur barod yn ei haelioni i'r tlawd a'r angenus, ac er fod rhyw uchelgais ynddo am flaenoriaeth yn mysg ei frodyr, etto yr oedd mewn rhyw bethau yn dra hunanymwadol. Pan oedd yn Llanerchymedd cynygiodd ei gyfeillion dirwestol fod Tysteb i gael ei gwneyd iddo, fel arwydd o'u parch tuag ato ar gyfrif ei sel a'i weithgarwch; ond dewisodd ef i'r arian a gyfrenid gael eu rhoddi er symud y ddyled drom oedd ar yr addoldy newydd a godasai yn Llanerchymedd. Yn anffodus, aeth i wrthdarawiad anhapus a nifer o'i frodyr yn y weinidogaeth yn y Gogledd, yr hyn a barodd iddo ef ddyweyd geiriau caledion am danynt hwy, ac iddynt hwythau ddyweyd geiriau llawn mor galedion am dano yntau. Yr oedd ynddo wrthwynebiad cryf i eisteddfodau, ac yn enwedig i waith gweinidogion yn eu mynychu ac yn ymgystadlu ynddynt, a chan fod nifer o ddynion pur amlwg yn y weinidogaeth yn y Gogledd ar y pryd yn feirdd o radd uchel, a rhai o honynt yn mynychu eisteddfodau, parodd ei ysgrifeniadau chwerwder mawr tuag ato. Yr oedd ei syniadau yn eithafol, fel y tybiwn, ar addysg athrofaol fel cymhwysder i'r weinidogaeth. Prin y cydnabyddai y dylesid urddo neb heb iddynt gael cwrs rheolaidd o addysg; ac yn enwedig, barnai y dylasai y cyfryw, os urddid hwy, foddloni ar wasanaethu mewn cylchoedd anghyhoedd a dinod, ond yn anffodus iddo ef yr oedd yr eglwysi wedi gwahodd rhai o'r cyfryw i'r lleoedd pwysicaf perthynol i'r enwad, ac yn mynu eu cael i'r cymanfaoedd a'r prif gyfarfodydd. Parodd y pethau hyn gyda rhyw bethau eraill i'w frodyr ac yntau bellhau yn fawr oddiwrth eu gilydd yn y deng mlynedd olaf o'i oes. Ysgrifenodd lawer i'r *Dysgedydd* ar byngciau duwinyddol a moesol o dan yr enw Eta Delta, ac er nad oedd yn ysgrifenydd coeth a chyfan, etto yr oedd yn hawdd deall ei fod wedi talu llawer o sylw i byngciau duwinyddol. Calfiniad cymhedrol oedd o ran ei farn, ond byddai weithiau yn lled anochelgar wrth draethu ei olygiadau. Cyhoeddodd amryw fan draethodau, yn mysg eraill ysgrifenodd ar *Gadwedigaeth Babanod* yn 1833, a *Chynghorion a chyfarwyddiadau meddygol er cymorth i bobl gyffredin ddiogelu, cadw, ac adfywio iechyd.* Daeth hwn allan yn 1840; ac yn 1844 cyhoeddodd *Y Weinidogaeth a'r Eglwysi*, yr hwn a barodd y cyffroad mwyaf, a chyhoeddwyd ail argraffiad o hono yn mhen deng mlynedd gydag ychwanegiadau. Mae gan y rhai a fu mewn cysylltiad agos ag ef, yn enwedig y rhai a ddygwyd i fyny yn yr eglwysi dan ei ofal, barch dwfn i'w enw a'i goffadwriaeth, a siaradent yn wastad am dano fel gweinidog ffyddlon a chydwybodol, ac yn gwir amcanu at lesiant pobl ei ofal; er ar yr un pryd cydnabyddent y buasai ei ddefnyddioldeb yn fwy pe nad amharesid ef gan annoethineb mewn mân bethau, ac ymyriad diachos mewn pethau na pherthynai iddo. Ond y mae er's blynyddau bellach wedi gorphwys oddiwrth ei lafur, a sicr genym y coffeir yn barchus gan yr oesau a ddel am ei lafur a'i wasanaeth i achos sobrwydd a chrefydd yn ein gwlad.

JOSUAH DAVIES. Ganwyd ef yn agos i Gastellnewydd-Emlyn yn y flwyddyn 1837. Bu farw ei rieni pan nad oedd ond ieuangc, ac efe oedd yr hynaf o dri o blant, fel y daeth gofal y ddau ieuengaf arno ef. Symudodd i Dowlais i weithio pan nad oedd etto ond bachgen, ac yno yn Bethania y derbyniwyd ef yn aelod, a gweithiwr difefl a fu. Anogwyd ef i ddechreu pregethu, ac yn mhen amser aeth i athrofa y Bala, lle y gwnaeth gynydd

cyflym fel myfyriwr. Pan ar daith cafodd wely llaith, yr hyn a effeithiodd ar ei gyfansoddiad, ac ofnid am ei fywyd ar y pryd, ac ni ddaeth byth y peth a fu cyn hyny. Yr oedd tyddyn bychan wedi dyfod yn eiddo iddo, yr hwn a adawyd iddo gan ei fodryb, gweddw ei ewythr, yr hen bregethwr hybarch Thomas Rhys Davies, yr hwn oedd yn weinidog poblogaidd perthynol i'r Bedyddwyr, a bu hyny o help mawr iddo yn ei nychdod a'i wendid. Gorfodwyd ef i adael yr athrofa yn gynt na'i fwriad, ac aeth i'r Amwythig, am y tybiai fod y lle yn gynesach. Cryfhaodd yn raddol, a derbyniodd alwad o Newmarket, lle yr urddwyd ef Gorphenaf 16eg, 1863, ac ymroddodd yno yn egniol i gyflawni ei weinidogaeth. Yr oedd yn ddyn gonest, difrifol, a diofn, ac ni arswydai draethu yr hyn a gredai oedd wirionedd. Cyn hir wedi ei sefydliad yn Newmarket priododd a Miss Jane Jones, merch Mr. Edward Jones, Post-office, Rhuthyn, o'r hon y ganwyd iddo ddwy ferch, y rhai gyda'u mam a adawyd yn amddifaid ar ei ol. Gwaelodd ei iechyd, a bu farw Gorphenaf 5ed, 1869, yn 32 oed, ond erys ei goffadwriaeth yn anwyl a pharchus gan bawb a'i hadwaenai.

## TREFFYNON.

Dechreuwyd pregethu yma tua'r flwyddyn 1785, gan un Mr. Bowder, Sais o Sheffield, mewn ystafell yn y ty a elwir *Red Lion*, yn Heol Whitford. Wedi ymadawiad Mr. Bowder daeth un Mr. Hale yma i bregethu ac i gadw ysgol. Dywedir ei fod yn ysgolhaig rhagorol, ac yn bregethwr doniol ac effeithiol. Yn ei amser ef y corpholwyd yma eglwys, a thynwyd allan gyffes eu ffydd, ac amodau eu cyfamod eglwysig, y rhai sydd yn mhob peth yn gyffelyb i gyffesion a chyfamodau Ymneillduwyr y dyddiau hyny. Gwnaed y cyfamod Ebrill 28ain, 1789, yn mhen tair blynedd wedi dechreu pregethu yma. Mae yn ymddangos fod gan Mr. Jonathan Catharel o Buckley law neillduol yn nghychwyniad yr achos yma, oblegid cawn ei enw ef wrth y cyfamod, a bu Mr. Jones o Gaer o help mawr wrth gychwyn y gwaith da yn y lle poblog hwn. Yr un flwyddyn adeiladwyd capel yn y man y saif y capel presenol yn Heol-y-capel. Mae yn ymddangos mai y Saeson oedd a'r llaw flaenaf gyda'r gwaith, ac mai yn Saesneg y dygid y gwasanaeth yn mlaen ar y dechreu, ond wedi ymadawiad Mr. Hale dygid yr addoliad yn mlaen yn y ddwy iaith. Yn y flwyddyn 1790 daeth Mr. David Davies yma o Gydweli, sir Gaerfyrddin. Ni bu erioed yn weinidog yn Abergavenny, fel y camhysbysir yn *Hanes Ymneillduaeth*. Un genedigol o Lanybydder ydoedd, ond bu dair blynedd yn weinidog yn Cydweli a Phenygraig. Bu yma am ddeng mlynedd yn llafurus fel gweinidog, ac yn golygu y *Geirgrawn* neu *Drysorfa gwybodaeth*, ond gan ei fod yn fwy rhyddfrydig ei olygiadau na'i gydoeswyr, bu mewn enbydrwydd mawr. Ymadawodd oddi yma yn y flwyddyn 1800, a chyn hir sefydlodd yn y Trallwm.

Yn y flwyddyn 1801 daeth Mr. David Jones, myfyriwr o athrofa Gwrecsam, yma, ac urddwyd ef Gorphenaf 15fed, y flwyddyn hono. Ar yr achlysur gweinyddodd Meistri J. Lewis, Wrecsam; G. Lewis, Llanuwchllyn; B. Jones, Pwllheli; W. Brown, Wrecsam; D. Davies, Trallwm; J. Wilson, Norwich, a T. Jones, Newmarket. Ymaflodd Mr. Jones yn ei waith o ddifrif, a bu yn dra llwyddianus. Taflai ei galon i bob peth. Cynyddodd yr achos fel y bu raid helaethu y capel, a'i ail adeiladu cyn ei

farwolaeth i'w faintioli presenol. a ffurfiwyd cangenau yn Bagillt, Rhesycae, Mostyn, a Phenpylliau, heblaw yr achos Saesnaeg yn y Maesglas. Daliodd yr achos i fyned rhagddo yn llwyddianus hyd farwolaeth annisgwyliadwy Mr. Jones Awst 25ain, 1831, yn 61 oed.

Bu yr eglwys yma am flynyddau ar ol marwolaeth Mr. Jones heb sefydlu ar weinidog. Yr oedd cryn dipyn o anhawsder i wneyd hyny gan fod y gwasanaeth yn cael ei ddwyn yn mlaen yn y Gymraeg a'r Saesnaeg, ac yr oedd yn anhawdd cael dyn i foddloni y ddau bâr pobl hyn. O'r diwedd penderfynwyd i gael dau weinidog, un i wasanaethu yn benaf i'r Cymry a'r llall i'r Saeson, ond bod iddynt newid a'u gilydd yn ol eu cyfleustra. Rhoddwyd galwad i Mr. Ellis Hughes, myfyriwr o athrofa Drefnewydd, a Mr. David William Jones, myfyriwr o athrofa Rotherham, ac urddwyd y ddau Awst 25ain a'r 26ain, 1835. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Dr. Raffles, Liverpool, a Meistri W. Williams, Wern; D. Morgan, Machynlleth; E. Davies, Drefnewydd; J. Pearce, Wrecsam; H. Morgan, Samah; T. Jones, Newmarket, ac eraill. Aeth pob peth yn mlaen yn lled dawel dros yn agos i dair blynedd, ond nid mor llwyddianus ag y gallesid dymuno. Yr oedd y Cymry a'r Saeson yn dechreu anesmwytho, a'r naill yn teimlo fod y llall yn sathru ar eu terfynau hwy. Meddyliwyd unwaith am ymranu yn heddychol, ac i bob un gynal eu gweinidog eu hun, ond iddynt addoli yn yr un capel, ond ar oriau gwahanol, ac ymddangosai y lluaws yn foddhaol i hyny. Pa fodd bynag, y diwedd fu i Mr. Hughes a'r Cymry gael y capel wedi ei gau yn eu herbyn ar brydnawn Sabboth Awst 25ain, 1839. Nis gellir condemnio y fath ymddygiad mewn iaith rhy gryf. Yn sicr gall Cristionogion gael rhyw ffordd mwy dynol i derfynu eu dadleuon na thrwy gloi eu capeli yn erbyn eu gilydd. Cyd-ddygwyddiadau nodedig ydoedd, mai Awst 25ain, 1831, y bu farw yr hen weinidog, Mr. Jones; Awst 25ain, 1835, yn mhen pedair blynedd, yr urddwyd Meistri Hughes a Jones, ac Awst 25ain, 1839, yn mhen pedair blynedd wedi hyny, y clowyd Mr. Hughes a'r Cymry allan o'r capel. Digwyddodd fod Brynseion, hen gapel y Methodistiaid Calfinaidd yn y dref, yn wag ar y pryd, ac yno yr aeth Mr. Hughes a mwyafrif yr eglwys, ac yno y buont am rai blynyddoedd yn addoli, a gadawyd Mr. Jones a'r ychydig a lynent wrtho i gadw meddiant o'r capel. Rhaid i ni ddilyn llinell ein hanes gyda'r cyfeillion a gauwyd allan, oblegid hwy oedd y mwyafrif o lawer. Llwyddodd yr achos yn fawr wedi myned i Brynseion. Cafwyd adfywiad grymus, pryd yr ychwanegwyd ugeiniau at yr Arglwydd; a'r flwyddyn ganlynol adeiladwyd Ebenezer, Maesglas, ac ymffurfiodd nifer o'r aelodau yn eglwys yno. Daeth capel y Tabernacl, a adeiladeid gan y Methodistiaid Wesleyaid Seisnig, ar werth, a phrynwyd ef gan gynnulleidfa Brynseion, ac yno y buont hyd y flwyddyn 1860, pryd y daethant i gytundeb a Mr. Jones a'r ychydig Saeson yn nghapel Heol-y-capel i gyfnewid—i'r Saeson i fyned i'r Tabernacl, gan ei fod yn llai, ac i'r Cymry ddychwelyd i'w hen drigle yn Heol-y-capel, a gladdwyd ymaith olion yr hen deimladau chwerwon a achlysurwyd trwy yr ymraniad i raddau dymunol.

Yn 1848 derbyniodd Mr Hughes alwad o Penmain, sir Fynwy, a gwnaeth ei feddwl i fyny i symud yno, er galar mawr i'w gyfeillion yma. Yn fuan wedi ei ymadawiad ef rhoddwyd galwad i Mr. Mathew Lewis, Bethel, Bangor, a chan ei fod yn ddyn talentog, ac yn bregethwr poblogaidd, tynodd yma sylw mawr, a gallasai pe buasai ei gymmeriad yn cyfateb i'w alluoedd fod yn un o'r gweinidogion mwyaf poblogaidd yn ei oes. Yr

oedd ei olwg yn hardd, ei dymer yn ennillgar, a'i ddawn yn swynol, ond anmharwyd y cwbl trwy ei flys aflywodraethus at y diodydd meddwol, a bu raid i'r eglwys ymwrthod ag ef, er mor anhawdd oedd ganddi wneyd hyny. Aeth oddiyma yn y flwyddyn 1855. Gwnaeth gynyg mewn un neu ddau o leoedd wedi hyny, ond llithro yn ol yr oedd i'r un man, a'i ddiwedd fu ymuno a'r fyddin, ac yn y fyddin y bu farw. Dywedir ei fod yn ei ddyddiau diweddaf yn dangos arwyddion gwir edifeiriol. Yr ydym yn gobeithio fod hyny yn wirionedd, a'i fod wedi diangc "etto felly megis trwy dân;" ond y mae ei hanes ef yn rhybudd difrifol i weinidogion ieuaingc yn enwedig, yn erbyn ysgafnder, cellwair, a diota, yr hyn a fu yn ddinystr i'r talentog, ond anffodus Mathew Lewis!

Yn niwedd 1860, rhoddwyd galwad i Mr. John Jenkins, Dwygyfylchi, a bu yma hyd haf 1867, pryd y symudodd i Pantteg, sir Forganwg. Nid oedd y tymor hwnw ar yr achos y mwyaf llewyrchus. Methai Mr. Jenkins yn aml a phregethu oblegid rhyw anhwyldeb y cwynai o'i herwydd, ac yr oedd yr achos trwy hyny yn dyoddef i fesur. Am chwe' blynedd ar ol hyny bu yr eglwys yn amddifad o weinidog, ond trwy weithgarwch a gofal y diaconiaid, yn benaf, cadwyd yr achos rhag myned yn ol, ac nid hyny yn unig ychwaith, ond ennillodd dir yn raddol. Yn Hydref, 1873, dechreuodd Mr. David Oliver, Llanberis, ei weinidogaeth yma, ac y mae yn parhau yma yn dderbyniol a llwyddianus, a'r achos yn ei holl ranau mewn agwedd dra chysurus. Mae yr eglwys yma wedi bod bob amser yn barod i estyn cynorthwy i achosion gweiniaid, ac er dyddiau Mr. Jones y mae yr achos cenhadol yn cael ei sylw arbenig, ac y mae cystal gwedd ar ei hysgol Sabbothol yn awr ag a welir ar eiddo unrhyw ysgol o eiddo unrhyw enwad yn y sir.

Codwyd y personau canlynol i bregethu yn yr eglwys hon:—

Samuel Jones. Ganwyd ef yn Castellnewydd-Emlyn yn y flwyddyn 1760. Derbyniwyd ef yn aelod yn Saron gan Mr. J. Lewis. Derbyniodd alwad oddiwrth gwmpeini a berthynai i waith copr i fyned drostynt i edrych y pwysau a'r mesurau, ac i gadw cyfrifon. Yn eu gwasanaeth hwy y daeth i Maesglas, Treffynon. Yr oedd yn un o'r aelodau cyntaf yn ffurfiad yr eglwys yma. Dechreuodd bregethu yn 1803, a thraddododd ei bregeth gyntaf mewn gwesty yn Heol Mostyn, Tachwedd 11eg y flwyddyn hono. Efe a ddechreuodd bregethu yn Maesglas, a ffrwyth ei lafur oedd codiad Alpha. Ymroddodd yn egniol i bregethu lle y gallai gyrhaedd a dilyn ei alwedigaeth. Dengys y gofrestr ganlynol faint ei lafur. Pregethodd yn Bagillt 807 o weithiau; Maesglas 512; Treffynon 401; Mostyn 355; Flint 168; Rhesycae 104; Newmarket 86; Dinbych 28; Liverpool 26. Fel hyn yr ysgrifena yn ei ddydd-lyfr:—"Diolch i'm Harglwydd a'm Duw am iddo wneuthur rhyw fesur o ddefnydd o honof fel offeryn gwael yn ei law i ledaenu ei achos yn Nhreffynon a'i chyffiniau. Diolch iddo byth am ei gynorthwyon grasol i greadur gwael o'm bath i fod yn enau cyhoeddus dros ei enw mawr—i gyhoeddi Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio, yn Waredwr i'r penaf o bechaduriaid." Yr oedd ymddiried mawr gan ei feistri ynddo, ac yr oedd gan yr holl weithwyr barch neillduol iddo. Bu farw Chwefror 26ain, 1837, yn 77 oed.

John Ellis. Efe oedd tad Mr. Moses Ellis, Mynyddislwyn. Bu am flynyddoedd yn bregethwr cynorthwyol parchus. Symudodd i Mostyn, ac wedi hyny i Bottfari, lle y dechreuodd bregethu yn ei "dŷ ardrethol ei hun."

Joseph Jones. Symudodd i Liverpool, ac yr oedd yn ddiacon yn nghapel Newington, ond rhoddodd i fyny bregethu ar ei ymadawiad a Chymru.

Ellis Ellis. Treuliodd ei oes yn Mostyn yn bregethwr cynorthwyol parchus.

Edward Ellis. Brawd i'r uchod. Mae ef yn parhau yn bregethwr derbyniol yn nglyn ag Alpha, Maesglas. Brodyr yw y ddau hyn i'r diweddar Mr. Moses Ellis, Mynyddislwyn.

Ebenezer Jones. Bu ef yn hir yn bregethwr cynorthwyol yn yr eglwys yma, ac yn nechreu y flwyddyn hon (1874) y bu farw.

William T. Thomas (Gwilym Gwenffrwd). Urddwyd ef yn weinidog yn Cana, Llanddaniel, Mon. Mae yn awr er's 25 mlynedd yn y Wyddgrug, ac yn pregethu yn achlysurol, er heb ofal eglwysig.

Daniel Roberts. Mae efe yn parhau yn yr eglwys yma yn bregethwr cynorthwyol.

Thomas Jones. Mae yn awr yn fyfyriwr yn athrofa y Bala.

Diaconiaid presenol yr eglwys ydyw Meistri William Williams, David Williams, Joseph Pritchard, John Hughes, John Brittain, ac Owen Williams.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

David Jones. Ganwyd ef yn Nghoedyddol, yn mhlwyf Llanuwchllyn, yn sir Feirionydd, yn Hydref, 1770. "Bu farw ei fam pan nad oedd efe ond plentyn, a symudodd ei dad mewn canlyniad i fyw i'r Bala, yn yr hwn le y dysgodd y gelfyddyd o wneuthur llestri coed. Ar ol iddo wasanaethu ei amser fel egwyddorwas, dychwelodd i Lanuwchllyn i ddilyn ei alwedigaeth; a pherchid ef yn fawr y pryd hwn gan ei holl gydnabyddion. Pan oedd tua 18 mlwydd oed, dygwyd ei feddwl dan deimlad dwys ac arosol am ei gyflwr, wrth wrando ar y diweddar Mr. W. Thomas o'r Bala yn pregethu oddiwrth Preg. xi. 9. Teimlodd ei fod yn bechadur euog a cholledig, noeth a diymgeledd, ac ofnodd y byddai byth yn amddifad o drugaredd a maddeuant. Aeth mor bell yn y ffordd hon fel yr ymsuddodd yn hollol i anobaith a dychryn, gan ystyried ei hun fel un wedi ei benodi i golledigaeth. Daeth ei gyfeillion crefyddol yn wybodus cyn hir o sefyllfa ei feddwl, y rhai a ymdrechasant symud ymaith ei anesmwythder a'i ofnau oddiar ei feddwl, gyda chydymdeimlad ac addfwynder Cristionogol.

"Yn y flwyddyn 1790, ymunodd a'r eglwys Gynnulleidfaol yn y Bala, ar anogaeth y brodyr crefyddol. Ond parhaodd ei ysbryd yn hir ar ol hyn i fod mor derfysglyd ac isel nes niweidio ei iechyd, a gwanhau ei gyfansoddiad corphorol yn fawr. Methai sugno cysur yn un man—yn y ty, nac yn y maes, yn yr ystafell, nac yn y cysegr; ac wrth iddo ystyried y byddai ei waith yn ymwneyd ag ordinhadau crefydd yn tueddu at drymhau ei golledigaeth, meddyliodd yn fynych am lwyr adael cymdeithas yr eglwys, ac esgeuluso pob dyledswydd grefyddol; ie, temtiwyd ef i amheu ffyddlondeb y Gwaredwr, i anghredu tystiolaethau y Bibl, ac i chwilio a oedd dim cysur a thangnefedd iddo gael wrth ddilyn llwybrau difyrwch y byd. Achlysurwyd y teimladau dychrynllyd ac amheus hyn ynddo yn benaf trwy iddo glywed, neu weled mewn ysgrifau, ryw ddarluniadau ofnadwy am y "pechod yn erbyn yr Ysbryd Glan," pan yn ieuangc. Yr oedd y darluniadau hyny yn gwbl groes i ysbryd ac egwyddorion yr

efengyl—yn ddarluniadau heb unrhyw duedd ynddynt i sancteiddio y galon—ac yn ddarluniadau heb ynddynt unrhyw gysur i ddyn, na gogoniant i'r Prynwr. Maeddwyd ef gan yr anghrediniaeth, yr ofnau, a'r anobaith yma, nes y bu agos iawn a gweithio ynddo wrthgiliad hollol. Wedi iddo gael ei daflu fel hyn am tua phedair blynedd gan donau tymhestlog, a'i aflonyddu gan 'gyhuddwr y brodyr,' daeth o'r diwedd i feddiant o dawelwch, wrth ystyried helaethrwydd a rhadlonrwydd darpariadau Duw ar gyfer pechaduriaid—wrth ystyriad y darluniadau a roddir yn y gair o brofiadau gwahanol blant Duw—ac wrth ystyried ei oruchwyliaethau yntau tuag atynt. Deallodd yn wyneb hyn mai bywyd o ryfel yw bywyd y cristion, a bod yn rhaid ymdrechu cyn cael y fuddugoliaeth,—mai i'r lluddedig y bydd yr orphwysfa yn felus, ac mai i orchfygwyr y cedwir y goron. Ar ol iddo sylwi ar y pethau hyn, a chanfod yn mha le y cafodd eraill dangnefedd, llonyddwch, nerth, a chysur yn wyneb eu gwendid a'u trueni digymorth, arweiniwyd ei feddwl yntau at yr un ffynon ddiysbydd; a thrwy ymorphwysiad ffyddiog ar yr Iawn anfeidrol, a pherffeithrwydd digoll y Gwaredwr, daeth ei feddwl archolledig i fwynhau boddlonrwydd—rhwymwyd ei friwiau—teimlodd rinwedd yr olew a'r gwin yn ei archollion, ac ymgododd allan uwchlaw ei elynion o'r pydewau dyfnion. Dysgodd beidio edrych iddo ei hun am nerth a chysur—i beidio disgwyl wrtho ei hun, nac ymddiried ynddo ei hun am gyfiawnder, ond ymorphwys ar y cyfiawnder sydd mewn arall, a llanwyd ei feddwl o awydd bywiog a gwresog am fwy o hunanymwadiad a sancteiddrwydd.

"Yn fuan wedi hyn, daeth gwylder ei ysbryd, a gwresawgrwydd ei galon at bethau dwyfol, ei dduwioldeb a'i ddiwydrwydd i gyrhaedd gwybodaeth ysgrythyrol, ei ymgais a'i ymroddiad i wneyd daioni i eraill, i wybodaeth ac o dan sylw yr eglwys, a Mr. G. Lewis o Lanuwchllyn, fel yr anogasant ef i ddechreu pregethu yr efengyl, a throi ei feddwl at waith y weinidogaeth. Wedi llawer o ystyriaeth a gwasgfeuon meddwl, cydsyniodd a hwy, a thraddododd ei bregeth gyntaf yn y Bala ar y 9fed o Chwefror, 1796, oddiwrth Ioan xiv. 6, ac ni pheidiodd wedi hyn a phregethu Crist croeshoeliedig yn fywyd i bechaduriaid. Yn Mai, 1797, gwnaethpwyd deisyfiad drosto am dderbyniad i athrofa Gwrecsam, yr hon oedd dan arolygiaeth Mr. Jenkin Lewis, a derbyniwyd ef iddi gan ei harolygwyr.

"Ymadawodd Mr. Jones a'r athrofa Mai, 1801, ar ol derbyn galwad oddiwrth eglwys Gynnulleidfaol Treffynon. Derbyniodd wahoddiadau o fanau eraill, yr hyn a barodd ychydig o drallod i'w feddwl o eisiau penderfynu pa le y mynai yr Arglwydd iddo fyned i lafurio. Cododd ei Ebenezer ar ei ymadawiad o'r athrofa trwy ysgrifenu y geiriau canlynol:—'Y mae arnaf heddyw ddeng mil o rwymau i fendigo yr Arglwydd—i'w fendigo am y breintiau gwerthfawr a roddwyd i mi, un mor anheilwng—am gyd-ddwyn ag un mor bechadurus—ac am gynal un mor ddinerth. O! nad allwn fod yn fwy gostyngedig, yn fwy santaidd, ac yn fwy ymroddgar i ewyllys a gwasanaeth yr Arglwydd.' Fel y gallesid disgwyl oddiwrth un o'r fath dduwioldeb a meddylfryd ysbrydol, un wedi ymroddi i'w waith gyda'r fath benderfyniad, ac un yn meddu ar y fath gymhwysderau gweinidogaethol ag ydoedd Mr. Jones, iddo ymaflyd yn ei waith gydag egni ac astudrwydd, ac y buasai mesur helaeth o lwyddiant yn dilyn ei lafur; felly y bu, ni siomwyd neb mewn canlyniad i'w sefydliad. Teimlai yn ddwys iawn dros gynydd crefydd yn mysg ei gymydogion, a thrwy y byd oll; a chafodd yr hyfrydwch a'r anrhydedd o sefydlu amryw

gynnulleidfaoedd yn yr ardal. Trwy ei offerynoliaeth ef y cyfodwyd addoldy Bagillt yn 1803; Rhesycae yn 1801; Heol Mostyn yn 1826, a Phenypyllau yn 1829. Bu yn ysgrifenydd i gangen o'r Gymdeithas Feiblaidd yn sir Flint am ddeunaw mlynedd, i gangen Gwynedd o Gymdeithas Genhadol Llundain am naw mlynedd, ac i Undeb Cynnulleidfaol siroedd Flint a Dinbych am naw mlynedd. Parodd symudiad annisgwyliadwy un mor llafurus, a chyfaill mor hawddgar, a gostyngedig, a ffyddlon, ag oedd Mr. Jones, golled a deimlwyd yn ddwys gan bawb o'i gydnabyddion, a braidd anadferadwy hyd heddyw yn Ngwynedd. Gwnai ei oreu er cynhyrfu a meithrin ysbryd cenhadol yn y Dywysogaeth. Ymddangosai i'n golwg ni fod yn anhawdd i'r genhadaeth, ac achosion daionus eraill, golli gweithiwr mor ddiflin, a chyfaill mor wresog a brwdfrydig ag oedd Mr. Jones, oblegid nid oedd un gwaith da a chyhoeddus trwy Gymru nad oedd ganddo law egniol yn eu dygiad yn mlaen. Er nad oedd ond dyn gwanaidd o ran ei ymddangosiad a'i gyfansoddiad corphorol, etto yr oedd bywiogrwydd ei lygaid, craffder ei edrychiad, cyflymder ei ysgogiadau, a siriolldeb ei wynebpryd, uwchlaw y cyffredin o feibion dynion. Yr oedd ei alluoedd corphorol a meddyliol bob amser ar eu llawn waith, a hwnw yn waith a rhyw amcan daionus yn perthyn iddo. Cerddodd lawer Sabboth ddengmilldir-ar-hugain, a phregethu dair gwaith. Ymddangosai y flwyddyn ddiweddaf o'i oes fel pe buasai ei galon wedi ei diddyfnu yn gwbl oddiwrth bethau y ddaear, ac yn hollol ymroddedig i waith yr Arglwydd. Llafuriai mewn amser ac allan o amser. Wrth ymdreulio yn ei waith, ymeangai ei enaid fel disglaerdeb yr haul—âi yn oleuach oleuach hyd haner dydd. Ymaflai yn dynach dynach yn addewidion Duw.

"Tua dechreu y flwyddyn 1831, cynhyrfwyd teimladau y Dywysogaeth oll gan amgylchiadau cyfyng y gynnulleidfa Annibynol yn Gartside, Manchester, fel y penderfynodd amryw weinidogion fyned allan i ymgais am gynorthwy trwy Gymru, a lleoedd eraill. Cydsyniodd Mr. Jones a Mr. Roberts o Ddinbych, ar gais y cyfeillion yn Manchester, i fyned i'r dref hono i ofyn ewyllys da y cyfeillion at yr achos. Mae hyn yn ein harwain yn uniongyrchol at derfyniad disymwth gyrfa ddaearol ein cyfaill ymadawedig. Yr oedd ei ymadawiad, er yn golled i'w gyfeillion, yn elw iddo ei hun, er yn alar iddynt hwy, yn wledd orfoleddus iddo ef. Pregethodd dair gwaith y Sabboth diweddaf y bu byw; ac yr oedd rhywbeth yn nodedig yn ei destyn y boreu o ran ei gyd-darawiad a'i amgylchiadau ei hun, er nas gwyddai efe y pryd hwnw. Ei destyn ydoedd, 'Ni ddychwel mwy i'w dŷ,' Job vii. 10. Cynaliodd gyfarfod nos Fawrth gyda'i gyfeillion, a hyny ar ei gais neillduol ei hun. Yr oedd rhyw ddifrifoldeb a melusder neillduol yn ei holl eiriau y noson hono. Dywedai wrth ei gyfeillion, 'y gallai mai dyna y tro olaf byth iddynt gael cyfarfod gyda'u gilydd ar y ddaear. Fe ddichon,' meddai, 'y bydd rhai o honoch chwi wedi eu cymeryd ymaith cyn y bydd i ni gael ail gyfarfod, neu y byddaf *fi* wedi fy nghymeryd cyn y dychwelaf. Ond pe felly, os ydym yn caru yr Arglwydd, bydd marwolaeth sydyn yn ogoniant sydyn.' Yn ol rhagdrefniad rhyngddo ef a Mr. Roberts i gydgyfarfod yn Liverpool ar ddydd Iau, y 25ain o Awst, 1831, cychwynodd y ddau y boreu hwnw o'u cartrefleoedd, a chyfarfuasant prydnawn yr un dydd yn y lle a nodwyd. Wedi iddynt drefnu yr amser a'r lle i gydgyfarfod boreu dranoeth, er myned yn mlaen i Manchester, aeth pob un i'w letty. Pan yr oedd Mr. Jones yn myned ar hyd yr heol tua thy ei gyfaill, Mr. Gresson, yn yr hwn le y bwriadai

lettya, syrthiodd trwy lawr-ddrws; ac er pob cynorthwy meddygol, bu farw yn mhen tair awr. Yr unig beth a ddywedodd braidd wedi ei syrthiad oedd—'*Gwn fy mod yn gymeradwy.*'

"Dygwyd ei ran farwol i Dreffynon y Sadwrn canlynol, a chladdwyd ef y dydd Mawrth cyntaf ar ol hyny yn yr addoldy y bu yn llafurio. Ymgasglodd miloedd o'i gyfeillion a'i gydnabyddion ar yr achlysur, y rhai a deimlent alar dwys yn wyneb yr amgylchiad, yn mhlith pa rai yr oedd dros ugain o weinidogion yr efengyl. Cyflawnwyd gwasanaeth crefyddol ar yr achlysur gan Meistri W. Williams, Wern; D. Roberts, Dinbych; J. Breese, Liverpool, a Waterfield, Gwrecsam. Traddodwyd amryw bregethau angladdol y Sabboth mewn amryw addoldai, a dwy yn yr addoldy yn y dref, un yn Saesneg gan Mr. Thorp o Gaer, a'r llall yn Gymraeg gan Mr. Williams o'r Wern. Fel y nodasom y terfynodd gyrfa ddaearol y cyfaill caredig, a'r gweinidog ffyddlon hwn, yn 61 oed, a'r ddegfed-flwyddyn-ar-hugain o'i weinidogaeth yn Nhreffynon. Cyhoeddodd gasgliad o hymnau yn Gymraeg yn gyfrol helaeth, ond nid ydym yn gwybod am ddim arall a gyhoeddodd trwy y wasg, er na bu neb yn fwy diwyd nag ef yn ysgrifenu ar wahanol achosion crefyddol.

"Fel pregethwr, nid oedd Mr. Jones yn meddu ar ryw fawredd mewn dawn naturiol, hyawdledd fel ymadroddwr, na phoblogrwydd mewn llais ac ysgogiadau. Na, nid siaradwr mawr a ffraeth ydoedd efe, ond gweithiwr diflino a pharhaus yn y winllan. Yr oedd ei bregethau yn syml, eglur, yn llawn o efengyl, ac yn cael eu traddodi gyda'r fath deimladau gwresog ac ysbrydol fel y dangosai yn eglur mai nid rhyw bethau i'w dyweyd er mwyn eu dyweyd, a dyrchafu ei hun, oedd ganddo, ond fel un a'i holl fryd ar ddyrchafu y Gwaredwr. Gadawai y fath argraff ar feddwl ei wrandawyr fel yr oeddynt yn ymwybodol ei fod yn amcanu at eu lles ysbrydol. Yr oedd ei bregethau a'i weinidogaeth yn ddarluniad cywir o'i fywyd. Fel yr oedd Mr. Jones yn un o'r dynion mwyaf dirodres a diragrith yn ei fywyd, felly y deilliai ei bregethau o brofiad ei galon, heb unrhyw eiriau segur, na dychymygion gwag. Fel yr oedd yn ei fywyd yn cerdded llwybrau dealldwriaeth, synwyr, a doethineb, felly yn gymwys yr oedd ei bregethau—cynwysent amrywiaeth o feddyliau, er rhoddi gwybodaeth a syniadau cywir i'w wrandawyr am air Duw. Ac fel yr oedd ei dduwioldeb a'i agosrwydd at Dduw i'w ganfod yn ei fywyd, felly yr oedd ei bregethau a'i weinidogaeth yn llawn o eneiniad santaidd. Y pethau hyn oedd ffynonell ei lwyddiant, a hwynt-hwy sydd yn perarogli ei goffadwriaeth."*

## PENYPYLLAU.

Mae y lle hwn o fewn tua milldir a haner i'r dref. Dechreuwyd pregethu yma tua'r flwyddyn 1819, gan Mr. David Jones, yn nhy Elizabeth Griffith, Penypyllau. Adeiladwyd yma gapel yn 1829, yr hwn a alwyd yn Pisgah, yr hwn wedi hyny yn 1841 a ail adeiladwyd. Mae y lle yma o'r dechreuad wedi bod mewn cysylltiad a Threffynon, ac yn olynol dan ofal Meistri D. Jones, E. Hughes, M. Lewis, a J. Jenkins, ac felly y mae

* *Hanes Ymneillduaeth.* Tu dal. 578-582.

yn awr dan ofal Mr. Oliver. Nid yw ond achos bychan, ond y mae golwg siriol arno, ac y mae yma ychydig ffyddloniaid sydd a'u calonau yn gynes at Dduw a'i dŷ.

## EBENEZER, MAESGLAS.

Yr oedd cryn nifer o aelodau yr eglwys yn Nhreffynon yn byw yma, ac er fod achos Saesnig yn Alpha, etto yr oedd yn well ganddynt fyned yn mhellach er cael moddion gras yn eu hiaith eu hun. Yn mysg y rhai mwyaf ffyddlon a gweithgar yr oedd Mr. Moses Jones, yr hwn oedd yn ddiacon llafurus yn yr eglwys yn y dref, ac efe fu a'r llaw benaf, mewn cysylltiad a Mr. Hughes, y gweinidog, i ddechreu yr achos, a chodi y capel yma. Adeiladwyd ef yn nechreu y flwyddyn 1840, ac agorwyd ef yn haf y flwyddyn hono. Galwyd ef Ebenezer. Cychwynwyd yma dan amgylchiadau ffafriol, mewn adeg o ddiwygiad, ac yr oedd yr achos yn ei ddechreuad yn un o'r rhai mwyaf bywiog ac addawol. Bu y lle mewn cysylltiad a Threffynon dros dymor gweinidogaeth Meistri Hughes a Lewis, ond yn 1857, rhoddasant alwad i Mr. Robert Evans (Trogwy), Manchester, i fod yn weinidog iddynt, a bu yma yn ffyddlon ac ymdrechgar hyd ei ymfudiad i America yn 1870. Wedi bod yn agos i dair blynedd heb weinidog rhoddwyd galwad i Mr. William W. Thomas, genedigol o gymydogaeth Pentrefoelas, ac urddwyd ef yma Awst 7fed, 1873. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri D. Roberts, Wrecsam; M. D. Jones, Bala; D. Oliver, Treffynon; T. Evans, Bettwsycoed; J. M. Thomas, Wyddgrug, ac eraill. Mae Mr. Thomas yn parhau yn weinidog yma. Aeth yr achos yma o'i sylfaeniad hyd yn awr trwy lawer o gyfnewidiadau, a dyoddefodd lawer oblegid symudiadau, ac iselder masnach ar adegau, ond y mae yma rai ffyddloniaid sydd wedi glynu wrtho yn ddiwyd trwy y cwbl, a hyderant fod dyfodol rhagorach yn ei aros. Mae yma boblogaeth luosog, ac yn cynyddu beunydd, fel nad oes dim yn eisiau, dan fendith Duw, ond ymroddiad a gweithgarwch er cymeryd meddiant o honi.

## ALPHA, MAESGLAS.

Yn 1814, wrth weled fod cynifer o bobl yn Gymry a Saeson yn Maesglas, ac yn hollol amddifad o foddion crefyddol, gwnaeth Mr. Samuel Jones gais at William Williamson, Ysw., am genad i bregethu mewn ystafell berthynol iddo yn y lle. Caniatawyd hyny gyda'r parodrwydd mwyaf, a daeth y boneddwr ei hun a'i deulu yn wrandawyr cyson. Deuai Mr. Jones, Treffynon, a'i gynorthwywyr yma i bregethu, ac yn mhen ychydig flynyddau adeiladodd Mr. Williamson yma gapel ar ei draul ei hun, a galwyd ef Alpha. Bu y lle mewn cysylltiad a Threffynon hyd derfyn gweinidogaeth Mr. D. Jones, ac wedi hyny dan ofal Mr. D. W. Jones wedi i'r achos Cymreig a Saesonig ymwahanu; ond ni bu yma weinidog sefydlog bellach er's blynyddau, er fod gweinidog Saesonaeg Treffynon yn gweini yma yn achlysurol, a cheir gwasanaeth pregethwyr cynorthwyol o Gaerlleon a manau eraill. Nid yw yr achos yma ond bychan, ond y mae yma ychydig ffyddloniaid, ac y mae Mr. E. Ellis yn bregethwr parchus yn y lle, ac y mae teulu Mr. Williamson wedi bod yn gefn da i'r achos yma o'r dechreuad, ac felly y maent yn parhau.

## TREFFYNON (Saesoneg).

Wedi yr ymwahaniad yn 1839 rhwng y Cymry a'r Saeson, trodd Mr. D. W. Jones a'r cyfeillion a arosasant gydag ef yn Heol-y-capel, yr achos yn Saesneg yn benaf, er y parheid hefyd i bregethu Cymraeg am flynyddau, ond gan fod yr elfen Gymreig wedi ymadael bron yn llwyr, trowyd yr achos yn mhen amser yn Saesonig hollol. Parhaodd Mr. Jones i weini i'r eglwys hyd yr adeg y symudodd i'r Tabernacl, tua'r flwyddyn 1859. Wedi hyny bu Mr. John Jones yma am ysbaid dwy flynedd nes y symudodd i Kirkdale, Liverpool. Dilynwyd ef gan Mr. H. J. West, yr hwn a fu yma am bedair blynedd, ac yna symudodd i Loegr. Yn 1869 daeth Mr. J. D. Riley yma, ac y mae yn parhau yma yn y weinidogaeth.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

David William Jones. Ganwyd ef yn y Wern-newydd, yn mhlwyf Llanfair-o'r-llwyn, yn sir Aberteifi, Hydref 14eg, 1809. Yr oedd ei dad yn amaethwr parchus, ac yn aelod yn Horeb, a'i fam yn wraig rinweddol o hen deulu Ymneillduol Maengwyn. Cafodd Mr. D. W. Jones fanteision addysg ddyddiol a Sabbothol, a derbyniwyd ef yn aelod yn Horeb tua'r flwyddyn 1824, ac yn mhen rhai blynyddoedd wedi hyny anogwyd ef gan y gweinidog a'r eglwys i ddechreu pregethu. Aeth i'r Neuaddlwyd i dderbyn addysg ychwanegol, ac oddiyno yn Awst, 1831, aeth i athrofa Rotherham, lle yr arosodd bedair blynedd. Ar derfyn ei amser yno derbyniodd alwad o Dreffynon, lle yr urddwyd ef Awst 25ain, 1835. Nid rhyw lwyddianus iawn a fu ei dymor gweinidogaethol. Yr oedd yn ddyn gwybodus, deallgar, a boneddigaidd, ond yn amddifad o'r tân a'r bywiogrwydd sydd yn angenrheidiol i wneyd pregethwr poblogaidd. Taflwyd ef hefyd i radd o anfantais gan yr ymryson a gymerodd le yn yr eglwys, yn enwedig gan fod mwyafrif y rhai oedd yn fwyaf cydnabyddus a'r amgylchiadau yn tybied ei fod ef yn y blaid a wnaeth y cam, a'i fod er yn hynaws a phwyllog, etto yn gyndyn ac anhyblyg. Rhoddir cymeriad uchel iddo fel dyn cywir a ffyddlon gan y rhai a gafodd fwyaf o fantais i'w adnabod, a diau y gallasai ei ddefnyddioldeb fod yn llawer mwy pe disgynasai ei goelbren mewn cylch gwahanol. Ennillodd iddo ei hun gymeriad rhagorol fel ysgolfeistr, ac am dymor hir gwasanaethodd fel ysgrifenydd Cangen gynorthwyol Gogledd Cymru o'r Gymdeithas Genhadol. Ni chafodd ond byr gystudd. Pregethodd Sabboth. Tachwedd 3ydd, 1861, a theimlai radd o anhwyldeb y dyddiau canlynol, a boreu Iau cafodd ergyd o'r parlys mud, a bu farw yn y fan, yn 52 oed. Claddwyd ef ddydd Mawrth, Tachwedd 12fed, yn mynwent Seion, pryd y dangoswyd parch mawr iddo gan drigolion y dref, ac y dilynwyd ef gan dyrfa luosog i dŷ ei hir gartref.

## MOSTYN.

Mae y lle hwn yn mhlwyf Whitford. Derbynia y lle yr enw oddiwrth Arglwydd Mostyn, palas yr hwn sydd gerllaw. Heol Mostyn y gelwir y lle y mae y capel. Dechreuwyd pregethu yma gan Mr. David Davies,

Treffynon, yn 1793, ar gareg fawr yn ymyl y ffordd oddiyma i Dreffynon. Wedi hyny bu pregethu mewn ystafell helaeth perthynol i westy a elwid y *Swan*. Ennillwyd sylw a serch amryw yn yr ardal at yr efengyl, a daethant yn fuan i'w harddel. Wedi dyfodiad Mr. D. Jones i Dreffynon parhaodd yntau i bregethu yma, a chynorthwyid ef gan Mr. Jones, Newmarket, ac eraill. Daeth un o'r enw John Davies i'r ardal i fod yn arolygwr ar waith glo, a bu dros amser yn gynorthwyol iawn i'r achos yma. Bu mor garedig a chymeryd ystafell eang mewn anedd-dy gerllaw y fan y saif y capel yn awr, er dwyn yn mlaen addoliad rheolaidd ynddi. Cafwyd yma foddion cyson bob Sabboth, a deuai pregethwyr Treffynon a Newmarket yma ar gylch. Sefydlwyd yma gyfeillach grefyddol, a daeth amryw yn mlaen i ymgeisio am aelodaeth, ond yn Nhreffynon y derbynid hwy, a Mr. Jones a ystyrid yn weinidog y lle. Yn mhen llawer o flynyddoedd llwyddodd Mr. Jones i gael tir at adeiladu capel gan Syr Thomas Mostyn. Codwyd ef yn 1826, ac er cael y tir yn lled rad, aeth y draul yn 400p., ond trwy ymdrech Mr. Jones gartref ac oddicartref dileuwyd yr holl ddyled hono.

Dan gyfarwyddyd Mr. Jones, rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. William Rees, Llansanan, yr hwn oedd ar y pryd yn tynu cryn sylw fel pregethwr gwreiddiol ac addawol iawn. Urddwyd ef Ebrill 20fed, 1832. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri T. Jones, Llangollen; W. Williams, Wern; D. Roberts, Dinbych, a Henry Rees, Amwythig—brawd yr urddedig, yr hwn hefyd a bregethodd ar ei ddyledswydd. Daeth yr achos rhagddo yn flagurog wedi sefydliad Mr Rees yma, a diau na bu ar un tymor yn ei hanes yn fwy llewyrchus na'r chwe' blynedd y llafuriodd Mr. Rees yma. Tynodd ei ddoniau poblogaidd sylw yr holl ardal fel yr ymgynnullai torfeydd lluosog i'w wrando, ac yr oedd ei angerddoldeb fel pregethwr yn taflu tân i'r holl eglwys. Daeth Heol Mostyn yn fuan trwy gysylltiad Mr. Rees ag ef yn adnabyddus trwy holl Gymru. Bu yma hyd ddechreu y flwyddyn 1837, pryd y symudodd i Ddinbych. Y mis Mai canlynol dechreuodd Mr. Hugh Pugh, Llandrillo, ei weinidogaeth yma, ac er nad oedd yn meddu doniau poblogaidd ei ragflaenydd, etto cafodd yr eglwys ynddo am fwy na deng-mlynedd-ar-hugain athraw deallus a synwyrol. Helaethwyd y capel wedi ei adeiladu y waith gyntaf, a rhoddwyd oriel ynddo. Yn nhymor gweinidogaeth Mr. Rees bu pregethu yn nghyrau yr Eglwys yn Llanerchymor, Ffynongroyw, a lleoedd eraill, lle y meddylid y gallesid sefydlu cangenau, ond ni wnaed hyny. Llesgaodd Mr. Pugh yn fawr yn ei gerddediad yn ei flynyddoedd olaf mewn canlyniad, fel y tybir, i glefyd a gafodd yn y flwyddyn 1840, ond daliodd hyd ei ddiwedd i gyflawni ei ddyledswyddau yn y Cysegr—canys dyna enw y capel. Bu farw yn annisgwyliadwy iawn Rhagfyr 23ain, 1868, yn 65 oed.

Yn niwedd y flwyddyn ganlynol rhoddwyd galwad i Mr. Evan P. Jones, PH.D., yr hwn a addysgwyd yn athrofau y Bala a Chaerfyrddin, ac a fu wedi hyny yn un o brif ysgolion Germani, ac urddwyd ef yma Ionawr 11eg, 1870, ac y mae yn parhau i lafurio gyda chymeradwyaeth mawr yn yr ardal. Mae yma ysgol Sabbothol, un o'r rhai lluosocaf yn y wlad, a chyda'r achos dirwestol y mae Dr. Jones wedi bod yn anarferol o lafurus. Mae yma lawer o gyfnewidiadau wedi bod, a symudiadau mynych wedi cymeryd lle oblegid fod y gweithfeydd glô yn yr ardal wedi bod ar adegau mor isel.

Nid ydym wedi cael gwybodaeth sicr am y pregethwyr a godwyd. Yr oedd Ellis Ellis, fel y deallwn, wedi dechreu pregethu yn Nhreffynon. Dechreuodd Moses Ellis ei fab, yr hwn a symudodd i Hanley, ac a fu farw yno yn dra disymwth, bregethu yma, a Peter M. Williams, ac aeth un Robert Roberts oddiyma i Hanley, yr hwn wedi hyny a ymunodd a'r Bedyddwyr.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Hugh Pugh. Gan fod Cofiant helaeth am Mr. Pugh wedi ei gyhoeddi gan ei gyfaill mynwesol Dr. Rees, Liverpool, gyda thraethawd galluog ar ei nodwedd gan Mr. T. Roberts (Scorpion), nis gallwn wneyd dim yn well na chymeryd ychydig ddifyniadau o'r Cofiant hwnw.

"Ganwyd Hugh Pugh yn Mai, 1803, yn Towyn, Meirionydd. Yr oedd yn nai o fab brawd i William Pugh o Lanfihangel-y-penant, yn yr un sir, hen bregethwr parchus a chymeradwy gyda'r Methodistiaid. Ymunodd ei dad a'r fyddin pan oedd ef yn faban, yn yr hon y daliai ryw swydd yn amser y rhyfel yn Hispaen. Cymerodd ei nain ofal y plentyn hyd nes oedd yn dair-ar-ddeg oed. Dododd ef mewn ysgol ddyddiol yn Nhowyn, dan ofal John Jones, Penyparc, yr hwn, fe ddywedir, oedd yr ysgolfeistr goreu yn yr holl fro hono; lle y dysgodd ddarllen ac ysgrifenu yn wych, a gradd dda o rifyddeg. Cawsai cyn hyny addysg deuluaidd dda gan ei nain; rhybuddiai ef rhag byth arfer geiriau llygredig, a thyngu a rhegi, a dywedyd anwiredd, halogi y Sabbath, &c., a glynodd ei haddysgiadau yn nghof a chalon y bachgen; a rhoddid iddo air da gan y cymydogion am ymddygiad gweddus yn mhob peth. Yn dair-ar-ddeg oed, symudodd i Lundain, lle y bu yn gweini fel ysgrifenydd yn swyddfa cyfreithiwr am tua chwe' blynedd. Yr oedd wedi dechreu cael blas ar ddarllen, a chwilio am wybodaeth tra yn yr ysgol yn Nhowyn; ac wedi myned i Lundain, efe a'i 'ceisiai hi fel ceisio arian, a chwiliai am dani fel am drysorau cuddiedig.' Yr oedd llyfrgell ei feistr, yr hwn oedd ganddo bob ymddiried ynddo, at ei wasanaeth. Yr oedd yn cyrchu i'r swyddfa bob dydd erbyn naw yn y boreu, ac yn aros hyd saith yn yr hwyr. Caniateid iddo ddwy awr adeg ciniaw, y rhai a dreuliai gyda'r llyfr; ac ar ol dychwelyd i'w letty yn yr hwyr, eisteddai i fyny i ddarllen yn aml hyd un a dau yn y boreu, drwy yr hyn y niweidiodd ei iechyd i gryn raddau. Yr oedd yr awyddfryd darllengar hwn yn y bachgen yn foddion tra effeithiol i'w gadw rhag myned yn ysglyfaeth i gymdeithion ac arferion drwg. Ar ben ei chweched flwyddyn yn Llundain, yn bedair-ar-bymtheg oed, dychwelodd yn ol i Dowyn, gan fod ei iechyd yn pallu; yr oedd golwg wael, wanaidd, a gwelw iawn arno y pryd hwnw, ac am flynyddau wedi hyny. Yr oedd yr holl hen wragedd cyfarwydd y fro, medrai ef, yn ysgwyd eu penau yn ddifrifol ar ei ol, fel un anobeithiol ei gyflwr yn ngafael y darfodedigaeth. Yr oedd yntau ei hun hefyd yn gogwyddo i'r farn hono, ond ceisiai ddarbwyllo ei hun i'r gwrthwyneb, ac i resymu ofn y gelyn marwol hwnw allan o'i fynwes. Yn fuan ar ol ei ddychweliad o Lundain, ymunodd a'r eglwys Annibynol yn Nhowyn, dan ofal y diweddar Mr. H. Lloyd; yr oedd hyny yn y flwyddyn 1822. Yn nechreu y flwyddyn 1823, aeth Pugh ieuangc i gadw ysgol ddyddiol yn Llanfihangel-y-penant. Gwelodd y gweinidog a'r eglwys fod yn y bachgen alluoedd a chymwysderau rhagorol, nid yn

unig i fod yn ddysgawdwr i'r rhai bach, yn ngwersi addysg gyffredin, ond hefyd i fod yn athraw mwy cyhoeddus yn mhethau yr efengyl; ac anogasant ef i ddechreu pregethu, yr hyn a wnaeth tua diwedd y flwyddyn hono (1823), pan oedd efe ychydig uwchlaw ugain oed. Ei destyn cyntaf oedd Haggai i. 5, 'Ystyriwch eich ffyrdd.' Yn 1824, symudodd o Lanfihangel i Lwyngwril i gadw ysgol, lle yr arosodd am ddwy flynedd, ac o'r lle hwn symudodd i Bethel, gerllaw y Bala, i gadw ysgol, ac i ymgyflwyno hefyd bellach i waith cyflawn y weinidogaeth.

"Ordeiniwyd ef i'r weinidogaeth yn Llandrillo ar y trydydd o Orphenaf, 1827. Ysbaid blynyddoedd ei arosiad yn Bethel a Llandrillo oedd hafdymor bywyd a gweinidogaeth Mr. Pugh. Yno y dringodd efe i'r safle uchel oedd iddo yn ngolwg ei frodyr, a'r eglwysi, a'r wlad, fel pregethwr, gweinidog, llenor, a diwygiwr. Yr oedd yn mlodeu ei ieuengctyd yn llawn bywiogrwydd a gweithgarwch corph a meddwl. Ymaflodd yn egniol yn ei orchwyl fel ysgolfeistr a gweinidog. Byddai ganddo ryw gyfarfod neu gilydd yn un o'r capelau dan ei ofal yn mron bob nos o'r wythnos, a llawer iawn o waith i'r traed i gerdded o'r naill i'r llall, yn Sabbothol ac wythnosol. Yr oedd ei holl feddwl ar ac yn ei waith, heb ofalu fawr iawn, llai nag a ddylasai, pa gydnabyddiaeth a dderbyniai efe am ei lafur. Sylwai yr hen oracl, Mr. Roberts, Tyddyn-y-felin, Llanuwchllyn, fo Pugh yn ddyn rhy ysbrydol i'r byd daearol hwn; nad oedd yn gofalu yn agos cymaint ag a ddylasai am amgylchiadau bywyd. Yn 1833, sefydlodd gymdeithas 'Gwyr ieuaingc Penllyn ac Edeyrnion,' i ddysgu a thaenu egwyddorion Ymneillduaeth. Cyhoeddodd holwyddoreg gwerthfawr a phwrpasol i amcan y gymdeithas dan yr enw *Catecism yr Ymneillduwr*. Prif nod y gymdeithas oedd dysgu a dangos y drwg a'r niwed o sefydliadau gwladol o grefydd, eu bod yn wrthysgrythyrol, ac yn wrthwyneb i natur ysbrydol teyrnas Crist, &c. Mewn gair, yr un fath yn hollol o ran sylwedd ac amcan a dyben y *Liberation Society*. Yr oedd y genhedlaeth hono o wyr ieuaingc (a henafgwyr hefyd,) Penllyn ac Edeyrnion yn mhell o flaen eu cydoeswyr yn Nghymru, ac yn sicr ynte, yn Lloegr, mewn gwybodaeth yn egwyddorion Ymneillduaeth a chrefydd rydd. Yr oedd llawer o'r gwyr ieuaingc hyny yn alluog i ddadleu yn fedrus o blaid yr egwyddor wirfoddol, ac yn erbyn yr un orfodol mewn crefydd, a thros y priodoldeb a'r angenrheidrwydd o ddadgysylltu a dadwaddoli yr Eglwys Sefydledig. Athrawiaeth newydd a dyeithr iawn yn y dyddiau hyny. Goddefodd Mr. Pugh lawer iawn o erledigaeth tafodau oddiwrth Eglwyswyr, a rhai Ymneillduwyr hefyd, oblegid ei egwyddorion a'i 'athrawiaethau amryw a dyeithr,' fel yr edrychid arnynt yr amser hwnw. Gosodid ef allan fel dyn peryglus yn y wlad, yn derfysgwr yn erbyn y llywodraeth, yn gablwr urddas, &c., a daroganai rhai mai ei ddiwedd fyddai ei grogi.

"Yn ystod ei dymor yn Bethel a Llandrillo, cyhoeddodd y llyfr rhagorol a elwir *Drych y Cymunwr*, llyfr y byddai yn dda iawn pe gellid perswadio pob cymunwr o bob enwad trwy Gymru i'w feddu a'i ddarllen, ni fedd ein iaith lyfryn mwy buddiol ac addysgiadol na'r llyfryn hwn; gobeithiwn y dygir ail argraffiad o hono allan yn fuan. Cyhoeddodd hefyd draethodyn dan y teitl *Hawl a chymwysder dyn i farnu drosto ei hun*, yr hwn sydd yn llawn o'r arabedd a'r gallu ymresymiadol yr oedd efe mor nodedig ynddynt; ac hefyd *Catecism yr Ymneillduwr*, yn yr hwn y gosodir allan egwyddorion Ymneillduaeth gyda'r eglurder mwyaf, ac amddiffynir hwynt gyda nerth

ac effeithioldeb. Yr oedd Mr. Pugh wedi ei gynysgaeddu a doniau a chymwysderau i fod yn athraw a dysgawdwr dynion i fesur helaeth iawn. Meddai ar ddealldwriaeth cyflym a chraff iawn, a gallu i osod ei feddwl allan yn y modd mwyaf cryno ac eglur. Disgynai ei frawddegau oddiwrtho fel *marbles*, yn gnapiau crynion a thlysion a llawn bywyd. Y mae y *marbles* hyn, os goddefir y gair, yn werth eu casglu at eu gilydd, a'u cadw gyda'u gilydd, i'r oes hon a'r oesau a ddeuant. Treuliodd un-mlynedd-ar-ddeg o fywyd llafurus iawn, defnyddiol a chysurus iawn yn nghylch eang ei weinidogaeth yn Llandrillo; yr oedd yn hoff iawn o bobl ei ofal yn y gwahanol gangenau, a hwythau yn hoff iawn o hono yntau."

Derbyniodd alwad o Mostyn, a dechreuodd ei weinidogaeth yno yn mis Mai, 1837. Yn mhen tair blynedd wedi ei sefydliad yno, priododd a Miss Elizabeth Williams, merch hynaf Mr. Thomas Williams, Ochr-y-gop, Newmarket, a chwaer i'r diweddar Mr. Edward Williams, a aeth yn genhadwr yn Hankey, yn Neheubarth Affrica. Ganwyd iddynt bedwar o blant, ond bu y fam farw Mehefin 26ain, 1848, yn 28 oed, a gadawyd yntau yn weddw gyda'i blant amddifaid, ac yn weddw y treuliodd weddill ei oes. Ni bu yn ystod ei dymor yn Mostyn na diffrwyth na segur, ac heblaw cyflawni ei weinidogaeth, ysgrifenodd lawer i'r wasg. Bu yn rhan-olygwr ar y *Dysgedydd* am flynyddau, a chyflawnai ei gyfran yn ffyddlon. Efe a gychwynodd *Ddyddiadur yr Annibynwyr*, a pharhaodd yn nglyn ag ef nes iddo ddymuno cael ei ryddhau oddiwrtho. Mae ei lythyrau i'r perwyl hyny at Mr. Davies, Caerdydd, ar gael yn awr. Daeth i feddwl ei gyfeillion yn Edeyrnion a Phenllyn wneyd Tysteb iddo, yn agos i ddiwedd ei oes, yn arwydd o'r parch dwfn oedd ynddynt tuag ato, ac ar y dyddiau cyntaf o Orphenaf, 1867, cynaliwyd cyfarfod yn Llandrillo pryd y cyflwynwyd iddo *gan' gini*. Hwn oedd ei ymweliad olaf a hen faes ei lafur, ac ni bu ond ychydig weithiau wedi hyn oddicartref. Pregethodd y Sabboth olaf y bu byw y boreu yn effeithiol iawn ar Luc xii. 43, "Gwyn ei fyd y gwas hwnw, yr hwn y caiff ei Arglwydd ef, pan ddel, yn gwneuthur felly;" a'r nos ar Salm cxvi. 7, "Dychwel, o fy enaid, i'th orphwysaf; canys yr Arglwydd fu dda wrthyt." Bu farw Rhagfyr 23ain, 1868, yn 65 oed, a'r Sadwrn canlynol claddwyd ef yn barchus yn mynwent Seion, lle yr oedd ei anwyl briod wedi ei rhoddi i orwedd er's mwy nag ugain mlynedd, a gweinyddwyd yn ei gladdedigaeth gan amryw weinidogion, a'r ail nos Sabboth wedi ei gladdu traddodwyd ei bregeth angladdol yn y Cysegr, Mostyn, i dorf luosog a galarus gan Dr. Rees, Liverpool.

Nid oes genym le i ychwanegu llawer ar ei deithi meddyliol, ond cymerer y ddau ddifyniad a ganlyn o'r traethawd ar ei nodwedd a ysgrifenwyd gan Scorpion:—

"Un o'r dynion tywysogaidd a rhinweddol hyn oedd Mr. Pugh. Nid yn unig yr oedd yn un o'r dynion *disgleiriaf* eu talentau, ond yr oedd yn un o'r rhai *cyflawnaf*. Mae llawer i'w cael, yn rhyw hir a byr, yn eu tueddiadau yn gystal a'u talentau. Mae yr angel syrthiedig a'r angel an-syrthiedig yn trigo dan yr un gronglwyd, a'r cawr a'r erthyl yn cyfarfod yn yr un man. Maent wedi eu hieuo yn anghydmarus, a chyfarfod a'u gilydd fel o ddamwain. Mae yr hael yn ansefydlog, a'r ffyddlon yn dychanwr. Mae y pen goleu yn safndrwm, y ddychymyg fywiog yn ddifarn, a'r rheswm cryf yn ddi-dân. Ond yr oedd ein hen gyfaill o Fostyn fel dinas wedi ei chysylltu ynddi ei hun. Yr oedd ei feddwl nid yn unig yn fawrwaith, ond yn gyfanwaith. Yr oedd nid yn unig yn fawr-bwys,

ond yn gyd-bwys. Nid cyneddfau a thueddiadau oedd ganddo wedi eu tynu allan wrth goelbren, ond wedi eu magu yn nghymdeithas eu gilydd, ac yn gallu dywedyd y naill am y llall, 'Wele mor ddaionus ac mor hyfryd i'w trigo o frodyr yn nghyd.' Yr oedd yn ddiau, yn un o'r esiamplau goreu o ddyn a allasem byth ei gael.

"Yr oedd yn meddu ar ddysgeidiaeth barchus ac anrhydeddus, a gwnai ddefnydd parchus ac anrhydeddus o honi yn ngwasanaeth yr Arglwydd. Ac yr oedd ganddo ddysgeidiaeth na fedr un ysgol ei chyfranu na gwneyd i fyny am y diffyg o honi—athrylith. Y ddysgeidiaeth sydd oddi uchod, ag na cheir hi er aur pur; a dygai y naill fel y llall gan eu dodi yn isel ac yn ewyllysgar ar lawr wrth draed ei Waredwr. Ac uwchlaw pob dim, yr oedd ganddo y ddysgeidiaeth rasol. Y nerth o'r uchelder, a pha un y mae Ysbryd Duw yn gwisgo ei genhadon i'w gwneyd yn ddoeth i ennill eneidiau, ac i droi llawer i gyfiawnder. Ni esgynai risiau yr areithfa byth yn y teimlad cleuar, nad oedd o un pwys ganddo pa un a wrandewid ei ymadrodd ai peidio, a pha un a lwyddai yn y peth yr oedd wedi ei anfon o'i blegid ai na wnai. Yr oedd yno yn ystyriol o'r Duw yr oedd wedi dyfod drosto, ac o'r bobl yr oedd wedi dyfod atynt, ac o'r genadwri oedd iddo wedi ei hymddiried. Yr oedd yno fel dyn yn gwybod ofn yr Arglwydd ei hun, yn perswadio eraill i ymdrechu mynu gwybod yr un peth. Yr oedd fel dyn o ddifrif, yn gwneuthur ei oreu er mwyn ymateb a chydwybod ddirwystr tuag at Dduw, a bod a'i ddwylaw yn lan oddiwrth waed pawb oll. Gwelsom ef ar ei uchel fanau, ac ar ei isel fanau, yn uwch, ac yn îs, na llinell derfyn gyffredin y llanw; ond erioed yn gysglyd a difraw, fel y gallesid dywedyd wrtho gan neb, 'Athraw, ai difater genyt ti ein colli ni?' Nid oedd dim o'r ysmaldod, a'r digrifwch anysbyddedig oedd yn nglyn ag ef mewn cyfeillach, yn ei ddilyn i'r pulpud. Mynydd yr Arglwydd, a'i le sanctaidd ef oedd hwnw. Sefyll yn mhlith ei gyfeillion yr oedd yn y naill, ond sefyll ar yr adwy rhwng Duw a phechaduriaid yr oedd yn y llall. Yr oedd y meddwl ag oedd yn gweled pethau yn eu cysylltiadau mwyaf digrifol pan yn ymdrafod a phethau tymorol, yn eu gweled yn eu cysylltiadau mwyaf difrifol pan yn ymdrafod a phethau tragywyddol. Yr oedd yr un teleidrwydd, yr un eglurder, a'r un parodrwydd yn ymddangos yn yr areithfa ac ar yr aelwyd, ond yn unig, eu bod wedi ei santeiddio, ac yn cael eu siarad o dan ddylanwadau gwahanol.

"Ond er ei fod o feddwl mawr, ac o feddwl eglur, ac o allu oedd bron yn ddihafal i wneyd ei hun yn ddealladwy, a hyny gyda phertrwydd ag oedd gyda phawb yn ddiarebol. Nid oedd ganddo mor cariad ag sydd gyda'r cyffredin yn cuddio lluaws o bechodau, sef *yr udgornfloedd.* Nid oedd perygl i dô un capel, na chorsingau un ty ymollwng pan byddai efe yn agor ei enau, nac i'r mynyddoedd neidio fel hyrddod, na'r bryniau fel ŵyn defaid, pan byddai efe yn egluro cyfraith yr Arglwydd. Nid i ddifyru, na dychrynu, na byddaru, pechaduriaid yr oedd efe wedi ei anfon, ond i'w hachub. Nid y gwynt mawr oedd yn rhwygo y mynyddoedd, na'r ddaeargryn gref ag oedd yn dryllio y creigiau, a ddaeth ag Elias allan o'r ogof i sefyll ger bron Duw, ond y llef ddistaw fain. Nid yr enaid cyfoethog o feddwl a theimlad, mwy na'r masnachwr cyfritol, ag y mae ei ystorfa i'w phrisio wrth y miloedd, fydd yn canu eu clychau uwchaf, ond yr eiddil truanaidd, ag mae ei holl eiddo yn yr ysgrepan ag sydd yn ddigon ysgafn i gael ei dwyn ganddo yn esmwyth yn ei law. Ond er nad oedd yn llais Mr. Pugh ddim o'r dôn chwyddedig ag oedd yn gosod ei hofn ar

nenfwd yr adeilad, yr oedd ynddo egni, a theimlad, a threiddgarwch ag oedd yn cario ei eiriau adref gydag awdurdod a nerth. Yr oedd ei genadwri yn rhy urddasol i fod mewn dull gwrachïaidd, ac yn rhy bwysig i fod mewn tôn wag a byddarol. Beth a feddylid o'r dadleuydd a âi i wag ganu wrth gyfarch y rheithwyr ar fater ag y byddai bywyd y carcharor arno yn dibynu, neu y barnwr a wnai yr un peth wrth gyhoeddi y ddedfryd uwch ei ben?

"Fel nad oedd dim yn isel yn ei dôn, nid oedd dim yn isel yn ei ystum —dim beiddgarwch hyf, a dim gwyleidd-dra plentynaidd. Safai yn weddus fel cenad oddiwrth Dduw wedi rhoddi ei holl feddwl ar waith i sicrhau amcan ei anfoniad, a hyny mewn modd perffaith ddihoced. Ni ddringodd i bulpud yr un a fyddai yn deall ei fater yn well, ac yn gallu ei drin yn fwy deheuig. Yr oedd yn feistrolaidd yn ei alwedigaeth fel dyn, ar wahan i'r ddawn sydd oddiwrth yr Ysbryd. Ni fu un erioed yn gallu cyrhaedd y nôd fyddai wedi ei osod o'i flaen, yn fwy uniongyrchol, a hyny i gymaint o foddlonrwydd. Trewid yr hoel ganddo bob amser ar ei phen, a gyrid hi adref ar ei huniawn, nes ymgladdu o honi yn ei gwaith heb droi ar y llaw ddeheu nac ar y llaw aswy. Byddem yn teimlo wrth wrando arno, nid yn unig ei fod wedi trin ei fater yn dda, ond na fuasai modd iddo ei drin yn well. Yr oedd fel milwr profedig yn adnabod ei arfau a'r dull i'w trin, yn nghyd a'r pryd a'r modd i wneuthur ei ymosodiadau yn fwyaf llwyddianus. Nid âg arfau philosophi a gwag-dwyll yr oedd efe yn ymladd rhyfeloedd ei Arglwydd, ond âg arfau y filwriaeth ei hun, ag oedd wedi profi eu hunain ganwaith o'r blaen yn nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll annuwioldeb i'r llawr."

## MOSTYN, (Saesoneg).

Prynwyd darn o dir gan Dr. Pan Jones gan y *River Dee Company*, o'r hyn oedd yn ngweddill ganddynt wedi gweithio y ffordd haiarn, a chan ei fod yn gweled fod yma lawer o Saeson yn yr ardal, heb un ddarpariaeth ar eu cyfer, meddyliodd am godi capel iddynt arno. Gosodwyd y gareg sylfaen i lawr Rhagfyr 29ain, 1873, gan Mrs. Lancaster, gwraig rheolwr y gweithiau yn y lle, ac agorwyd y capel Mai 17eg, 1874. Galwyd ef *Providence Chapel, Free Church*, ac y mae yn rhydd i bawb o bob enwad i gyaddoli ynddo. Cafodd Dr. Jones help effeithiol gyda'r adeiladiad gan Thomas Roberts, un o ddiaconiaid y Cysegr, a Theophilus Jones, un o'r aelodau; gwasanaethodd y ddau fel trysoryddion, ac aethant ill dau yn gydgyfrifol ag ef i'r adeiladydd, Mr. J. R. Jones, Rhyl; ac Edward Williams, gwr ieuangc perthynol i'r Cysegr, a wasanaethodd fel ysgrifenydd. Mesura y capel 13 llath wrth 11 llath, ac y mae dau dŷ odditano. Costiodd y cwbl 800p. Mae y gynnulleidfa ar hwyr y Sabboth yn rhifo o 150 i 160, a'r ysgol Sabbothol tua 60. Disgwylir os câ yr ymgeledd priodol y bydd yma cyn hir achos llewyrchus.

## SEION.

Mae y capel yma yn mhlwyf Rhydwen *(Whitford)*, o fewn ychydig gyda milldir i Dreffynon. Cychwynwyd yr achos gan nifer o gyfeillion a

droisant allan o Carmel, capel y Methodistiaid Calfinaidd, yn yr adeg yr oedd dadleuon duwinyddol, a rhyw bethau eraill, yn cynhyrfu amryw o eglwysi yr enwad hwnw yn sir Flint. Ar y 27ain o Ebrill, 1843, cyfarfyddodd nifer o'r brodyr hyn a'u gilydd i ymddiddan ac i benderfynu pa fodd i godi achos crefyddol. Y rhai mwyaf blaenllaw oeddynt Edward Ellis, Celyn ffarm; John Humphreys, Kenrick Phillips, John Ellis, Thomas Jones, ac eraill. Penderfynasant gynal y cyfarfod cyntaf yn nhŷ Edward Ellis, Celyn, y Sabboth dilynol. Cafwyd y ty yn llawn y boreu am ddeg. Cyhoeddwyd ysgol am ddau o'r gloch, ac er syndod daeth yn nghyd ragor na phedwar ugain. Yr oeddynt yn llanw tair o ystafelloedd mawrion, a'r *passage* sydd drwy y tŷ. Cafwyd moddion yr hwyr drachefn, ac arwyddion amlwg fod yr Arglwydd yn eu plith. Y Sabboth dilynol cafwyd pregeth gan Mr. Joseph Jones o Dreffynon. Cynhaliwyd cyfarfodydd rheolaidd yn Sabbothol ac yn wythnosol o hyny allan. Yr oedd yr aelodau yn y gyfeillach gyntaf yn rhifo oddeutu deunaw-ar-hugain. Credir yn ddiysgog fod deunaw o honynt yn y nefoedd heddyw. Yr oedd eu duwioldeb yn ddiarhebol, ac y maent er wedi marw yn llefaru etto. Cafwyd yma ar gychwyniad yr achos gyfarfodydd nad anghofir hwy byth. Yr oedd arwyddion amlwg o foddlonrwydd Duw a'i gymeradwyaeth iddynt yn y ty newydd a adeiladasant iddo i breswylio ynddo. Neillduwyd pedwar i fod yn ddiaconiaid, sef Edward Ellis, John Humphreys, Joseph Amos, a William Williams. Y gweinidogion mwyaf blaenllaw a llafurus yn nghodiad yr achos oeddynt Meistri H. Pugh, Mostyn; Lewis Everett, J. Parry, Wern; O. Owens, Rhesycae; E. Hughes, Treffynon, ac Ellis Ellis, Mostyn. Llafuriodd yr olaf yn dra ffyddlon, ac yr oedd ei gymeradwyaeth yn fawr iawn yma, ac y mae ei goffadwriaeth yn fendigedig. Mr. Pugh a ddeuai yma i gyfranu yr ordinhad bob mis am flynyddoedd. Bu yn llafurus a ffyddlon, a'i lafur o werth anmhrisiadwy i'r eglwys a'r gymydogaeth. Gan yr Anrhydeddus Mostyn Lloyd, Mostyn, y cafwyd tir i adeiladu y capel; a thrwy lafur Edward Ellis, y Celyn, y cafwyd ef, a mwy na hyny, llwyddodd i gael darn bychan o dir i fod yn gladdfa. Dechreuwyd tori sylfaen yr addoldy ar y 24ain o Fai, 1843, ac ar y 27ain rhoddwyd y gareg sylfaen i lawr. Dywedir i'r brawd John Humphreys, ar y pryd, ddarllen rhan briodol o air Duw, a myned i weddi, a theimlid yno fod bendithion y nefoedd yn cael eu derbyn gan eneidiau. Agorwyd y capel yn Awst, a daeth amryw o weinidogion yma i gynal y cyfarfod pregethu. Galwyd ef Seion.

Yn mhen blynyddoedd rhoddwyd galwad i Mr. John Jones, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma y Pasg, 1851. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri M. Jones, Bala; H. Pugh, Mostyn; W. Roberts, Penybont, ac eraill. Bu Mr. Jones yma yn ddefnyddiol a pharchus am ddwy flynedd a haner, nes y symudodd i Cemaes, Mon. Dywed Mr. Jones mewn llythyr atom, er mai oddiwrth y Methodistiaid y daeth cychwynwyr yr achos, a bod llawer o ddelw Methodistiaeth ar eu hystum a'u llais, etto na welodd un eglwys erioed yn gweithredu yn fwy rheolaidd yn ol y drefn Annibynol, a bod ganddo synied uchel, a pharch dwfn i lawer o honynt hyd y dydd hwn. Wedi ymadawiad Mr. Jones rhoddwyd galwad i Mr. Henry Rees, Pentraeth (gynt), a bu yma ysbaid blwyddyn. Am rai blynyddau ar ol hyny bu yr eglwys yma heb weinidog sefydlog, ond yn 1867 rhoddwyd galwad i Mr. John V. Jones, Jerusalem, gerllaw y Wyddgrug, ac wedi bod yma am ychydig gyda blwyddyn, ymfudodd i America,

lle y mae etto. Ar ol bod yn hir heb weinidog, rhoddwyd galwad i Mr. David Williams, Rhuddlan, yr hwn a ddechreuodd ei weinidogaeth yma Ionawr 26ain, 1873, ac y mae yn parhau yma yn dderbyniol a pharchus.

Yr oedd rhai o gychwynwyr yr achos yma yn ddynion pell uwchlaw y cyffredin mewn llawer o bethau. Mae llawer iawn o bethau dyddorol i'w dyweyd am y brawd Edward Ellis, Celyn. Yr oedd yn esiampl o lettygarwr. Bu yn cadw ei dŷ yn agored i dderbyn gweinidogion a phregethwyr am ddim. Yr oedd yn ewyllysio hyny, a'i hoff briod, Mrs. Ellis, yr un modd. Yr oedd yn weithiwr diflin a diflino gydag achos Iesu Grist. Ystyrid ef yn un o ddarllenwyr goreu sir Flint; ac y mae ol ei lafur i'w weled ar y gymydogaeth yn awr, a diau yr erys am amser maith. Ymneillduwr cyflawn ydoedd—nid rhyw hanerf el ambell i un. Ychydig oriau cyn ei farw y cafodd yr addewid o'r darn bach tir i gladdu. Yr oedd yn bryderus iawn ei feddwl hyd nes y cafodd ei foddloni trwy gael lle i gladdu. Pan yr oedd yn Rhosydd Moab, galwodd am Kenrick Phillips at erchwyn ei wely, a nododd y llanerch y dymunai i'w fedd gael ei dori ynddo. Nid oedd y fynwent wedi ei chau allan pan y claddwyd ef. Yr oedd ei fedd yn cael ei amddiffyn gan bedair *rail* hyd nes codid y muriau. Efe oedd y cyntaf a gladdwyd yn mynwent Seion. Adroddir ffaith ryfedd a gymerodd le y Sabboth cyntaf ar ol ei gladdedigaeth. Yr oedd yn ei fywyd yn hynod o ofalus am y gwenoliaid. Credai eu bod o wasanaeth mawr er dinystrio pryfaid, a phethau eraill. Os gwnai ei was goreu amcanu niweidio y wenol, neu wneyd rhywbeth i'w nyth, ca'i fyned ymaith yn ddioed. Pan y byddai yn myned oddicartref, gofalai am orchymyn am ei wenoliaid. Modd bynag, y Sabboth rhag-grybwylledig, aeth Kenrick Phillips yn lled foreu at y capel, ac er ei fawr syndod yr oedd y pedair *rail* a amgylchynant ei fedd yn llawn o wenoliaid, a'r olwg fwyaf galarus arnynt a welwyd ar greaduriaid erioed, a phob un yn edrych at y bedd. Helaethwyd mynwent Seion ar ol hyny, fel y mae yn un o'r claddfeydd eangaf a harddaf yn y wlad, a hi ydyw Macpelah Annibynwyr sir Flint, ac y mae gweddillion llu o anwyliaid wedi eu rhoddi i orwedd ynddi.

Cymeriad nodedig arall perthynol i'r eglwys hon oedd John Humphreys. Yr oedd efe fel y crybwyllwyd yn un o'r diaconiaid. Mwnwr tlawd o ran ei amgylchiadau tymorol ydoedd. Ond yr oedd yn ddyn o wybodaeth ysgrythyrol eang iawn, ac yn feddianol ar synwyr cyffredin cryf. Yr oedd hyn yn ei gymwyso i fod yn arweinydd gweithgar i'r eglwys. Mae enw hwn yn meddu mwy o arogleuid dymunol nag un o'i frodyr. Mae yn yr ardal deimlad byw pan y crybwyllir am dano. Unwaith mewn cyfeillach pan yn anog y bobl ieuaingc i ddarllen a chwilio yr ysgrythyrau, dywedai, "Yr ydw' i wedi darllen y Bibl lawer gwaith drosodd, ac with ei ddarllen yn gweled fy hun yn debyg i ddyn yn myned am dro i berllan. Yr wyf wedi dyfod o hyd i addewid ar ol addewid, ac with eu gweled yn ceisio cymeryd gafael ynddynt a'u tynu i mi fy hun. Ond yr oeddynt y pryd hyny yn *sound* iawn; ond erbyn heddyw, pan yr wyf yn myned am dro, raid i mi ond braidd gyffwrdd y prenau nad ydynt yn disgyn. Maent wedi dyfod yn addfed i mi." Pan yn ei afiechyd diweddaf, ac wedi ei gaethiwo fel nad allai fyned o'i dŷ, arferai y foneddiges, gwraig Cadben Mostyn, a fu yn byw yn y Saithaelwyd, fyned yn fynych i edrych am dano, ac yr oedd yn hynod garedig iddo, a gofalai bob dydd am ryw damaid a allai fwyta. Pabyddes oedd y foneddiges. Nid oedd hi yn gallu siarad dim Cymraeg, ac ni allai John Humphreys ond ychydig Saesneg, ond etto

byddai llawer o siarad rhyngddynt. Un diwrnod pan oedd yr hen ŵr yn ymddangos yn nesau i farw, gofynodd y foneddiges iddo, "John, a wnewch chwi weddio drosof fi wedi i chwi fyned i'r nefoedd?" "Nid wyf yn meddwl y bydd yno weddio, ma'm," meddai John. "O bydd," meddai y foneddiges yn bur benderfynol. "Wel nid wyf yn meddwl hyny," meddai John, "ond os bydd yno weddio, ma'm, o gwbl, mi weddiaf fi drosoch chwi." Wrth siarad am garedigrwydd y foneddiges, er ei bod yn Babyddes, dywedai wrth rai o'i frodyr, "Dyna i chwi fechgyn, y mae Duw Elias etto yn fyw. Mae yn anfon hen gigfran a bwyd i'r hen John bob dydd." Yr oedd y fath barch iddo fel y rhoddod i yr ysgol Sabbothol faen ar ei fedd er coffadwriaeth am dano. Bu yma wŷr rhagorol eraill, er nad oeddynt o hynodrwydd y rhai a nodwyd.

Diaconiaid presenol yr eglwys ydyw Meistri T. Humphreys, Lily-house; John Ellis, Mwdwl-eithin; Thomas Jones, Highbrook-ffarm, ac E. S. Barker, Lily-house. Mae yr achos yma mewn gwedd flodeuog, yr eglwys yn weithgar, a'r gynnulleidfa yn lluosog.

## SARN.

Mae y lle yma o fewn ychydig gyda milldir i Newmarket, ac mewn cysylltiad a Newmarket y bu hyd yn agos i derfyn gweinidogaeth Mr. R. Parry yno. Dechreuwyd yr achos yma trwy lafur Mr. Jones, Newmarket, a'i gynorthwywyr, ac adeiladwyd yma gapel bychan, yr hwn a agorwyd Hydref 21ain, 1823. Pregethwyd yn y boreu gan Meistri W. Williams, Wern, a D. Jones, Treffynon. Am 2 gan Meistri T. Williams, Rhesycae, a W. Jones, Caernarfon. Am 6 gan Meistri B. Evans, Bagillt, ac O. Owens, Rhesycae Yn nglyn a hanes y capel yn y *Dysgedydd* am Chwefror, 1824, ceir y sylw a ganlyn gan Mr. Jones, Newmarket:—"Yr addoldy uchod a adeiladwyd trwy fy llafur i am cynorthwywyr, a bu John Williams yn dra diwyd yn ei adeiladu. Ac yn gymaint a bod y gymydogaeth wedi bod yn haelionus a thirion, a'r tir ar ba un yr adeiladwyd ef wedi ei brynu am bris isel, ni bydd y ddyled ond ychydig." Nid yw yr achos ond bychan, ac mewn cylch mor gyfyng, gyda chymydogaeth deneu ei phoblogaeth, nis gellir disgwyl yma gynnulleidfa luosog. Mae y lle yn awr mewn cysylltiad a Llynhelyg, ac yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol.

Codwyd yma ddau bregethwr:—

Price Hough, yr hwn sydd yn awr yn fyfyriwr yn athrofa y Bala, ac yn bwriadu ymsefydlu yn Llanarmon.

John Roberts. Bu yn pregethu am rai blynyddoedd yma. Ymunodd a'r Wesleyaid, ac y mae yn dechreu ei weinidogaeth yn eu plith.

## LLYNHELYG.

Mae y lle hwn yn mhlwyf Whitford, mewn cymydogaeth wledig. Dechreuwyd pregethu yma yn mis Medi, 1872, mewn ysgubor perthynol i ffermdy o'r enw Penllwyn, neu y Mynydd. Gelwir ef y Mynydd am mai tir gwyllt agored oedd hyd ddyddiau tad yr hwn sydd yn ei ddal yn bresenol. Dr. Pan Jones, Mostyn, fu a'r llaw flaenaf i gychwyn yr achos,

a bu yn cerdded yma bob prydnawn Sabboth am naw mis, a bu Hugh Williams, un o gantorion Mostyn, yn cerdded yma am bymtheng mis i'w dysgu i ganu. Y personau mwyaf blaenllaw yn yr ardal gyda chychwyn yr achos oedd Robert Jones, Wern, aelod gwreiddiol o Lanrwst; Robert Thomas, perchenog yr ysgubor, yr hwn a ddygwyd i fyny gyda'r Methodistiaid, a Jonathan Hughes. Mae Robert Price, Penyrallt, hefyd wedi gwasanaethu yn ffyddlon gyda'r ysgol Sabbothol. Rhifa yr eglwys 22 o aelodau, a'r gynnulleidfa o 90 i 120, a'r ysgol o 55 i 65. Mae holl deuluoedd y gymydogaeth wedi bod yn garedig iawn i'r achos, ac yn teimlo dyddordeb yn ei lwyddiant. Gwnaed cais am dir i adeiladu capel, wedi ei arwyddo gan ddeg-ar-hugain o denantiaid Mostyn, ac yn cael ei ategu gan gyfarfod chwarterol Undeb Dinbych a Flint, ond gwrthodwyd y cais mewn modd penderfynol gan ymddiriedolwyr yr etifeddiaeth, ac nid oes bellach ond disgwyl i ymwared godi o le arall. Mae y lle yn mwynhau gweinidogaeth reolaidd mewn cysylltiad a'r Sarn.

## BAGILLT.

Mae hwn yn lle poblog, o fewn dwy filldir i Dreffynon, a'r bobl gan mwyaf yn dibynu am eu cynaliaeth ar y gweithfeydd glo a mŵn sydd yn yr ardal. Dechreuwyd pregethu yma gan Mr. D. Jones yn ddioed wedi ei sefydliad yn Nhreffynon, ac adeiladwyd yma gapel yn 1803. Yr ymddiriedolwyr cyntaf oeddynt Meistri Jenkin Lewis, Wrecsam; George Lewis, Llanuwchllyn; B. Jones, Pwllheli; D. Jones, Treffynon; T. Jones, Newmarket; T. Jones, Beaumaris; Thomas Jones, *Cutler*, Caer; Charles Williamson, Caer, a Jonathan Catheral, Buckley. Bu y lle dan ofal Mr. Jones, Treffynon, hyd y flwyddyn 1816, pryd y rhoddwyd galwad i Mr. Benjamin Evans, Rhuthyn, a bu ef yma yn ddiwyd a ffyddlon yn y weinidogaeth am 31 mlynedd. Bu farw Chwefror 13eg, 1848, yn 69 oed. Cyn pen dwy flynedd, rhoddwyd galwad i Mr. Hugh Parry (Cefni), ac urddwyd ef yma Rhagfyr 26ain, 1849. Ni bu yma ond dros dymor byr, a chyn hir ymunodd a'r Bedyddwyr. Rhoddodd yr eglwys yma wedi hyny alwad i Mr. Rowland Williams (Hwfa Mon), myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Mehefin 4ydd, 1851. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. M. Lewis, Treffynon; holwyd y gofyniadau gan Mr. T. Edwards, Ebenezer; dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. W. Griffith, Caergybi; pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. M. Jones, Bala, ac i'r eglwys gan Mr. H. Pugh, Mostyn. Bu Mr. Williams yma yn ddiwyd a llwyddianus am bedair blynedd, nes y derbyniodd alwad o Brymbo, ac y symudodd yno. Wedi bod dros ysbaid heb weinidog rhoddwyd galwad i Mr. William Evans, Dwyran, Mon. Dechreuodd ef ei weinidogaeth yma yn mis Tachwedd, 1858. Siriolodd yr achos yn fawr yn y blynyddoedd dilynol, ac yn 1860, penderfynwyd adeiladu yma gapel newydd. Cymerodd y brodyr William Davies, J. D. Morgan, a John Norbury eu rhan o faich y gwaith mewn cysylltiad a'r gweinidog. Gwaelodd iechyd Mr. Evans yn fawr yn ei flynyddoedd diweddaf, ac wedi nychu yn hir, bu farw Mehefin 8fed, 1866, yn 55 oed. Y flwyddyn ganlynol rhoddodd yr eglwys yma alwad i Mr. Richard Mawddwy Jones, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Awst 11eg, 1867, a bu yma yn dderbyniol a defnyddiol

hyd yn agos i ddiwedd 1870, pryd y symudodd i Dolyddelen, ac er hyny y mae yr eglwys yn amddifad o weinidog sefydlog.

Cofleir yn barchus am enwau Thomas Mathews, Roger Davies, John Williams, Samuel Hoskins, Benjamin Mathews, Edward Jones, Samuel Mathews, ac eraill, fel y rhai a lafuriasant yma gyda'r achos yn nyddiau Mr. B. Evans.

Codwyd yma dri phregethwr:—

William Davies. Bu o lawer o help i Mr. Evans, ac y mae etto yn fyw, ond ei fod wedi ei analluogi gan henaint.

Hugh Davies. Mae yn awr yn fyfyriwr yn athrofa y Bala. Codwyd ef i bregethu yn 1872.

Thomas Jones. Dechreuodd yntau yr un flwyddyn. Mae yn parhau yn yr eglwys yn bregethwr cynorthwyol.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL

Benjamin Evans. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1779, mewn lle a elwir Twynygraig, yn mhlwyf Eglwys-fair-a-churig, sir Gaerfyrddin. Yr oedd ei rieni yn aelodau o'r eglwys yn Nglandwr, lle hefyd y derbyniwyd yntau yn aelod. Anogwyd ef i ddechreu pregethu, ac wedi bod am ychydig yn derbyn addysg dan ofal ei weinidog, derbyniwyd ef i'r athrofa yn Wrecsam. Ar derfyniad ei amser yno aeth i Ruthyn i gymeryd gofal yr achos bychan oedd newydd ei gychwyn yno, ac urddwyd ef Ebrill 2il, 1807. Llafuriodd yno, ac yn yr holl wlad oddiamgylch, am ddeng mlynedd, ac yna symudodd i Bagillt, lle y treuliodd weddill ei oes. Ni chyfrifid Mr. Evans yn ddoniol a hyawdl fel pregethwr, ond yr oedd yn ddyn gwir dda, ac yn gyfaill cywir, ac yr oedd gan bobl ei ofal, y rhai a'i hadwaenai oreu, syniadau uchel am dano. Ni bu erioed yn deithiwr mawr, ac nid amcanodd at fod yn gyhoeddus, ond yr oedd ynddo ofal calon am yr achos dan ei ofal. Efe a gychwynodd yr achos yn nhref Flint, a pharhaodd i ofalu am dano. Yr oedd yn nodedig o hapus gyda'i frodyr pan ymwelent ag ef, ac y mae llawer o'i ddywediadau difyrus etto yn ar s ar gof yn eu mysg. Bu farw Chwefror 18fed, 1848, yn 69 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Seion, lle y mae llwch llu o anwyliaid wedi eu rhoddi i orwedd.

William Evans. Ganwyd ef yn Dolyddelen yn y flwyddyn 1811, ac yn yr eglwys Annibynol yno y derbyniwyd ef yn aelod, ac y dechreuodd bregethu. Bu yn Llanrwst am dymor, ac yno y dysgodd y gelfyddyd o rwymo llyfrau, wrth yr hon y glynodd mewn rhan trwy ei oes, a bu o help iddo er ei gynhaliaeth. Aeth i'r ysgol i Bwllheli o dan ofal Mr. R. P. Griffith, a thra yno derbyniodd alwad o Abererch, ac urddwyd ef Mai 25ain, 1841. Wedi bod yno rai blynyddoedd, symudodd i Bodedeyrn yn Mon, ac oddiyno i'r Dwyran, a chyn diwedd 1858 i Fagillt, lle y treuliodd weddill ei oes. Nid oedd Mr. Evans ond dyn bychan, egwan o gorph, a lled ofnus ei feddwl, ond yn hynod o flasus a buddiol fel pregethwr. Nid amcanai at bethau mawr, ond ymdriniai yn syml a phriodol a'r hyn a gymerai mewn llaw. Ymladd yn galed a'r byd y bu trwy ei oes, ond cadwyd ef heb fod arno eisiau dim. Cafodd oerfel trwy wlychu, yr hyn a amharodd ei iechyd yn fawr am y ddwy flynedd olaf o'i oes, a bu farw Mehefin 8fed, 1866, yn 55 oed.

## FLINT.

Nid oes genym wybodaeth sicr pa bryd y dechreuwyd yr achos yma, yn mhellach nag iddo gael ei ddechreu gan Mr. Evan syn fuan fel y tybir ar ol ei sefydliad yn Magillt. Ar gychwyniad yr achos daeth un William Jones yma o Dremeirchion, yr hwn oedd yn bregethwr cynorthwyol, a bu yn ffyddlon a diwyd gyda'r achos tra y bu byw. Wedi bod yn addoli mewn gwahanol leoedd yn y dref cymerwyd hen gapel i'r Methodistiaid ar ardreth, ac yno y buwyd hyd nes yr adeiladwyd yr addoldy presenol. Sicrhawyd darn o dir mewn man cyfleus, a chodwyd capel arno yn 1862. Galwyd ef Seion. Bu y lle mewn cysylltiad a Bagillt o gychwyniad yr achos hyd farwolaeth Mr. William Evans yn 1866. Yn niwedd y flwyddyn 1866, rhoddwyd galwad i Mr. William S. Roberts, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef Ionawr 9fed, y flwyddyn ganlynol. Yr oedd baich trwm o ddyled yn aros ar y capel pan sefydlodd Mr. Roberts yma, er fod cryn ymdrech wedi ei wneyd yn flaenorol, ond trwy ei lafur diflino ef talwyd y ddyled. Derbyniodd Mr. Roberts alwad o Bodedeyrn, Mon, a symudodd yno yn y flwyddyn 1872. Y flwyddyn ganlynol cymerodd Mr. R. Thomas, Rhyl, ofal yr eglwys, ac efe yw y gweinidog yn bresenol. Nid yw yr achos yn gryf, ac y mae wedi dyoddef oherwydd gwahanol amgylchiadau, ond hyderir fod dyddiau gwell yn ei aros.

## RHESYCAE.

Dyma yr enw a roddir ar yr ardal lle y mae y capel. Mae o gylch pedair milldir i'r de o Dreffynon, a chodwyd yn y gymydogaeth gyfoeth mawr o fŵn plwm yn y dyddiau gynt. Decheruwyd pregethu yma yn nhy un Thomas Williams, yr hwn a fu wedi hyny am flynyddau yn bregethwr cymeradwy yn yr eglwys hon. Buwyd wedi hyny yn pregethu mewn ysgubor perthynol i un John Jones, ac am ryw gymaint o amser ar ol hyny yn nhy un Godfrey Goodman. Mr. D. Jones, Treffynon, oedd y cyntaf a bregethodd yma, ac ymwelid a'r lle yn aml gan ei gynorthwywyr, Samuel Jones a John Ellis. Gan fod y tai lle y cedwid y moddion yn myned yn rhy gyfyng, penderfynwyd cael capel. Adeiladwyd ef yn y flwyddyn 1808, ac wedi ei gael yn barod, a thy yn nglyn ag ef, talwyd am y cwbl gan yr haelionus Mr. Jones o Gaer, fel yr oedd gan yr achos ieuangc dŷ addoli diddyled i ddechreu yma. Galwyd y capel yn Ebenezer. Bu gofal y lle o'r dechreuad ar Mr. Jones, Treffynon, hyd y flwyddyn 1809, pan y daeth Mr. Daniel Davies, o Drewyddel, i'r ardal, a chymellwyd ef yn daer i dderbyn galwad yr eglwys, a'r hyn y cydsyniodd. Urddwyd ef yma Gorphenaf 29ain, 1810. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Dr. Lewis, Llanuwchllyn; Meistri J. Griffith, Machynlleth; D. Jones, Treffynon; T. Jones, Newmarket, a B. Evans, Rhuthyn. Wedi bod yma yn dra llwyddianus, derbyniodd Mr. Davies alwad o'i fam eglwys yn Nhrewyddel, a'r gangen yn Aberteifi, a symudodd yno, lle y treuliodd weddill ei oes. Yn mhen amser wedi ei ymadawiad, rhoddwyd galwad i Mr. Robert Williams, aelod gwreiddiol o'r eglwys yn Mhwllheli. Urddwyd ef yma yn y flwyddyn 1815, ond symudodd oddiyma yn fuan i weini i'r eglwys ieuangc yn y Wyddgrug, a chyn hir gwaelodd ei iechyd, a bu

farw yn nghanol ei ddefnyddioldeb. Wedi ymadawiad Mr. Williams rhoddwyd galwad i Mr. Owen Owens, aelod o'r eglwys yn Nolgellau, ac urddwyd ef yma Hydref 31ain, 1821. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan Meistri W. Williams, Wern; C. Jones, Dolgellau; B. Evans, Bagillt; J. Saunders, Buckley; R. Everett, Dinbych, a J. Griffith, Llanarmon. Ymroddodd Mr. Owens i gyflawni ei weinidogaeth, a daeth yr achos rhagddo yn llewyrchus. Yn y flwyddyn 1826 gwnaed eisteddleoedd yn y capel, ac wedi hyny yn 1837 rhoddwyd oriel ar dair rhan o hono. Parhaodd Mr. Owens i lafurio yma hyd ei farwolaeth, Hydref 13eg, 1862. Cyn pen blwyddyn ar ol hyny rhoddwyd galwad i Mr. John T. Lewis, yr hwn ychydig cyn hyny a urddasid yn Mhenrhyndeudraeth. Bu Mr. Lewis yma hyd y flwyddyn 1866, pryd yr ymfudodd i America. Yn y flwyddyn 1866 adeiladwyd yma gapel newydd hardd a chyfleus, ac agorwyd ef yn haf y flwyddyn hono. Derbyniodd Mr. Ephraim Thomas, Salem, Merthyr, alwad gan yr eglwys yma wedi ymadawiad Mr. Lewis, a bu yma hyd 1871, pryd y symudodd i Gerazim, Llanfairfechan, lle y mae etto. Bu yr eglwys yma ar ol hyny heb weinidog hyd ddiwedd y flwyddyn 1873, pryd y dechreuodd Mr. Rees M. Thomas, Llanuwchllyn, ei weinidogaeth yma, ac y mae yn cychwyn ei lafur yn y lle yn addawol iawn.

Nid ydym wedi derbyn unrhyw fanylion am symudiadau yr achos yma, nac am y personau a fuont yn fwyaf amlwg yn nglyn ag ef, ac nid ydym yn gwybod am neb a gododd i bregethu yma ond Thomas Williams, at yr hwn yr ydym eisioes wedi cyfeirio. Yr oedd ef, fel y gwelsom, yn un o gychwynwyr yr achos. Derbyniwyd ef yn aelod yn Nhreffynon. Yr oedd yn fardd rhagorol, a chyfansoddodd lawer o emynau melus, ac yr oedd yn gymeradwy iawn fel pregethwr. Mae yr achos yma wedi dal ei dir er gweled llawer o gyfnewidiadau, ac y mae yma bob amser gynnulleidfa dda.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

OWEN OWENS. Ganwyd ef Awst 21ain, 1792, mewn lle a elwir Maesynghared,* yn agos i Ddolgellau, yn sir Feirionydd. Arferai wrando er yn fachgen, a sylwai pawb ar ei astudrwydd, a derbyniwyd ef yn aelod yn Nolgellau yr ail Sabboth cymundeb wedi urddiad Mr. C. Jones yno yn 1811. Bu yn cadw ysgol yn ei ardal enedigol, ac aeth oddiyno i Ddinasmawddwy i gadw ysgol, a thra yno, yn 1820, y dechreuodd bregethu. Derbyniodd alwad o Rhesycae, lle yr urddwyd ef Hydref 31ain, 1821, ac yno y treuliodd weddill ei oes. Bu Mr. Owens yn briod ddwywaith. Priododd y tro cyntaf a Mrs. Anne Jones, gweddw ieuangc barchus yn Nolgellau, o'r hon y ganwyd iddo un ferch. Claddodd ei wraig gyntaf yn 1830, ac yn Hydref, 1833, ail briododd a Mrs. Barbara Humphreys, yr hon a fu iddo yn ymgeledd gymwys hyd ei fedd. Yn Hydref, 1845, claddodd ei unig ferch yn 25 oed, yr hyn a effeithiodd yn ddwys iawn ar ei feddwl. Yr oedd yn Mr. Owens lawer o bethau canmoladwy. Yr oedd ei gof yn nodedig. O'i ieuengetyd cofiai ac adroddai y pregethau a wrandawai, ac yr oedd yn orfanwl yn ei adroddiad o bob peth. Anhawdd oedd cael ei gywirach mewn dyddiadau *(dates)*. Bu yn cadw ysgol am y rhan fwyaf o'i oes, ac er na chafodd erioed lawer o fanteision addysg, etto

* Maes Angharad mae yn debyg.

trwy hunanddiwylliad, a'i gywirdeb a'i fanylwch yn mhob peth, yr oedd wedi ei gymwyso i fod yn athraw mewn pethau cyffredin ac angenrheidiol. Darllenodd lawer, yn enwedig mewn hanesyddiaeth a duwinyddiaeth. Nid oedd yr hyn a gyfrifid yn ddoniol fel pregethwr, etto yr oedd yn bur a sylweddol, a'i weinidogaeth yn cynwys "ymadrodd iachus, yr hwn ni ellir beïo arno." Cafodd niwed wrth ddychwelyd o gymanfa Rhosllanerchrugog yn Mehefin, 1861, trwy syrthio oddiar ei anifail, yr hyn a effeithiodd ar ei holl gyfansoddiad. Teimlodd mor ddwys oddiwrth y codwm, fel y penderfynodd cyn diwedd y flwyddyn hono i ymryddhau o'i ofal gweinidogaethol, ac ar yr achlysur anrhegwyd ef a swm hardd gan yr eglwysi dan ei ofal. Gwaelodd yn raddol ar ol hyny, a bu farw Hydref 13eg, 1862, yn 70 oed. Claddwyd ef yn mynwent Eglwys blwyfol Nanerch, ac erys ei enw mewn coffadwriaeth barchus.

## NANERCH.

Dechreuwyd pregethu yma tua'r flwyddyn 1816, mewn lle a elwir Waundymarch, a chodwyd yno gapel bychan, yr hwn a fu am dymor hir mewn cysylltiad a Rhesycae, ond sydd bellach er's mwy nag ugain mlynedd yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol. Nid yw yr achos yma yn gryf, ac ni bu mewn unrhyw gyfnod yn ei hanes, ac nid yw y capel yn y man mwyaf cyfleus yn yr ardal i gael cynnulleidfa iddo. Bu Mr. Owens yn Llundain yn y flwyddyn 1825 yn casglu er dileu dyled y capel yma, a bu yn dra llwyddianus. Coffeir am Mr. Jones, Nanerch, a'i deulu caredig, y rhai a fuont yn noddwyr caredig i'r achos yma gynt, ond y mae y teulu oll wedi eu symud gan angau. Nid oedd neb yn Ngogledd Cymru yn fwy llettygar a chroesawgar i weinidogion yr efengyl nag oeddynt hwy yn eu tymor. Mae Mr. Anthony Harrison a'i briod yma yn cadw drws agored, ac yn teimlo mai braint ydyw cael "sefyll yn nhŷ yr Arglwydd y nos."

## SALEM.

Mae y capel hwn yn mhlwyf Cilcain, ar ochr y ffordd o'r Wyddgrug i Ddinbych, o fewn pedair milldir i'r blaenaf. Cangen ydyw o Resycae, ac y mae yr achos o'r dechreuad wedi bod mewn cysylltiad a'r eglwys yno, ac felly y mae yn parhau. Adeiladwyd y capel yn 1826, a bu Thomas Lloyd, Ysw., Marsiandwr o Legorn, a brawd i R. Lloyd, Ysw., Hendrefigillt, yn haelionus iawn tuag ato. Anfonodd at Mr. Owens, Rhesycae, yn 1844 i ofyn pa faint o ddyled oedd yn aros, ac wedi cael gwybod y swm, anfonodd ddigon i'w lwyr ddileu. Mae y capel er hyny wedi ei ail adeiladu, ac wedi ei wneyd yn dlws a chryno, ac y mae cynnulleidfa siriol ynddo yn gwrando, er nad yw yn lluosog. Mae y lle dan ofal Mr. R. M. Thomas, Rhesycae.

## MYNYDD BUCKLEY.

Mae y lle yma yn mhlwyf y Wyddgrug, o fewn tua thair milldir i'r dref. Sylfaenwyd yr achos Annibynol yma tua'r flwyddyn 1790 gan

Jonathan Catherall, Ysw., yr hwn y mae ei goffadwriaeth yn fendigedig yn yr ardal. Mab i foneddwr parchus ydoedd, ac yn dirfeddianwr yn y wlad yma. Eglwyswr ydoedd Mr. Catherall yn ei ddyddiau boreuol, ac nid oedd pregethu yma yn y dyddiau hyny gan unrhyw enwad o Ymneillduwyr. Arferai y Wesleyaid ddyfod o ddinas Caerlleon i bregethu i Benarlag, tua thair milldir oddiyma, ac yn fynych terfysgid ar y gwasanaeth ac anmherchid y pregethwyr gan y werin afreolus. Arweiniwyd Mr. Catherall yno gan fath o gywreingarwch i weled beth oedd yn myned yn mlaen; ond daeth y gair ato "mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glan," ac yn yr adeg hono i adnabod ei hun ac i adnabod Iesu Grist, ac yr oedd bellach am wneyd rhywbeth drosto. Trwyddedodd ei dŷ at bregethu, a deuai y myfyrwyr oedd y pryd hwnw yn Wrecsam yn yr athrofa, ac eraill, yma yn fynych. Adeiladodd y capel cyntaf ar ei draul ei hun ar y tir cyffredin, yn y flwyddyn 1800, ac yr oedd ganddo hefyd, fel y gwelsom, law yn nghodiad y capel cyntaf yn Nhreffynon a Bagillt. Yn 1810, cododd ail gapel ar ei dir ei hun, yr hwn yn y flwyddyn 1815 a helaethwyd, a throwyd y capel cyntaf yn dŷ anedd. Y gweinidog cyntaf yma oedd un John Morris, a ddaeth yma o sir Gaerfyrddin tua'r flwyddyn 1809. Ni bu ei gysylltiad a'r eglwys ond byr. Daeth cyhuddiadau yn ei erbyn ei fod yn ddiotwr ac yn feddwyn. Ymgymerodd a bod yn feddyg, a gelwid ef Dr. Morris, Buckley, a gelwid ef i bregethu i rai manau, ond o'r diwedd darfu pob cysylltiad rhyngddo a chrefydd, a bu farw yn feddwyn tuag ugain mlynedd yn ol. Yn y flwyddyn 1816, daeth un Thomas Jones yma o athrofa Caerfyrddin. Yr oedd yn ddyn da, ac yn bregethwr rhagorol. Bu yma am dair blynedd, ac yna aeth at y Wesleyaid, a chyda hwy y bu dros ei oes. Dilynwyd ef yma gan Mr. Benjamin Powell, o athrofa Wrecsam. Ni bu ei dymor yma ond byr. Ymfudodd i America, ond dychwelodd yn fuan, a bu farw yn Liverpool. Rhoddwyd galwad wedi hyny i Mr. John Saunders, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef yma Mawrth 14eg, 1821. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri Bell a Pearce o Wrecsam; Williams o'r Wern; Everett, Dinbych; Jones, Treffynon; Farmer o Hanley, a Dr. Raffles o Liverpool. Bu Mr. Saunders yma yn barchus iawn hyd 1835, pryd y symudodd i Aberystwyth. Gwasanaethai Mr. Saunders fel *clerk* yn ngweithiau Mr. Catherall am flynyddau. Yn y flwyddyn 1838, daeth Mr. John Griffith, gynt o Manchester, yn weinidog yma, a gwasanaethodd yr eglwys yn ffyddlon hyd y flwyddyn 1869, pryd y teimlodd nad allasai sefyll yn hwy ger bron arch Duw, a rhoddodd yr eglwys i fyny er galar dirfawr i'r bobl yn mysg y rhai y llafuriodd cyhyd, ond y mae etto yn aelod yn y lle, ac yn parhau i wneyd pob peth a allo dros yr achos. Yr oedd yr achos yn dra isel yma pan ddaeth Mr. Griffith i'r lle, ond adfywiodd yn fuan trwy fendith Duw ar ei weinidogaeth dyner a difrifol. Cynyddodd yr eglwys mewn nifer, mewn purdeb, ac mewn gweithredoedd da. Yr oedd y capel a'r fynwent o'r dechreuad yn eiddo personol i'r hen foneddwr Mr. Catherall, a phan fu ef farw, yr oedd ei fab yn dueddol weithiau i hawlio yr eiddo, ac ar brydiau braidd yn dra arglwyddiaethol ar yr eglwys, yr hyn a barai dipyn o anghysur i'r gweinidog a'r bobl, ond yn y flwyddyn 1850, llwyddodd Mr. Griffith i brynu y lle i fod yn feddiant i'r eglwys, a throsglwyddwyd y cwbl i ymddiriedolwyr, ac adgyweiriwyd y capel trwy draul o 600p., y rhai a dalwyd ymaith oll cyn pen deuddeng mis. Aeth y capel yn mhen amser yn rhy fychan, fel y gwelwyd angen helaethu y lle, ac estyn y cortynau. Bu y

peth yn cael ei siarad am ddeng mlynedd cyn cael pawb yn addfed, ond yn 1872 a 1873 codwyd capel newydd hardd, digon eang i gynwys 500 o bersonau, ac aeth y draul yn 1,800p., ac agorwyd ef Tachwedd 25ain, 1873, ac y mae y ddyled gan mwyaf wedi ei thalu. Yn anffodus i'r eglwys, daeth un Edwin A. Jones yma, trwy gymeradwyaeth rhyw rai, o gylch adeg adeiladiad y capel newydd, a gwnaeth waradwydd mawr i'r achos, a gofid dwfn i'r dynion goreu; ond ni bu yma yn hir, ac nid oedd neb am lynu wrtho wedi i'w wir gymeriad ddyfod i'r golwg. Rhoddwyd galwad i Mr. J. D. Thomas, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Rhagfyr 1af, 1873. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri J. Griffith, Buckley; P. W. Darnton a T. Peters, Caerlleon, a J. Peter, Bala, ac y mae yr achos dan ei ofal yn parhau i fyned yn mlaen yn llewyrchus. Dylasem grybwyll mai Saesonaeg hollol yw yr achos hwn o'r dechreuad.

## Y LLONG.

Saif y capel hwn yn mhlwyf yr Wyddgrug, o fewn dwy filldir i'r dref, mewn cymydogaeth a gafodd ei henw oddiwrth dafarndy dan arwydd y Llong. Cangen o Buckley yw yr eglwys hon, a sefydlwyd gan Mr. John Saunders, Buckley, trwy gynorthwy y diweddar Jonathan Catherall, Ysw., yn benaf. Pregethid am rai blynyddoedd yn achlysurol yn yr ardal hon gan weinidogion Buckley a myfyrwyr Gwrecsam, ac yn y flwyddyn 1821 codwyd y capel. Dangosodd Mr. Catherall ei fawr haelioni arierol at draul yr adeilad, a chasglwyd gan Mr. Saunders yn agos i 50p., y rhan fwyaf o ba swm a gasglwyd ganddo yn fân roddion o ddimai ac uchod, yn gyfraniadau wythnosol mewn tafarndai yn Buckley bob prydnawn dydd Gwener. Yr oedd efe ei hun yn ddirwestwr, a bu felly am chwarter canrif a mwy. Cafwyd y tir gan foneddwr o'r ardal, yr hwn a roddwyd i'r Annibynwyr yn rhad ac am ddim, i fod at eu gwasanaeth tra dwfr yn rhedeg, fel y dengys y gareg ar y tu wyneb i'r capel, ar yr hon y mae yr argraff ganlynol:—"*The ground on which this chapel stands is the gift of James Thompson, Esq.*, 1831." Hyd ei ymadawiad i Aberystwyth yn Medi, 1836, pregethai Mr. Saunders ar foreu Sabboth yn wastadol yma. Yn mhen blwyddyn wedi ei ymadawiad ef, daeth Mr. John Griffith i Buckley, a chymerodd ofal yr achos yn y Llong, megis ei ragflaenor, a bu dan ei ofal am dymor, ac wedi iddo ei roddi i fyny, cafodd nawdd a gofal Mr. Isaac Harries, yr Wyddgrug, dan aden yr hwn y bu tra y bu Mr. Harries byw.

Yn y flwyddyn 1866 cydroddodd yr eglwys hon a'r eglwysi yn Sychtyn a'r Wyddgrug alwad i Mr. John Myrddin Thomas, Casnewydd-ar-Wysg, yr hwn a gydsyniodd, ac a gymerodd eu gofal, ac y mae efe yn parhau i weinidogaethu yma gyda gradd helaeth ac amlwg o lwyddiant. Ar ei gychwyniad cyntaf yr oedd yr achos hwn yn llwyddianus iawn, a'r capel yn cael ei lenwi, ond yn mhen blynyddoedd daeth marweidd-dra a gwywdra drosto, ac aeth yn isel iawn, ond yn y deng mlynedd diweddaf mae wedi ymadfywiocau ac ymsirioli, a llawer wedi eu hychwanegu at yr eglwys. Adgyweiriwyd y capel yn ddiweddar, a gwnaed ef yn gryno a chyfleus i wrando ynddo, ac y mae y ddimai olaf o'r ddyled newydd ei thalu. Mae yr achos yn bresenol megis yn nyddiau ei ieuengctyd; mae

y capel yn cael ei lenwi ar nos Sabbothau, a chryn ffyniant ar y "gwaith da" yn y rhan hon o ddyffryn Alun.

Mae Mr. Lewis Everett, mab y diweddar Mr. Lewis Everett, Dyserth, yn aelod a phregethwr cynorthwyol parchus a defnyddiol yma.

## PONTYBODKIN.

Dechreuwyd yr achos yn y lle hwn yn benaf gan Mr. John Myrddin Thomas, Wyddgrug. Oherwydd bod rhai Annibynwyr, yn wrandawyr ac yn aelodau, yn ardal Coedllai, ac ar wasgar yn nghapeli enwadau eraill, addawodd bregethu yma mewn ty anedd. Chwefror 11eg, 1868, pregethodd yn nhy un William Hughes, aelod o'r Llong, yr hwn a luddid gan gystudd i fyned i foddion gras, oddiwrth Dat. ii. 17. Ar ol y noswaith hono cynhelid cyfarfodydd gweddio a phregethid bob yn ail, yn yr un lle, hyd Ebrill 26ain, pryd y pregethwyd y prydnawn a'r hwyr gan Meistri J. Myrddin Thomas, Wyddgrug, ac L. Williams, Llanarmon, y pryd hwnw, ond yn awr o'r Bontnewydd, Caernarfon. Yn niwedd oedfa yr hwyr corpholwyd eglwys yma gan Mr. Thomas. Pedwar-ar-ddeg oedd rhifedi yr eglwys y noswaith hono ar adeg ei chymundeb cyntaf. O'r Sabboth hwn allan, pregethid yn rheolaidd yma, ac ar yr 17eg o Fai dechreuwyd cadw ysgol Sabbothol, rhif yr hon oedd 21. Yn Mehefin symudwyd o'r ty anedd i fan mwy cyfleus, sef swyddfa un o'r gweithfaoedd, gerllaw Pontybodkin. Dydd Llun, Gorphenaf 17eg, 1870, gosodwyd congl-faen y capel newydd gan Mrs. Myrddin Thomas, Wyddgrug, ac anerchwyd oddiar y sylfaen gan Meistri H. Rees, Penuel; J. M. Thomas, Wyddgrug; E. Roberts, Coedpoeth; J. Roberts, Brymbo; Ismael Jones, Rhos; Morgan, (W), Coedllai, ac E. John, (B), Tryddyn. Cafwyd y tir gan E. P. Warren, Ysw., ar lês o 70 o flynyddoedd am yr ardreth o ddau swllt y flwyddyn. Ar y Sabboth, Ionawr 15fed, 1871, symudodd yr eglwys a'r gynnulleidfa o'r "ty ardrethol" i'r capel newydd. Pregethwyd y boreu a'r hwyr gan Mr. J. M. Thomas, a'r prydnawn gan Mr. Lewis Everett, Wyddgrug. Ar y Sul a'r Llun, Mai 21ain a'r 22ain, 1871, cynaliwyd gwasanaeth yr agoriad gan Meistri D. Roberts, Gwrecsam; Samuel Evans, Llandegle; L. Williams, Bontnewydd, a J. Rowlands, Rhos. Saif y capel yn mhlwyf Hope, mewn lle o'r enw Pontybodkin, mewn man canolog a hynod gyfleus. Y pensaer a'r adeiladydd oedd Mr. E. Peters, Coedllai. Traul yr adeiladiad, a chymeryd pob peth i mewn, oedd ychydig gyda 500p., ac o'r swm hwn y mae yn aros heb eu talu 290p. Mae yr eglwys yn ymylu ar 60 mewn nifer. Canolrif yr ysgol Sabbothol yw 100, a chanolrif yr eglwys a'r gynnulleidfa ar nos Sabboth yw 250. Yr ydym yn darllen oddiwrth yr argoelion presenol y bydd yr achos hwn yn gryf a blodeuog. Dan ofal gweinidogaethol Mr. J. M. Thomas y mae mewn cysylltiad a'r Llong.

## PENUEL.

Mae y lle hwn yn mhlwyf Hope, ar derfyn Clawdd Offa, a Penuel, Hope, y gelwir y capel yn aml. Bu Vavasor Powell a James Owen yn pregethu yma gynt, ond nis gallwn ddilyn yr achos presenol i'w dyddiau hwy. Dechreuwyd pregethu yma yn y cyfnod diweddaf gan Mr. Williams o'r

Wern, yn fuan wedi ei sefydliad yn y Wern, a chynorthwyid ef gan y myfyrwyr o Wrecsam. Mewn lle a elwir Penstryd y dechreuwyd yr achos, ac y ffurfiwyd yr eglwys tua'r flwyddyn 1826. O gylch yr adeg hono daeth Mr. Is ael Jones, Rhos, yma i bregethu a chadw ysgol, a bu yma ysbaid blwyddyn. Deuai Mr. David Owen wedi hyny yma yn fynych i bregethu, yr hwn oedd yn cadw ysgol yn hen gapel y Gyfynys, (Brymbo yn awr), ond dychwelodd ef adref i'w wlad, ac yn mhen amser urddwyd ef yn gynorthwywr i Mr. D. Davies, Aberteifi, yn Llechryd yn benaf. Yn y flwyddyn 1827 gwahoddwyd Mr. Jonathan Davies, myfyriwr o athrofa y Neuaddlwyd, i ddyfod i bregethu a chadw ysgol yma, a chynyddodd yr achos yn fawr ar ol ei ddyfodiad. Ymgymerodd ag adeiladu capel a thy yn nglyn ag ef, ac er holl garedigrwydd amaethwyr yr ardal mewn cludo defnyddiau, aeth y draul yn 430p. Agorwyd ef Gorphenaf 1af a'r 2il, 1828, ac ar yr un pryd urddwyd Mr. Jonathan Davies i fod yn weinidog yma ac yn Harwd. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. O. Owens, Rhesycae; holwyd y gofyniadau arferol gan Mr. J. Griffith, Llanarmon; dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. T. Ellis, Llangwm; pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. D. Roberts, Dinbych, ac i'r eglwys gan Mr. W. Williams, Wern. Bu Mr. Davies yma yn ffyddlon a llafurus am 32 mlynedd, a chyfrif yr amser y bu yma cyn ei urddo; ac er na bu yn nodedig o lwyddianus, etto gwelodd yr achos yn nhymor ei weinidogaeth ef adegau llewyrchus iawn. Ymadawodd oddiyma i Abergele i fyw yn 1859, ac yno y bu hyd ddiwedd ei oes. Yn fuan wedi ymadawiad Mr. Davies daeth Mr. Henry Rees, gynt o Bentraeth, yma hyd Awst, 1873, pryd y derbyniwyd ef ar drysorfa yr hen weinidogion, ac y rhoddodd y weinidogaeth i fyny, ac er hyny y mae yr eglwys yma heb sefydlu ar weinidog.

Nid ydym yn gwybod ond am un pregethwr a godwyd yma, sef William Humphreys, yr hwn sydd etto yn bregethwr cynorthwyol yn yr eglwys.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

JONATHAN DAVIES. Ganwyd ef Hydref 26ain, 1802, mewn lle a elwir Garthaelwydfach, yn agos i'r Neuaddlwyd, yn sir Aberteifi. Yr oedd ei rieni yn bobl grefyddol, a dygwyd yntau i fyny o'i febyd i ofni yr Arglwydd. Derbyniwyd ef yn aelod yn y Neuaddlwyd pan yn ieuangc, a chyn hir anogwyd ef i ddechreu pregethu, ac wedi bod am rai blynyddoedd yn yr athrofa dan ofal ei weinidog, aeth i'r Gogledd, a derbyniodd wahoddiad o Harwd, ac achos ieuangc oedd wedi ei gychwyn yn Uwchmynydd, yn mhlwyf Hope, ac urddwyd ef yno yn Hydref, 1828. Llafuriodd yn egniol i adeiladu capel Penuel, ac efe ei hun a ddygodd y rhan fwyaf o'r baich. Trwy gadw ysgol ddyddiol, a chynorthwy gwraig ddiwyd a gofalus, yr hon a ddygai yn mlaen ychydig fasnach, galluogwyd ef i wneyd llawer dros yr achos, ac ni dderbyniodd ond ychydig gydnabyddiaeth arianol am ei lafur am fwy na deng-mlynedd-ar-hugain. Yr oedd Mr. Davies yn ddyn diwyd a ffyddlon, o gymeriad pur a diargyhoedd, ac yn wastad yn ei holl ymarweddiad, ond ei fod braidd yn llwfr a phruddaidd ei ysbryd, ac nid oedd digon o fywiogrwydd a swyn yn ei ddawn fel pregethwr i dynu sylw mewn gwlad o fath yr hon y syrthiodd ei goelbren ef ynddi. Pregethai yn bur a sylweddol, a'i athrawiaeth yn wastad yn

efengylaidd, ond ni feddai ar gloch uchelseiniol i alw y bobl yn nghyd. Yr oedd yn hynod o garedig a haelionus, yn enwedig i bregethwyr ieuaingc, a chafodd llawer o honynt ef yn gynorthwywr parod. Claddodd ei wraig o ddolur poenus, ar ol byw yn nghyd yn hapus iawn, ac o hyny allan yr oedd ei afael yn llacio yn yr ardal lle y bu byw cyhyd. Ail briododd a symudodd i Abergele i ddwyn yn mlaen fasnach yno, ac yno y bu dros weddill ei oes. Bu farw Mai 24ain, 1871, yn 69 oed, a rhoddwyd ei gorph i orwedd yn y gladdfa newydd yn Abergele, a theimlai pawb wrth ei roddi yn ei fedd, ei fod ef yn ŵr da, ac y mae ei goffadwriaeth yn perarogli.

## CAERGWRLE.

Mae yn ymddangos ddarfod i'r ardaloedd hyn, fel y crybwyllasom eisoes, gael eu breintio a'r efengyl yn foreu. Nid yw Plasteg yn mhell oddiyma, i'r lle y trodd Vavasor Powell pan wedi colli ei ffordd, a'r lle wedi hyny y cafodd William Jones, Dinbych, nodded a chartref ar ol ei fwrw allan o'i fywioliaeth gan Ddeddf Unffurfiaeth. Ond aeth cyfnod maith ar ol hyny heibio heb fod yma ddim pregethu gan yr Ymneillduwyr, ac yr oedd yr holl wlad hon yn nodedig am ei champau annuwiol, ac yr oedd un Sabboth o'r flwyddyn yma yn ddydd uchelwyl annuwioldeb. Dechreuwyd pregethu yma yn 1833, yn nhy John Griffiths, yn Strydisaf, gan Mr. Jonathan Davies, Penuel. Symudwyd wedi hyn i'r Stryduchaf. Nid oedd yma yr un aelod crefyddol gan yr Annibynwyr yn y lle ar y pryd, ond deuai rhai cyfeillion o Penuel yma i gynorthwyo Mr. Davies. Llwyddodd yr achos yn raddol fel y cafwyd yma "ychydig enwau." Cafwyd tir at adeiladu capel. Dechreuwyd arno yn Mawrth, 1842. Pregethwyd ynddo gyntaf gan Mr. Davies, Medi 4ydd, oddiar Genesis xxviii. 19, ac agorwyd ef yn gyhoeddus Hydref 18fed a'r 19eg, yr un flwyddyn. Pregethwyd ar yr achlysur gan Meistri J. Parry, Wern; D. Price, Rhos; E. Hughes, Treffynon; A. Jones, Bangor; W. Rees, Dinbych; J. Pearce, ac R. Brown, Wrecsam, a Dr. Raffles, Liverpool. Galwyd y capel yn Bethel, a chostiodd gyda'r ty 400p. Ffurfiwyd yma eglwys, ac yr oedd un-ar-hugain o aelodau yn y cymundeb cyntaf. Mae y lle o'r dechreuad wedi bod dan weinidogaeth Meistri J. Davies ac H. Rees yn olynol mewn cysylltiad a Penuel. Egwan yw yr achos yma o ran rhif, ond y mae yr ychydig sydd yma yn nodedig o ffyddlon. Mae 100p. o ddyled yn aros, ond gwneir ymdrech yn awr i'w lwyr ddileu.

Codwyd yma un pregethwr, sef Edward Powell, yr hwn am ychydig flynyddau a fu yn bregethwr cymeradwy, ond lladdwyd ef yn 1846, trwy i'r maen droi arno wrth lifo arfau. Bu yma eraill yn pregethu, y rhai a ddeuent i'r ardal dros amser i gadw ysgol, ond yr oeddynt oll wedi dechreu pregethu cyn dyfod yma.

## WYDDGRUG.

Pregethid mewn cymydogaethau cyfagos, sef Waunyrwyddfid, Parcbychan, a Buckley, cyn dechreuad yr achos yn y dref hon, gan Mr. James Morris, (brodor o sir Benfro), yn benaf, gweinidog a thrigianydd yn Buckley. Yr oedd yn yr ardaloedd a enwyd aelodau eglwysig Annibynol a berthynent i'r achos yn Buckley, y rhai a gadwent foddion gweddio, a

phregeth yn awr ac eilwaith, mewn anedd-dai yn eu cymydogaethau eu hunain, eithr a aent i gymundeb i Buckley, a rhai o honynt yn amlach na hyny. Y gwr da, selog, a llafurus hwnw Jonathan Catherall, Ysw., Buckley, fu y prif offeryn i sefydlu yr achos. Efe a brynodd dŷ yma dan arwydd yr Aradr, yr hwn a drowyd yn gapel, ac i'r hwn yr ymgasglodd yr aelodau ag oeddynt yn byw o amgylch y dref, a chorpholwyd hwy yn eglwys gan Mr. James Morris, Buckley, yr hwn a fu iddynt yn fugail, yn nghyd ag i'r eglwys yn Buckley. Cymerodd hyn le yn y flwyddyn 1809. Wedi dechreuad yr achos yma, parhaodd Mr. Morris i fyned i bregethu i aneddau yn yr un cylchoedd ac o'r blaen. Yn mhen ychydig amser trosglwyddwyd y capel yn feddiant i'r Annibynwyr gan Mr. Catherall am ychydig gyda chan' punt, a phrynwyd cyfran angenrheidiol o'r tir o'i amgylch gan berchenog gwreiddiol yr Aradr, ac y mae yr unrhyw yn meddiant yr Annibynwyr hyd y dydd hwn, ac ar yr hwn y saif y capel presenol. Y diaconiaid cyntaf a neillduwyd gan yr eglwys oedd Robert Jones, Waunyrwyddfid; Edward Humphreys, Fronygelli; William Davies, Bryngruffydd, (Maesygroes wedi hyny), a William Kirkham, Wyddgrug, brawd-yn-nghyfraith i Mr. John Blackwell (Alun). Yn 1812, torodd ymrafael allan yn yr eglwys mewn perthynas i'r gweinidog, Mr. James Morris, oherwydd nad oedd yn arwain bywyd cwbl addas i'r efengyl. Ymadawodd a'r capel, a chanlynwyd ef gan rai aelodau a gwrandawyr, y rhai a gydgynnullent i ystafell berthynol i westty yn nghwr uchaf y dref, lle y pregethai Mr. Morris iddynt; ond yn fuan wedi gwneuthur ymchwiliad i'w gymeriad gan Mr. Williams, Wern, ac eraill, torwyd y cysylltiad oedd rhyngddo a'r enwad, a dychwelodd y rhai a'i canlynasent yn ol i'r capel. Er i Mr. Morris gael ei ddiarddel gan yr enwad, parhaodd i bregethu yn Waunyrwyddfid am rai blynyddoedd; ond y diwedd fu iddo adael crefydd a rhoi heibio bregethu yn llwyr. Wedi i'r berthynas a Mr. Morris ddarfod, byw ar gynorthwyon myfyrwyr yr athrofa yn Wrecsam, yn benaf, yr oedd yr eglwysi yn Buckley a'r Wyddgrug. Trefn taith y Sabboth oedd, Buckley y boreu, yn Saesneg, (y pryd hyn y trowyd yr achos yno i'r Saesneg), Wyddgrug y prydnawn, a'r Waunyrwyddfid a Pharcbychan, bob yn ail, y nos.

Yn y flwyddyn 1813, rhoddwyd galwad gan yr eglwysi yn yr Wyddgrug a Buckley i Mr. Benjamin Powell, o athrofa Gwrecsam, mab i Mr. Jonathan Powell, sir Fon. Urddwyd ef Rhagfyr 10fed, 1814. Pregethai yntau yn Waunyrwyddfid a'r Parcbychan, fel ei ragflaenor a'r myfyrwyr o Wrecsam. Cadwai ef ysgol yn y capel. Yr oedd yn ysgolhaig tra rhagorol, ac yn bregethwr hynod gymeradwy yn Saesneg fel yn Gymraeg. Yn mhen tua phum' mlynedd symudodd oddiyma i Ruthyn, ac oddiyno drachefn i Utica, America. Bu yno am lawer o flynyddoedd. Dychwelodd yn ol i'r wlad hon, ac ar ei laniad yn Liverpool gafaelodd twymyn ynddo, yr hwn a gymerodd ymaith ei fywyd mewn ychydig ddyddiau, ac yno y claddwyd ef. Mr. Robert Williams, Rhesycae, oedd y gweinidog nesaf a ymsefydlodd yma. Urddwyd ef yn Rhesycae yn mis Hydref, 1815, a symudodd yma oddeutu y Nadolig, 1820. Er ei fod dan anfantais oherwydd gwendid corphorol, bu ef yn weithgar a llafurus iawn. Er nad allai honi ysgolheigdod, yr oedd yn bregethwr swynol a chymeradwy, ac yn hynod o ofalus am bobl ei ofal. Yr oedd ei eglwys yn hoff ac yn anwyl o hono, a'i gyd-drefwyr yr un modd. Ychwanegwyd at yr achos, a bu cryn lwyddiant yn ystod tymor ei weinidogaeth. Ar daith i un o

gymanfaoedd haf 1823, cafodd anwyd trwm, yr hyn a ostyngodd ei nerth, ac a drodd yn ddarfodedigaeth. Bu farw Chwefror 17eg, 1824, yn 38 oed, a chladdwyd ef yn mynwent capel Buckley.

Yn y flwyddyn 1824 rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. Isaac Harries, o athrofa Caerfyrddin, yr hwn a urddwyd yma Gorphenaf, 1825. Yr oedd Mr. D. Peter, ei athraw, yn bresenol yn ei urddiad, a lluaws mawr o weinidogion. Yn fuan wedi dyfodiad Mr. Harries yma, gwelwyd fod yn rhaid tynu yr hen gapel i lawr ac adeiladu un cangach a harddach, ac felly y gwnaed. Gosodwyd ef ar gytundeb i Mr. Charles Griffith, yn awr o Wrecsam. Traul yr adeiladiad yn ol y cytundeb oedd 620p. Agorwyd ef ddydd Nadolig, 1827. Yr haf canlynol cynaliwyd cymanfa y sir yma. Yn y blynyddoedd canlynol yr oedd yr achos yn ffynu, ac yn ychwanegu cryfder, ac ymdrechion calonog a grymus yn cael eu gwneuthur i gael yr afael drechaf ar y ddyled. Baich trwm oedd y ddyled ar y lle, a theimlwyd hyny hyd nes peri gwangalondid mawr, ond ar y gweinidog ei hun y gwasgai drymaf, ac felly y bu nes y llwyr ddilëwyd ef. Bu yr eglwys am flynyddoedd lawer cyn llwyr ddilëu y ddyled, a diameu iddo gloffrwymo yr eglwys am amser maith, ac yn enwedig Mr. Harries, oblegid mai arno ef yr oedd llawer iawn, ac yn agos yr holl ofal, yn nghylch talu y llogau, heblaw ceisio lleihau corph y ddyled, ond cafodd y mwynhad o gael ysgwydd rydd oddiwrth y baich hwnw rai blynyddoedd cyn ei farwolaeth.

Yn y flwyddyn 1839 a 1840 torodd diwygiad nerthol iawn allan yn Ngogledd Cymru, a chafodd yr Wyddgrug phiol yn llifo drosodd o gawodydd llifeiriol y dyddiau hyny, er yr ofnai galarwyr Seion yma, ac yr oedd Mr. Harries yntau yn fawr ei bryder a'i ofnau yr aethai y cawodydd cynyrchiol a hyfryd heibio iddynt. Crybwylla Dr. Rees, Liverpool, yn ei Gofiant i Mr. Pugh, Mostyn, am doriad y wawr y pryd hyny ar yr achos yma. Ar ddiwedd eu taith Genhadol yn Flint a Dinbych, cyfarfu Mr. Rees, Mr. Pugh, a Mr. Jones, Rhuthyn, yn y Wyddgrug, lle y gorphenasant eu taith hono. Yr oedd y tân eisoes wedi tori allan mewn manau, ac yn eu plith Mostyn, ac yn cyflym ymledu yn oddeithiol, ac oherwydd bod y tri wyr hyn wedi eu meddianu gan ysbryd y diwygiad, daliwyd ar y cyfleusdra i gael cyfarfod gweddi diwygiadol cyn yr elent o'r dref. Y nos Sabboth canlynol, wedi oedfa hynod galed a dilewyrch, yn ddisymwth syrthiodd cawod o fraw ac ofn ar y gynnulleidfa; aethai rhai allan fel pe byddai cywilydd arnynt, ond arosodd llawer yn y gyfeillach, a chafwyd dafnau breision o'r gwlaw mawr. Tua'r amser hwn yr oedd Mr. Harries yn uchder nerth tymor ei weinidogaeth, a dyma yr amser y bu mwyaf o lewyrch ar yr achos. Llenwid y capel, ac yr oedd rhifedi yr eglwys o 150 i 200. Ar ol yr adeg hon gostyngwyd yr eglwys a'r gwrandawyr mewn nifer, gan fynych symudiadau i drefydd Lloegr, a manau eraill, a chan wastadrwydd digynhyrfiad masnach. Yn yr amser a nodwyd y cyrhaeddodd yr achos ei eithafgyrch, ac ni bu na chynt nac wedi hyny, yn agos mor flodeuog. Ar ei ogwydd yr oedd yn ngogwyddiad dyddiau gweinidogaeth Mr. Harries. Pan fu ef farw nid oedd rhif yr eglwys yn 80. Ni chafodd Mr. Harries iechyd da, oblegid blinid ef gan ddiffyg anadl, yr hwn a gynyrchai beswch poenus, er hyny bu am ddeugain mlynedd namyn dwy yn y Wyddgrug, yn "was da a ffyddlawn," gwastad yn ei holl ffyrdd, heb fod dim rhuthrau na chyrchoedd yn ei fywyd na'i weinidogaeth. Bu farw yn sydyn iawn, yn ei gadair ddwyfraich, ddydd Mercher, Mawrth 23ain, 1864, yn 72 oed. Bu farw fel un yn myned i gysgu heb ymwybod

iddo ei hun a'r rhai a weinyddent arno. Ar y dydd Mawrth canlynol, rhoddwyd ef yn ei fedd a agorasid tua chanol llawr y capel, lle y dymunasai gael gorwedd. Ni welwyd y fath gladdedigaeth yn y Wyddgrug, yr oedd y dref i gyd yn dangos arwyddion galar, ac yr oedd lluaws mawr o frodyr yn y weinidogaeth yn nghyd—oddeutu deg-ar-hugain.

Yn ngwanwyn 1866 rhoddodd yr eglwys hon, yn nghyd a'r eglwysi yn y Llong a Sychtyn, alwad unfrydol i Mr. John Myrddin Thomas, o Gasnewydd-ar-Wysg, swydd Fynwy, a dechreuodd ei weinidogaeth Sabboth, Gorphenaf 15fed, y flwyddyn hono. Yr oedd yr eglwys wedi bod yn ymddiddan am y priodoldeb a'r angenrheidrwydd o wneuthur adgyweiriadau o amgylch ac yn y capel, ac adeiladu ysgoldy y tu cefn iddo. Ymaflwyd yn y gwaith hwnw ar sefydliad Mr. Thomas yma. Yr oedd llawr y capel yn fwy tebyg i lawr ysgubor nag i addoldy. Dynoethwyd ef yn llwyr, a byrddiwyd ef drosto, a gwnaed eisteddleoedd ynddo. Traul yr adgyweiriad oll oedd 500p. Cynaliwyd cyfarfodydd ei agoriad a sefydlwyd Mr. Thomas ar yr un pryd, sef Sabboth a Llun, Rhagfyr 2il a'r 3ydd, 1866. Gwasanaethwyd y Sabboth gan Meistri Rees, Caer; Davies, Llandeilo, a Hughes, Penmain. Boreu Llun, pregethwyd ar Annibyniaeth gan Mr. Pugh, Mostyn; gofynwyd am arwydd o'r undeb gan Mr. Thomas, Rhyl, a phregethwyd i'r gweinidog a'r eglwys gan Dr. Rees, Liverpool; gofynwyd am fendith yr Arglwydd ar yr undeb gan Mr. John Griffith, Buckley. yn y prydnawn a'r hwyr pregethwyd gan Meistri Davies, Hughes a Rees. Yn fuan wedi dyfodiad Mr. Thomas yma parodd ei weinidogaeth gryn gyffro. Adfywiodd yr eglwys drwyddi, ac ychwanegwyd at ei rhifedi, a lluosogodd y gwrandawyr. Wedi cael capel prydferth, a gweinidogaeth newydd sefydlog, gwisgodd yr achos wedd arall, ac aeth pobpeth yn mlaen yn llwyddianus. Ad-drefnwyd y gwahanol swyddogion, a neillduwyd rhai newyddion i'w swyddau priodol. Parhaodd Mr. Thomas i lafurio yma hyd Ionawr, 1872, pryd y dechreuodd rhyw annghydwelediad, ac yn Chwefror rhoddodd rybudd o'i ymadawiad i'r eglwys a'r gynnulleidfa, a chyn diwedd y mis cyfyngodd ei weinidogaeth i'r Llong a Phontybodkin, yr olaf o ba rai a sefydlasai efe ei hun; a hyd yn hyn y mae yr eglwys yma heb sefydlu ar weinidog.

Yn mhlith y ffyddloniaid a berthynent i'r eglwys hon—gwnaem gam a'u coffadwriaeth pe na chrybwyllem eu henwau—yr oedd Thomas Jones, y gwehydd. Arferai gerdded i Wrecsam i'r cymundeb cyn bod achosion yn y Wyddgrug a Buckley; John Powell, garddwr; Peter Lloyd, brawd i Mr. J. Ambrose Lloyd; Robert Jones, llifiwr, brawd-yn-nghyfraith Mr. Williams, Wern; Robert Jones, Waen; William Davies, Maesygroes; John Jones, saneuwr, tad Mr. Richard Jones, Rhuthyn; John Lewis, Sychtyn; Hugh Foulkes, Bryngruffydd; Robert Jones, Buckley; William Parry, Strydnewydd; John Jones, saddler, ond yn benaf John Bell ac Evan Edwards. Yr oedd y ddau olaf yn wŷr o feddion, ac yn gallu rhoddi cymorth tymorol i'r achos, a buont lettygar a haelionus iawn. Yn nhy y blaenaf y llettyai Mr. Harries, ac wedi ei ddydd ef, cedwid y ty gan ei ferch, Mrs. Evans, yr hon, gyda llaw, yw yr unig un sydd yn fyw o'r rhai a arwyddnodasant alwad Mr. Harries. Bu Mr. Edwards yntau yn golofn gref i'r achos ac i'r gweinidog. Yr oedd efe yn ddyn o gryn dalent—ffrwyth yr unrhyw ydyw yr Emynlyfr a gasglodd, ac a arferid yma hyd

yn ddiweddar, ac mewn llawer o eglwysi eraill—ac o ysbryd addfwyn a llonydd. Bu ei farwolaeth yn golled ddirfawr i'r achos ac i'r gweinidog, megis pe collasent y ddeheulaw.

Codwyd y personau canlynol i bregethu yn yr eglwys hon:—

Thomas Adams, Twmpath, Rhydymwyn. Dechreuodd ef bregethu yn y cyfwng rhwng gweinidogaeth Mr. Morris a Mr. Powell. Yr oedd yn dra gobeithiol fel pregethwr, ac o fuchedd ddiargyhoedd. Bu farw y drydedd flwyddyn o'i oed fel pregethwr, a chladdwyd ef yn mynwent y plwyf.

Thomas Edwards. Dechreuodd ef bregethu dan weinidogaeth Mr. R. Williams. Ymfudodd i'r America. Nis gwyddom ddim yn mhellach am dano.

Edward Parry. Yr oedd efe yn frawd i Cain Parry, Ysw., cyfreithiwr. Dechreuodd yntau bregethu yn amser Mr. Williams. Pensaer (*architect*) oedd ef wrth ei gelfyddyd. Bu yn dilyn yr alwedigaeth hono yn Ffraingc, Deheubarth Lloegr, a Llundain. Rhoddodd i fyny bregethu cyn hir, ond y mae etto yn fyw, ac yn aelod parchus yn Rhyl.

David Hughes. Dechreuodd ef bregethu yn Aberystwyth gyda'r Bedyddwyr, i'r hwn enwad y perthynai. Wrth ddilyn ei alwedigaeth daeth yma, a phriododd Elizabeth, chwaer Mr. Richard Jones, Rhuthyn. Ymunodd a'r Annibynwyr yn y Wyddgrug, a bu yma yn bregethwr cynorthwyol am flynyddoedd. Mae yn bresenol yn byw yn Liverpool, ac yn aelod a phregethwr yn Great Mersey-street.

Lewis Everett. Dechreuodd bregethu yn amser Mr. Harries. Mae ef yn bresenol yn aelod yn y Llong, ac yn parhau yn bregethwr cymeradwy iawn yn yr eglwysi.

Thomas Jones. Crydd oedd ef wrth ei alwedigaeth. Dechreuodd bregethu yr un amser a Mr. Everett. Bu farw ddwy flynedd yn ol, a chladdwyd ef yn Llandegla.

T. R. Davies. Derbyniwyd ef yn aelod yma gan Mr. J. Myrddin Thomas. Yma y traddododd ei bregeth gyntaf. Mae yn bresenol yn athrofa y Bala.

Mae Mr. W. T. Thomas (Gwilym Gwenffrwd), yn aelod ac yn bregethwr yn yr eglwys hon er's chwarter canrif, ond yn Nhreffynon y dechreuodd bregethu.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Benjamin Powell. Nid oes genym ddim i'w ychwanegu am dano at yr hyn a ysgrifenwyd yn nglyn a hanes yr achos yn yr Wyddgrug.

Robert Williams. Ganwyd ef yn Pwllheli, sir Gaernarfon. Yn yr eglwys Annibynol yno y derbyniwyd ef yn aelod, ac y dechreuodd bregethu. Derbyniodd ei addysg athrofaol yn Wrecsam, lle y bu am bedair blynedd. Urddwyd ef yn Rhesycae yn Hydref, 1815. Symudodd i'r Wyddgrug oddeutu Nadolig, 18[illegible]0. Nid oedd yn ysgolhaig disglaer, ond yr oedd yn bregethwr melusber, a hynod boblogaidd a chymeradwy. Gwelir ei enw yn aml yn mhlith gweinidogion cymanfaoedd tua dechreu y ganrif hon, yr hyn a brawf ei fod yn ddyn y werin. Dyn bychan o gorpholaeth ac eiddil o gyfansoddiad oedd; bywiog a thra llafurus yn nghyflawniad ei weinidogaeth. Testyn ei bregeth olaf, yr hon a draddododd mewn gwendid mawr pan oedd y darfodedigaeth ar ddadsylfaenu ei babell bridd,

oedd "Wele Oen Duw." Bu yn nychu am bedair-wythnos-ar-ddeg. Yn ei gystudd ymwelwyd ag ef gan ugeiniau o weinidogion a phregethwyr, ac aelodau cyffredin, yr hyn a brofai ei fod yn ddyn hoff ac anwyl. Bu farw Chwefror 17eg, 1824, yn 38 oed, a chladdwyd ef yn Buckley. Cafodd gladdedigaeth barchus. Pregethwyd yn ei angladd yn Buckley gan Mr. Williams, Wern, ar y testyn "Y cyfiawn a obeithia pan fyddo yn marw," ac yn y Wyddgrug y noswaith hono gan Mr. J. Breese, Liverpool, ar y geiriau "Ni ddychwel mwy i'w dŷ."

Isaac Harries. Yn y flwyddyn 1866 cyhoeddwyd Cofiant iddo gan Mr. R. P. Everett (Cefn Bithel), Wyddgrug, cyfansoddedig gan Mr. H. Pugh, Mostyn, yn nghyda rhagdraethawd gan Mr. Everett ei hun, yn cynwys crybwyllion tarawgar a chynwysfawr am dano. Mae y Cofiant gan Mr. Pugh yn adroddiad ddiail-ysgrifell y bawgraphydd, ac yn cynwys llawer mewn ychydig. Cafodd Mr. Pugh fantais neillduol i adnabod Mr. Harries ac i olygu holl linellau ei gymeriad. Cymerwn yr hyfdra i roddi i mewn y byrgofiant gan Mr. Pugh ar ei hyd.

"Ganwyd ef mewn lle a elwir Blaenegwad, yn Llanegwad, swydd Gaerfyrddin. Derbyniwyd ef i gymdeithas eglwysig pan yn ieuangc, yn nghapel Heol Awst, Caerfyrddin, y pryd hwnw o dan ofal gweinidogaethol Mr. David Peter. Yn y flwyddyn 1820 cafodd dderbyniad i mewn i'r athrofa yn Nghaerfyrddin, lle yr oedd Mr. Peter yn athraw. Arosodd yn yr athrofa hyd derfyn y tymor gosodedig, a dygir tystiolaeth am dano gan ei gydfyfyrwyr ei fod yn dilyn ei fyfyrdodau gyda diwydrwydd diball. Nodweddid ef gan hyn trwy ei holl oes; beth bynag yr ymaflai ei law ynddo yr oedd yn ei wneuthur â'i 'holl egni.'

"Yn y flwyddyn 1824 gwahoddwyd ef gan yr eglwys Gynnulleidfaol yn y Wyddgrug i ddyfod ati gan gymeryd ei gofal. Cydsyniodd a'r cais, a neillduwyd ef yn gyhoeddus i waith y weinidogaeth Gorphenaf 20fed, 1825. Daeth ei hybarch athraw, Mr. Peter, i roddi ei wasanaeth ar yr achlysur, gyda deg o weinidogion eraill. Nid oes ond un yn unig, allan o'r un-ar-ddeg, wedi cael ei adael yn weddill gan angau hyd y dydd hwn. Cyn hir ar ol ei sefydliad yn y Wyddgrug, adeiladwyd addoldy eang a hynod gyfleus, yn lle yr adeilad cyfyng ac anmhrydferth yr arferent ymgynnull iddo. Codwyd hefyd ddau o addoldai eraill, o fewn dwy filldir i'r dref, un yr ochr ddeheuol a'r llall yr ochr ogleddol. Cyn ei farwolaeth cafodd y boddlonrwydd o weled dyled yr addoldai hyn wedi ei llwyr ddileu. Teimlai awydd pryderus am hyn, a chyfranai yn haelfrydig a rheolaidd tuag at gyrhaedd yr amcan.

"Nid hir y bu yn nychu yn nghystudd angau. Yr oedd er's blynyddau yn dyoddef gan gaethanadl (*asthma*), a byddai am nosweithiau yn analluog i orwedd mewn gwely; hyny o gwsg a gaffai y prydiau hyny fyddai yn y gadair. Yr oedd yn destyn syndod i'w gyfeillion pa fodd y gallodd ddal i lafurio mor faith ac mor galed. Bu yn alluog i bregethu y Sabboth olaf namyn un cyn ei farwolaeth. Yr oedd yn berffaith ymwybodol ei fod ar ymyl gorphen ei yrfa. Bu farw yn dawel fel un yn syrthio i drymgwsg Ymddiddanai yn siriol a'r cyfeillion oedd gydag ef, a threfnai reolau ei gladdedigaeth. Fel hyn yr hunodd yn esmwyth ar ddydd Mercher, Mawrth 23ain, 1864, yn y deuddegfed-mlwydd-a-thriugain o'i oed, ac yn y deugeinfed mlwydd namyn un o'i weinidogaeth. Ni bu erioed yn briod, a disgynodd i'r bedd heb adael na phlentyn na llyfr o'i eiddo ei hun ar ei ol i'w gadw mewn cof. 'Ystyr y perffaith ac edrych ar yr uniawn, canys

diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd.' Bu ein brawd farw mewn hunanfeddiant perffaith; tawelwch ac nid braw a'i llanwai. Os na ellir dyweyd yn hollol iddo farw yn llawn gorfoledd, gellir dyweyd yn groyw iddo farw yn llawn tangnefedd. Y dydd Mawrth canlynol i'w farwolaeth, rhoddwyd ei gorph i orwedd mewn bedd, yn yr addoldy, ac o fewn ychydig latheni i'r areithfa, yr hon a lanwai am y nifer faith o flynyddau a grybwyllwyd gyda chymeradwyaeth calonau a chydwybodau ei gynnulleidfa. Yr oedd o gylch deg-ar-hugain o weinidogion a phregethwyr yn bresenol ar yr achlysur, a thyrfa o ganoedd lawer, amryw wedi dyfod o bellder mawr. Yr oedd masnachdai y dref wedi eu cau, a goruchwylion cyffredin wedi sefyll, tra y cyfeiriai yr orymdaith alarus tua'r addoldy. Ar hwyr y Sabboth dilynol traddodwyd pregeth ar yr achlysur gan Mr. W. Rees, Liverpool, i gynnulleidfa luosog a hiraethlawn.

"Bu am lawer o flynyddau yn drysorydd Undeb Cynnulleidfaol Flint a Dinbych; a llanwai hefyd am flynyddau lawer y swydd o drysorydd Cymdeithas Genhadol y swyddi hyny. Gan y llanwai ysgrifenydd y llinellau hyn swydd arall gysylltiedig a'r cyfryw, cafodd gryn gyfleusdra i sylwi ar ofal a manylwch Mr. Harries. Yr oedd ynddo ofal a phryder mawr dros fanylwch, trefnusrwydd, prydlondeb, a chywirdeb.

"Bu yn cadw ysgol ddyddiol am nifer faith o flynyddau, a pharhaodd i'w chadw hyd ei ddiwedd. Yr oedd yn ffyddlon a diwyd iawn fel athraw, ac ennillodd ei ysgol gryn enwogrwydd. Yr oedd yn ddiesgeulus gyda'r gorchwyl; dechreuai yn foreu, a daliai ati hyd yn hwyr. Cyrchai iddi blant rhieni parchus o bell ac agos, ac y mae lluaws o'r cyfryw yn bresenol yn troi mewn cylchoedd pwysig. Yr oedd y telerau yn lled uchel, ond nid rhy uchel i gyfateb i'w gwerth. Trwy dalion yr ysgol galluogid ef i foddio tueddfryd haelfrydig ei galon. Yr oedd yn gynil, ond pell iawn oddiwrth fod yn gybyddlyd. Rhoddai i eraill yn aml yr hyn na chymerai iddo ei hun. Cyfranwr hael, ond didrwst iawn ydoedd; ni fynai udganu, ond gwnai ddaioni yn y dirgel. Ymfoddlonodd ar ychydig iawn o gyflog oddiwrth yr eglwys, ac allan o ennillion ei ysgol cyfranai yn hael at bob galwad teilwng. Nid ydym yn ei ganmol nac yn ei feïo am ymfoddloni ar fychander ei gyflog; efe ei hun oedd y cymwysaf i farnu y mater drosto ei hun. Ond dichon iddo trwy hyny wneuthur cam mawr ag ef ei hun, a mwy cam na hyny â'r eglwys o dan ei ofal. Peth chwithig fydd iddi bellach roddi cyflog teilwng i fugail teilwng. Yr oedd efe ei hun ar ei draul ei hun yn cynal llawer ar yr achos yn y Wyddgrug; ac nid oedd ond ychydig yn gofalu am hyny.

"Yr oedd yn ŵr o ysbryd eang a rhyddfrydig. Ni thybiai fod pob gwybodaeth, pob rhinwedd, a phob defnyddioldeb, yn perthyn i Annibyniaeth yn unig. Yr oedd yn bell iawn oddiwrth y meddwl crebychlyd dallbleidiol hyny. Nid felly y dysgodd Grist, ac nid felly y dysgai Grist i eraill. Parchai bawb, a chydweithredai â phawb yn mbob peth da, er mai Annibyniaeth a hoffai benaf.

"Yr oedd ei ddiwiolfrydedd yn ddirodres; ni roddai ffurf annaturiol ar ei wedd nac ar ei leferydd. Siaradai ac edrychai bob amser fel ef ei hun. Siriol ydoedd, ac fel yr ydoedd yr ymddangosai; ïe, pan yn dyoddef poen a chystudd trwm. Llywodraethid ef gan egwyddorion rhinweddol, barn graffus, doethineb ymarferol, daioni didrwst, a chymysgid y cyfan a sirioldeb naturiol, yr hyn a barai i bawb hoffi ei gymdeithas. Dywedai y gwir yn ddigêl, ac ni fynai un amser wyro trwch blewyn oddiwrth wirionedd.

Nid pwysig ganddo ŵg na gwên dyn mewn cydmariaeth i eirwiredd. Gellid rhoddi perffaith ymddiried yn ei air, ac yn ei ffyddlondeb i gadw cyfrinach. Pan y byddai unrhyw amgylchiad yn dygwydd yn galw am sylw, nid sisial yn y dirgel a wnai, ond llefaru yn y wyneb. Ni fynai gynllwyn i gwympo neb o'i fawredd, ond rhoddai gymorth parod i godi pawb teilwng. Yr oedd wedi ymdrwsio oddifewn a gostyngeiddrwydd. Hoffai neillduedd, a chiliai rhag ymwthio i'r amlwg. Efallai ei fod wedi cario yr ysbryd hwn yn rhy bell, ac y buasai yn fwy defnyddiol pe buasai yn dyfod allan i droi mewn cylch eangach o gyhoeddusrwydd. Yr oedd yn gas ganddo bob math o ddringo ac ymgripio i sylw, ac oherwydd hyny ni adwaenid mo hono gan nemawr allan o'i gylch cartrefol.

"Tangnefeddwr ydoedd i'r eithaf; dewisai 'hyd yr oedd ynddo' i fyw mewn heddwch a phob dyn. Yr oedd yn gas gan ei enaid bob cynen a gwag ymryson. Gallai ymladd yn wrol a medrus, ond nid oedd yn dewis gwneuthur hyny. Nid diffyg gallu ond diffyg tuedd oedd yn peri iddo ymgadw rhag brwydrau. Dyoddefai lawer cyn dadweinio ei gledd, ond wedi unwaith iddo wneuthur hyny, gwae y cyndyn a'r gwrthwynebus. Gwyddai pob aelod o'r eglwys mai casbeth ganddo oedd anghydfod, a gwyddent hefyd mai nid diffyg gallu i ymladd oedd yn peri hyny, ond serch cryf a diffuant at dangnefedd. Yr oedd mwy o Ioan nag o Pedr yn ei gymeriad. Yr oedd yn ddiysgog ei benderfyniad ar bob amgylchiad o bwys, a gallai hefyd fod yn ddiysgog i weithio allan ei benderfyniad.

"Nid hoff oedd ganddo ysgrifenu ar unrhyw fater, ac yn wir nid oedd gelfydd gyda'r gorchwyl. Byr ac anaml fyddai ei lythyrau; ond diau fod amlder a phwys ei oruchwylion yn un achos o hyny. Nid llawer o'i bregethau a ysgrifenai yn gyflawn, a byddai yn anhawdd i neb a'u darllena ar bapyr synied yn briodol am yr argraff a wnaent pan eu traddodid o'r areithfa. Lled drwsgl ydoedd i ddodi ei feddyliau mewn ysgrifen; y tafod, ac nid yr ysgrifell, oedd offeryn ei ddefnyddioldeb. Yr oedd ei bregethau bob amser yn syml ac yn eglur, ni cheisiai ddangos chwaeth lenyddol yn eu cyfansoddiad, na chwilfrydedd athronyddol yn eu materion. Eu defnydd gwastadol ydoedd Crist yn ngogoniant ei berson, perffeithrwydd ei aberth, a chyfaddasrwydd ei swyddau. Nid fflach clindarddach drain oedd ei bregethau yn clecian, gwreichioni, a diffodd; ond llewyrch mwynaidd arosol. Yr oedd fel brethyn cartref 'yn gwisgo yn dda.' Nid llawer sydd wedi bod yn gweinidogaethu yn yr un eglwys am ddeugain mlynedd, ac yn ystod yr holl flynyddau hyny yn llettya yn yr un ty a chyda'r un teulu. Nid oedd yn berchen athrylith ysblenydd nac yn ymgais at unrhyw radd o hyawdledd areithyddol, ond er hyny yr oedd y fath eneiniad yn ei weinidogaeth ag oedd yn peri iddo fod yn hynod o gymeradwy. Yr oedd pereiddiwch ei lais, bywiogrwydd ei deimlad, difrifoldeb ei wedd, gyda phriodolder ei sylwadau, yn rhwymo sylw ac yn deffroi calon pob gwrandawr."*

## WYDDGRUG (Saesoneg).

Dechreuwyd yr achos yma yn mis Medi, 1857. Ar ei gychwyniad ystyrid ef yn nglyn a chyfundeb Lady Huntingdon, a defnyddid ffurf-

* Cymerwyd hanes y Wyddgrug o ysgrif Mr. J. M. Thomas, ac ni chawsom hysbysiaeth oddiwrth neb arall.

weddiau yr Eglwys Sefydledig gan Mr. R. S. Short, yr hwn a bregethodd yma gyntaf, ond ar yr 2il o Fai, 1858, ffurfiodd yr aelodau yma eu hunain yn eglwys yn ol y drefn Gynnulleidfaol. Rhoddwyd galwad i Mr. W. Warlow Harry, myfyriwr o New College, Llundain, a mab y diweddar Mr. Nun Morgan Harry, ac urddwyd ef yma Gorphenaf 3ydd, 1859. Llafuriodd yma yn ddiwyd a ffyddlon. Gosodwyd i lawr sylfaen capel newydd Tachwedd 5ed, 1863—oblegid hyd hyny pregethid yn Neuadd y dref, ac agorwyd y capel Awst 25ain, 1864, pryd y pregethwyd gan Dr. Vaughan a Mr. R. W. Dale, M.A. Bu Mr. Harry yma hyd fis Mai, 1868, pryd y derbyniodd alwad o Knutsford, swydd Gaerlleon, a symudodd yno. Yn mis Medi, yr un flwyddyn, daeth Mr. John Trist, o athrofa Annibynol swydd Lancaster, yma, ond ni bu yma ond naw mis, ac er hyny y mae wedi ymneillduo o'r weinidogaeth Annibynol. Rhoddwyd gwahoddiad yn nechreu 1870 i Mr. D. Burford Hooke, yr hwn oedd yn weinidog cynorthwyol yn Over a Norwich, a dechreuodd ei weinidogaeth yma yn Awst, y flwyddyn hono, ac y mae yn parhau yma yn weithgar a llafurus. Yr oedd dyled o yn agos i 800p. yn aros pan sefydlodd Mr. Hooke yma, ond yn nechreu 1872, cychwynwyd ymdrech i'w dileu, ac erbyn Gorphenaf, 1874, yr oedd y gwaith wedi ei wneyd, a chynaliwyd cyfarfodydd o'r 12fed hyd y 15fed o'r mai hwnw i gydlawenhau am eu llwyddiant. Pregethwyd ar yr achlysur gan Meistri P. W. Darnton, B.A., Caerlleon; D. Oliver, Treffynon; E. H. Evans, Caernarfon, a W. W. Harry, Knutsford, ac mew cyfarfod cyhoeddus ar y pryd, dan lywyddiaeth T. Barnes, Ysw, y Cwinta, cyflwynwyd anrheg i'r gweinidog a'i wraig, fel cydnabyddiaeth fechan o'u llafur a'u gwasanaeth.

## BRYN SEION, SYCHTYN.

Saif y capel hwn yn mhlwyf y Wyddgrug, o fewn dwy filldir i'r dref. Achlysurol bregethid yn y gymydogaeth hon am ugain mlynedd cyn codi y capel. Mr. James Morris o Buckley oedd y cyntaf i bregethu yma. Ar ei ol ef ymwelai Mr. J. Saunders, Buckley, a Mr. I. Harries, Wyddgrug, a'r lle. Yn anedd-dai John Rogers, John Jones, y Llusgwr, a Jane Harry y cynhelid moddion gras. Cedwid ysgol Sabbothol a chyfarfod gweddi yma, yn yr anedd-dai uchod. Yn amser Mr. Harries prynwyd darn o dir a chodwyd arno y capel presenol. Adeiladwyd ef yn y flwyddyn 1840, pryd y ffurfiwyd eglwys Annibynol yn y lle gan Mr. Harries. Yn 1866 rhoddodd yr eglwys fechan hon alwad, gyda'r Wyddgrug a'r Llong, i Mr. John Myrddin Thomas, Casnewydd-ar-Wysg. Yn y flwyddyn 1871 adgyweiriwyd y capel a chynaliwyd cyfarfodydd ailagoriadol yn Ionawr, 1872, pryd y gweinyddwyd gan Meistri D. Roberts, Wrecsam, ac R. Thomas, Bangor. Nid yw yr aelodau ond ychydig mewn nifer. Mae yma gynnulleidfa fechan dda iawn, ac ystyried sefyllfa wasgarog a rhifedi y boblogaeth. Daethbwyd o hyd yn ddiweddar i'r apeliad canlynol, yr hwn sydd yn llawysgrifen y diweddar Mr. Harries. Apeliad at y cyhoedd ydyw, yn 1840, ar ran cyfeillion Sychtyn er cael cynorthwy i dalu dyled y capel newydd. Dywed, "Mae gan yr enwad hwn (yr Annibynwyr,) ysgol Sabbothol a phregethu wedi bod ar fynydd Sychtyn er's dros ugain mlynedd. Yn ystod y cyfnod hwnw, gorfodwyd iddynt symud droion o eisiau lle wedi ei godi i'r pwrpas. 'Yr Arglwydd yn rhoddi tystiolaeth i

air ei ras,' daeth yn angenrheidiol adeiladu ysgoldy, traul yr hwn sydd yn cyrhaedd uwchlaw can' punt, er caredigrwydd amaethwyr cymydogaethol a gludasant y defnyddiau yn rhad." Costiodd yr adgyweiriad yn agos can' punt. Ychydig hyd yn hyn o'r ddyled sydd wedi ei thalu, ond oherwydd ffyddlondeb yr ychydig aelodau, gyda dyfalbarhad, dileir y ddyled yn mhen ychydig flynyddoedd.

## SOAR.

Mae y capel hwn yn mhlwyf y Wyddgrug, o fewn tair milldir i'r dref. Dechreuwyd yr achos yma tua'r flwyddyn 1837. Mr. Thomas Ridge, Llangwyfan, a ddeuai yma fynychaf ar y pryd i bregethu, ac efe oedd y gweinidog cyntaf a fu yma. Adeiladwyd y capel yn 1839, a thalwyd yr holl draul, ond adnewyddwyd ef wedi hyny trwy draul o fwy na 80p., ac nid oes ond 33p. o ddyled yn aros. Wedi ymadawiad Mr. Ridge i sir Fon, rhoddwyd galwad i Mr. Robert Thomas, yr hwn a fuasai yn fyfyriwr yn athrofa y Bala, ac urddwyd ef i fod yn weinidog yma ac yn Jerusalem. Bu yma o 1853 hyd 1858, pryd y symudodd i Rosymedre. Yn 1864, rhoddwyd galwad i Mr. James V. Jones, ac urddwyd ef yma yn haf y flwyddyn hono, a bu yma hyd 1867, pryd y symudodd i Seion, gerllaw Treffynon. Mae yr eglwys er hyny heb weinidog sefydlog. Nid yw yr achos yma ond bychan, ond cynhelir yma bob moddion yn rheolaidd.

Codwyd yma un pregethwr o'r enw William Evans, ond ni bu ei dymor ond byr i weithio yn y winllan.

## JERUSALEM.

Mae y lle hwn o fewn llai na phedair milldir i'r Wyddgrug, ac o fewn ychydig gyda dwy filldir i Resycae. Yn fuan wedi sefydliad Mr. Thomas Ridge yn Llangwyfan yn 1835, dechreuodd gyrchu yma i bregethu, a thrwy ei offerynoliaeth ef yn benaf y cychwynwyd yr achos, ac y codwyd y capel yma tua'r flwyddyn 1841. Symudodd Mr. Ridge yma i fyw, a llafuriodd yn ddiwyd yn y lle hyd ei ymadawiad i sir Fon yn 1853. Yn y flwyddyn hono daeth Mr. Robert Thomas yma o Langynog—yr hwn a fuasai yn fyfyriwr yn athrofa y Bala—i gadw ysgol, ac urddwyd ef yn weinidog yma ac yn Soar, a bu yma hyd 1858, pryd y symudodd i Rosymedre. Yn 1864 daeth Mr. James Velendine Jones, yr hwn a fuasai yn fyfyriwr yn athrofa Aberhonddu, yma, ac urddwyd ef yn Soar; ond er ei ymadawiad ef i Seion, gerllaw Treffynon, ni bu yma yr un gweinidog sefydlog. Nid yw yr achos yma ond bychan, er fod yn perthyn iddo rai ffyddloniaid sydd wedi glynu wrtho, ac aros gydag ef yn ei brofedigaethau.

## GWAUNYSGOR.

Yr oedd y lle hwn yn nechreu y ganrif bresenol yn un o'r lleoedd annuwiolaf yn sir Flint. Dygid yn mlaen yma bob campau annuwiol a llygredig hyd yn nod ar ddydd yr Arglwydd. O gylch y flwyddyn 1807 daeth gwraig weddw o'r enw Mary Jones, oedd yn byw yn yr Hafod, i

gyffyrddiad a gweinidogaeth Mr. Jones, Newmarket, ac ymunodd a'r eglwys dan ei ofal. Hon oedd y gyntaf yn y lle i ymuno a'r Annibynwyr. Yn mhen dwy flynedd wedi hyny derbyniwyd ei mab, Thomas Jones, yn aelod, ac o gylch yr un amser dechreuodd Mr. Jones, Newmarket, bregethu yn yr Hafod; a gwahoddodd Thomas Jones, mab yr Hafod, ei gymydogion ato i'w dŷ i gynal ysgol Sabbothol. Aeth y ty yn fuan yn rhy fychan i'r gynnulleidfa a ddeuai yn nghyd, ac am beth amser cafwyd benthyg ysgubor i gynal y moddion. Cyn hir ffurfiwyd yma eglwys, ac un o'r rhai cyntaf a ymunodd a hi oedd Edward Price, yr hwn a fu yn ddiacon ffyddlon tra y bu byw. Gan fod yr ysgubor yn oer yn y gauaf cymerwyd ty helaeth o dan ardreth, a buwyd yno yn pregethu am lawer o flynyddau. Cynorthwyid Meistri Jones gan Mr. Lewis Everett, (tad Dr. Everett); John Hughes, Purgatory; Henry Hughes, Joseph Davies, Edward Williams, a Robert Meredith, pregethwyr a godwyd yn Newmarket, er na chawsom ni eu henwau oll pan anfonwyd i ni hanes yr eglwys hono. Yn y flwyddyn 1829 bu farw Thomas Jones, yr Hafod, gan adael gweddw ac wyth o blant ar ei ol, ond bu rhagluniaeth yn dirion o honynt. Ymunodd saith o honynt ag eglwysi Annibynol mewn gwahanol fanau, ac y mae John, ei fab hynaf, yn byw yn awr yn yr Hafod, ac yn ddiacon yn yr eglwys hon. Adeiladwyd yma gapel yn 1830, ar dir a gymerwyd i'r perwyl gan Mr. Jones, Newmarket, a gwnaed ef yn dŷ cyfleus a thaclus. Galwyd ef Capel yr Orsedd. Amrywiai yr eglwys mewn nifer o 20 i 30, ac y mae y lle wedi bod i raddau yn ansefydlog, am yr ymddibynai yr aelodau, yn benaf, ar waith Dalargoch.

Bu dyled y capel yn faich trwm yn hir, ond dilewyd ef yn llwyr yn nhymor gweinidogaeth Mr. E. Davies (Eta Delta), a thrwy ei ymdrech ef agos yn gwbl. Adgyweiriwyd ef yn ddiweddar, ond talwyd y ddyled ar y pryd. Mewn cysylltiad a Newmarket y mae yr achos yma wedi bod o'i gychwyniad, ac felly y mae yn parhau. Heblaw y rhai a enwyd bu David Williams yn ddiacon ffyddlon yma o'i ddewisiad hyd ei farwolaeth.

Yn 1864 dechreuodd John Roberts bregethu yma, a phregethai agos bob Sabboth yn dra derbyniol yma, ac yn yr eglwysi cylchynol, hyd nes y symudodd i Hanley, lle y mae etto. Mae Mr. R. T. Williams, gynt o Lwyngwril, wedi dyfod i fyw i'r Hafod, trwy ei briodas a merch i Thomas Jones, un o gychwynwyr yr achos, ac y mae yn aelod o'r eglwys yma.

## DYSERTH.

Ochryfoel y gelwir yr ardal uniongyrchol lle y mae y capel, a Horeb y gelwir y capel. Adeiladwyd ef tua'r flwyddyn 1843, yn benaf trwy offerynoliaeth Mr. D. Humphreys, yr hwn ychydig cyn hyny a urddasid yn Rhyddlan. Aeth y gweinidogion cylchynol, y rhai oeddynt yn ddiriedolwyr y capel, yn gyfrifol am y ddyled, a daethant i radd o brofedigaeth yn ngwyn ag ef oblegid fod y gofynwyr yn rhedeg arnynt am yr arian. Bu raid rhanu y ddyled rhyngddynt, ac i bob un wneyd goreu gallai am ei gyfran, a gorfu i rai o honynt dalu swm lled dda o'u cyfran allan o'u llogellau eu hun. Rhoddodd Mr. Humphreys ei weinidogaeth i fyny yma yn 1851, ond bu fyw am flwyddyn ar ol hyny. Rhwng methiant y gwaith ac amddifadrwydd o weinidogaeth gymwys, disgynodd yr achos yma yn isel. Cymerodd Mr. Lewis Everett, Llangwyfan, ei ofal tua'r flwynydd

1853, a daeth i fyw i'r ty yn ymyl y capel, ac adfywiodd yr achos yn fawr o dan ei weinidogaeth gynes a theimladol. Bu yma hyd ei farwolaeth yn nechreu Ebrill, 1863. Yn mhen amser unodd yr eglwys fechan yma a'r eglwys yn Rhuddlan i roddi galwad i Mr. David Williams, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Mai 14eg, 1866, a bu yn ddyfal a ffyddlon, er gwendid a gwaeledd, am yn agos i bum' mlynedd, a symudodd oddiyma i Seion, gerllaw Treffynon, lle y mae etto; ac er hyny y mae yr achos yma yn dibynu ar y weinidogaeth achlysurol. Nid yw yr achos ond bychan a dinerth, ond y mae mewn ardal boblog, a chydag ychydig egni a gweithgarwch, y mae yn ddiau y gellid cael gwedd llawer uwch arno.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL

David Humphreys. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1800, yn agos i Lanrwst. Dygwyd ef i fyny gyda'r Bedyddwyr, yn mysg y rhai y bu yn pregethu am dymor. Ymunodd a'r Annibynwyr, ac wedi bod yn pregethu dros rai blynyddoedd, urddwyd ef yn Rhuddlan yn y flwyddyn 1840. Ymgymerodd ag adeiladu Horeb, Ochryfoel, tua'r flwyddyn 1843, a rhoddodd yr eglwys yn Rhuddlan i fyny, ac mewn cysylltiad ag eglwys Horeb y bu hyd o fewn rhyw flwyddyn i'w farwolaeth. Dyn o gorph gwan ydoedd, er yr ymddangosai yn lled gryf, ac yr oedd o feddwl isel, a thrwy ei oes, gyda theulu lluosog, bu yn ymladd ag amgylchiadau cyfyng. Yr oedd yn ddyn distaw, diniwed, diabsen, a thangnefeddus. Pregethai yn flasus a derbyniol, er nad oedd nerth mawr yn ei weinidogaeth. Gwaelodd ei iechyd yn fawr yn ei flynyddoedd olaf, a bu farw Ebrill 10fed, 1852, yn 52 oed, a gweinyddwyd yn ei gladdedigaeth gan Mr. E. Davies, Newmarket.

Lewis Everett. Ganwyd ef yn Gronant, yn mhlwyf Llanasa, sir Flint, Chwefror 20fed, 1799. Yr oedd ei rieni yn bobl grefyddol perthynol i Newmarket, a'i dad yn bregethwr cynorthwyol parchus trwy ei oes. Teimlodd Mr. Everett argraffiadau crefyddol dwysion ar ei feddwl wrth wrando ei frawd, Mr. Robert Everett, (yn awr Dr. Everett, Stuben, talaeth New York, America), a derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yn mis Mai, 1817. Gan ei fod o dymer ennillgar, ac o ddawn tyner a thoddedig mewn gweddi, anogwyd ef i ddechreu pregethu, ac wedi llafurio dros rai blynyddoedd fel pregethwr cynorthwyol, derbyniodd alwad o Langwyfan, gerllaw Dinbych, ac urddwyd ef yno yn 1831. Wedi llafurio yno gyda chymeradwyaeth mawr am bedair blynedd, derbyniodd alwad o Lanrwst a'r cangenau, a symudodd yno yn 1835, a bu yn dra defnyddiol yno am naw mlynedd. Mwynhaodd yr eglwysi dan ei ofal adfywiad grymus, ac yr oedd cyfaddasder nodedig yn ei ddawn a'i ysbryd at adeg felly. Cyn diwedd 1844, dychwelodd at ei hen gyfeillion yn Llangwyfan, a bu yn ddiwyd yn eu gwasanaethu hwy, yn gystal a'r achos oedd, y pryd hwnw, yn Bodffari. Mwynhaodd Llanelwy hefyd ran o'i lafur. Gwaelodd ei iechyd a llwfrhaodd ei ysbryd yn fawr tua'r flwyddyn 1850, a bu raid iddo gael blwyddyn o orphwys, er mwyn adnewyddiad i'w nerth. Yn 1853, symudodd i fyw i ymyl Horeb, Ochryfoel, a chymerodd ofal yr eglwys fechan yno, a bu ei gofal arno dros weddill ei oes. Yn ngwanwyn y flwyddyn 1863, yr oedd

yn myned trwy ran o sir Flint, pryd y goddiweddwyd ef, yn dra annisgwyliadwy, gan angau. Yr oedd wedi pregethu y Sabboth, ac wedi cyrhaedd ty ei fab yn y Wyddgrug, tarawyd ef gan ergyd o'r parlys, a bu farw Ebrill 1af, 1863, yn 65 oed. Cymerwyd ei gorph i'w gladdu i fynwent Eglwys blwyfol Newmarket—lle claddfa ei deulu—a dangoswyd parch mawr iddo ar ddydd ei gladdedigaeth.

Yr oedd Mr. Everett yn ddyn hardd a glandeg, o dymer addfwyn, ac o ddoniau tra effeithiol, yn enwedig mewn gweddi. Dyn llwfr a phruddaidd ydoedd, a hawdd oedd ganddo ymollwng yn ei ysbryd. Dygodd deulu lluosog o blant i fyny, a gwelodd fyd digon caled yn aml wrth eu magu; ond yr oedd ei galon yn ei waith, a phethau crefydd a'r weinidogaeth oedd ei brif hyfrydwch. Yr oedd yn dderbyniol gan yr holl eglwysi fel pregethwr, ac ar adegau byddai yn cael oedfaon grymus a dylanwadol dros ben. Cofir am dano gyda pharch gan lawer sydd etto yn fyw, ac yn enwedig y mae ei enw yn anwyl gan y rhai a fwynhaodd ei weinidogaeth mewn tymor o ddiwygiad.

## RHYL.

Haner can' mlynedd yn ol rhifid poblogaeth Rhyl wrth y degau, ond yn awr cyrhaedda yn agos i bum' mil, ac ystyrir hi yn un o'r trefydd pryd-ferthaf a phwysicaf yn Nghymru. Saif ar derfyn gogleddol yr ardderchog Ddyffryn Clwyd, ar wastadtir ar lan "y môr mawr llydan." Nid oes gallt o fewn ei therfynau,—mantais a werthfawrogir gan gleifion a phobl drwm a byr eu hanadl. Hynodir y lle hefyd am iachusrwydd ei awyr, ac am ei dywod-draeth dihafal fel mangre i ymdrochwyr i ymlawenhau ac ymddifyru.

O'r dechreuad yr oedd Rhyl yn lle dyddorol i weithrediadau y deyrnas dragywyddol. Ni esgeuluswyd hi ychwaith gan Gristionogion, ac erbyn hyn addurnir ei heolydd ag addoldai gwych, a'i phreswylfeydd, ni a obeithiwn, â chredinwyr disiol. Mor fuan a'r flwyddyn 1839 sefydlwyd achos yr Annibynwyr yma. Mewn ty yn ymyl glan y môr, o'r enw Pen-ygyrten, lle y saif Marine-villa yn awr, y cychwynwyd y gwaith da, trwy offerynoliaeth ac o dan ofal gweinidogaethol Mr. S. S. Davies, yr hwn a ddaethai yma o Rhiwabon; testyn y bregeth gyntaf a draddododd efe yno oedd Zech. iv. 10. Ffurfiwyd yma eglwys yn 1840, a'r aelodau cyntaf oeddynt Mary Whitley a Sarah Vaughan. Yn bur fuan anturiwyd adeiladu capel yn Windsor-street, yr hwn a gostiodd yn nghylch 200p. Yr adeiladydd oedd yr hybarch William Williams, Caemarch, hen gymeriad teilwng a phregethwr hynod. Bu ef a'i wraig yn ffyddlon odiaeth i'r achos. Y maent hwy ill dau etto yn fyw yn Rhyl, mewn gwth o oedran, a gair da iddynt gan bawb o'u cydnabod.

Yn y *Dysgedydd* am Mawrth, 1841, ymddangosodd y dernyn canlynol:—"Ar y 3ydd a'r 4ydd o Chwefror agorwyd addoldy newydd, hardd, a chyfleus yn y Rhyl, swydd Flint. Am 2, y dydd cyntaf, pregethodd Mr. Davies, Bodedeyrn, a Mr. Davies, Penuel, Hope. Am 6, cynaliwyd cyfarfod dirwestol, yr areithwyr oeddynt Evans o Lanelwy; Davies o Bodedeyrn; Davies o Penuel; Hughes o Dreffynon; Rees o Ddinbych; Pugh o Mostyn, a Price o Penybont. Am 7, boreu dranoeth, pregethodd Mr. J. Jones o Lanfyllin. Am 10, Mr. Pugh o Mostyn; Mr. Preace o Wrecsam, (yn

Saesoneg), a Mr. Price o Benybont. Am 2, Mr. Griffiths o Rhydlydan, a Mr. Rees o Ddinbych; ac am 6, Mr. Hughes o Lansantsior, a Mr. Hughes o Dreffynon. Dechreuwyd y gwahanol oedfaon gan Jones o Llanfyllin; Davies o Penuel; Evans o Lanelwy; Davies o Bodedeyrn, a Jones o Nantglyn. Dechreuwyd pregethu yn y Rhyl ychydig fwy na blwyddyn yn ol, ac nid oedd yma y pryd hyny ond un Annibynwr; er hyny, diolch i Dduw, derbyniwyd i'r eglwys y flwyddyn ddiweddaf o 25 i 30. Mewn ty gwag, a gaed yn ddiardreth gan Mr. Preace o Wrecsam, yr oeddym yn pregethu o'r blaen. Teimlwn ddiolchgarwch gwresog i'n brodyr a'n chwiorydd o enwadau eraill am eu caredigrwydd a'r cymhorth a gawsom i ddwyn yn mlaen yr adeilad, yn nghyd a thraul y cyfarfod."

Dyddiau dyfodiad y *railway* i Gymru oedd y dyddiau hyny, ac un o'r pethau cyntaf a ysgubodd ymaith, nid o Rhyl, ond o'r eglwys Annibynol, oedd Mr. Davies, y gweinidog, yr hwn a roddodd ei weinidogaeth i fyny, ac a aeth yn genhadwr ar y ffordd haiarn. Wedi hyny newidiodd ei gredo, o dan argyhoeddiad dwfn yn ddiameu, troes ei wyneb at y Methodistiaid yn gyntaf, ac yn nesaf efe a ymunodd a'r Bedyddwyr, gyda pha enwad yr erys yn ddyfal a chymeradwy hyd y dydd hwn yn y Rhyl. Yr ail weinidog oedd Mr. Thomas B. Morris, a ddaeth yma o'r Rhos—gwr mwyn, a phregethwr poblogaidd, a bardd gwych. Yn ystod ei weinidogaeth ef aeth y babell yn Windsor-street yn rhy fechan, ac yn y flwyddyn 1851, adeiladwyd un helaethach yn Queen-street—un o'r prif heolydd—yr hwn a gostiodd 450p. Mr. Robert Hughes oedd yr adeiladydd—gwr gwybodus, ac aelod selog o'r eglwys. Pregethid Saesneg yn y ddau gapel, ac yn mysg y gweinidogion fuont yma o bryd i bryd yr oedd Dr. Raffles, Liverpool. Yr Annibynwyr godasant yr achos Saesoneg Ymneillduol cyntaf yn Rhyl. Defnyddiwyd y ddau gapel gyda'u gilydd am gryn dymor rhwng y Cymry a'r Saeson. Llwyddodd Mr. Morris yn rhyfedd; ond yn anffodus, digwyddodd amgylchiadau a barasant iddo ymadael, ac aeth yntau at y Bedyddwyr! ac yn olaf, ymfudodd i'r America, lle yr acthai ei ddychymyg yn fuddugoliaethus o'i flaen.* Treuliodd weddill ei oes yn America, fel golygydd *Y Drych*, a phethau eraill, a bu farw yn ddiweddar. Dechreuodd bregethu yn y Ganllwyd, a bu yn athrofa y Bala. Yr oedd yn ddyn ieuangc talentog, a gallasai, ond byw yn dduwiol, fod yn barchus a defnyddiol, ond yn lle hyny gwnaeth long-ddrylliad am ei ffydd, a threuliodd ei oes yn anwastad, fel nad oedd dim amgen i'w ddisgwyl nag i'w ddiwedd fod yn gymylog. Yn nechreu 1854 daeth Mr. A. Francis (Aaron Mochnant), yma o Wrecsam. Llewyrchu fwyfwy a wnaeth yr eglwys a'r gynnulleidfa, yn enwedig y gyfran Saesneg o honi, wedi ei ddyfodiad. Ond och! ymwthiodd y gelyn i fewn yn un o wisgoedd bleiddiaid Twr Babel. Aeth y moddion Saesoneg a Chymraeg i wasgu ar eu gilydd, fel y digwydd bron yn ddieithriad gyda'r fath gysylltiadau "annghydmarus." Anfoddlonai y Cymry i'r Saeson gael mwy o ddefnydd na hwy o'r capel goreu yn Queen-street, a dyna oedd "asgwrn y gynen." Dadleuai cyfeillion yr achos Saesneg mai ganddynt hwy yr oedd yr hawl benaf i'r addoldy, gan mai iddynt hwy yn fwyaf neillduol y cyfodwyd ef, ac atynt hwy yr edrychid fwyaf am dâl am dano. Cynygid neillduo un capel i'r Saeson, a'r capel arall i'r Cymry, ond yr oedd plaid o'r Cymry wedi llwyr ddiflasu ar y cysylltiad, ac ni wnai dim yn y byd eu tawelu ond *dadgysylltiad*. Pen-

* Yr oedd yn gydfuddugol ar y "Llong Ymfudol" yn eisteddfod Rhuddlan.

derfynwyd gwerthu yr hen gapel yn Windsor-street, fel nad oedd bellach ond un capel rhwng y Cymry a'r Saeson. Cafwyd llawer brwydr frwd ar ol hyny gyda golwg ar gario yn mlaen foddion Saesneg yn nghapel Queen-street. Apeliwyd at yr ymddiriedolwyr ac at gyngor o weinidogion, a'r diwedd fu, pa fodd bynag, i Mr. Francis gael y capel un Sabboth wedi ei gloi yn ei erbyn. Gweithred annghristionogol nad oedd dim yn ei chyfreithloni. Ymranodd y bobl; aeth Mr. Francis i'r *Town-hall* i gynal yr achos Saesneg yn benaf, ac yn fuan iawn ar ol y pryd hwnw gadawodd y weinidogaeth Gymreig, ac a ymroddodd yn gyflawn i lafurio yn mysg y Saeson. Dilynwyd ef gan amryw o'r Cymry—pobl wir dda a sylweddol.

Ysigwyd yr achos Cymraeg yn fawr trwy yr hyn a fu, ond ni bu yn hir cyn graddol ymunioni. Derbyniwyd galwad yr eglwys gan Mr. Robert Thomas o Groesoswallt, a bu ef mewn undeb a hi am dair-ar-ddeg o flynyddau. Wedi hyny rhoddodd ei weinidogaeth i fyny yma, ac a ymsefydlodd yn Flint. Ond yn ei amser ef, tua'r flwyddyn 1869, aethpwyd i draul o 300p. i adgyweirio a chyfnewid llawer ar y capel yn Queen-street. Y mae y ddyled hono newydd ei thalu, ac y mae yr eglwys yn gweithio yn rymus i ddileu yr hen ddyled o 300p. Wedi bod am dair blynedd heb weinidog, rhoddwyd galwad unfrydol i Mr. David Roberts, o athrofa y Bala, ac wedi hyny o Brifysgol Glasgow. Urddwyd Mr. Roberts yn weinidog ar yr eglwys ar yr 28ain o Fai, 1874. Dyma yr urddiad cyntaf yn Rhyl, ac am hyny rhoddwn ei hanes yn llawn. Am 6.30. noson y 27ain, dechreuwyd gan Mr. D. C. Evans, (M.), a phregethodd Meistri J. Thomas, Liverpool, a D. Roberts, Wrecsam. Am 9 30, boreu dranoeth, dechreuodd Mr. D. Roberts, Wrecsam; pregethodd Mr. R. Parry (Gwalchmai), Llandudno, ar natur eglwys; gofynwyd yr holiadau i'r gweinidog gan Mr. H. Rees, Caer; offrymwyd yr urdd-weddi gan Mr. E. T. Davies, Abergele; pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. J. Peter, Bala, a therfynwyd trwy anerchiad i'r eglwys gan Mr. R. Thomas, Bala. Am 2, dechreuodd Mr. E. T Davies, Abergele; pregethodd Meistri H. Rees ac R. Parry. Am 6, dechreuodd Mr. W. W. Thomas, Maesglas; pregethodd Meistri E. H. Evans, Caernarfon, ac R. Thomas, Bala. Gobeithir bellach am gynydd a llwyddiant mawr. "Disgwylied Israel wrth yr Arglwydd o'r pryd hwn hyd yn dragywydd." *

## RHYL (SAESNAEG).

Ymadawodd Mr. Francis a Gwrecsam a daeth yma yn nechreu y flwyddyn 1854, er mwyn ei iechyd ag oedd wedi pallu yn llwyr. Yr oedd yma ddau gapel perthynol i'r enwad y pryd hwn. Yr addoldy newydd yn Queen-street i'r Saeson foreu a hwyr yn yr haf, a'r hen gapel i'r Cymry; ond cynyddodd yr eglwys a'r gynnulleidfa i'r fath raddau, nes aeth yr hen gapel yn rhy fychan i'r oedfa Gymraeg y nos. Cynygiodd Mr. Francis fyned a'r gynnulleidfa Saesneg i'r hen gapel y nos, er mwyn i'r Cymry gael addoli yn y capel newydd, a phasiwyd hyny yn unfrydol. Anfoddlonai rhai personau i'r Saeson gael dim ond pregeth y boreu, ac mewn canlyniad i hyn gwerthwyd yr hen gapel. Ond barnai y blaid arall fod uniondeb a dyledswydd yn galw arnynt fyny pregeth Saesneg yn yr hwyr

* Derbyniwyd yr hanes uchod gan mwyaf oddiwrth Mr. Arthur Rowlands, yr hwn sydd yn bregethwr cynorthwyol parchus yn y Rhyl.

yn ystod yr haf, fel arferol, am yr awgrymid yn feunyddiol wrth gasglu oddiar yr ymwelwyr, fod yr addoldy hwnw wedi ei fwriadu iddynt hwy trwy y tymor ymdrochi, fel y tystiai yr ystyllen ar y mur.

Cymerwyd Neuadd y Dref ganddynt i gynal gwasanaeth Saesneg yn yr hwyr, ond yn fuan ar ol hyn, un boreu Sabboth, cauwyd drws addoldy Queen-street yn eu herbyn, fel nad oedd dim i Mr. Francis a'i gyfeillion i'w wneuthur ond ymffurfio yn achos ar wahan. O barth i'w nifer yr oeddynt yn haner yr eglwys, a'r gyfran fwyaf dylanwadol o honi o lawer. Derbyniwyd llythyrau oddiwrth holl weinidogion y ddwy sir yn cefnogi yr anturiaeth, ac yn a daw pob cynorthwy. Yn mhlith y rhai a gauwyd allan, gellir enwi Lewis Lloyd, Ysw., a Mrs. Lloyd, gynt o Danybwlch, Maentwrog, a adwaenid gan bron holl weinidogion yr Annibynwyr yn y Dywysogaeth y pryd hyny, ac a berchid yn fawr; eu dau fab Mr. D. Ll. Lloyd a Mr. W. Lloyd, yr olaf yn awr yn ei fedd, a'r blaenaf yn bresenol o Blasmeini, Festiniog, ac yn un o Ustusiaid Heddwch Meirionydd; Miss Sydney Owen, gynt o eglwys Mr. Jay o Bath; Miss Delahoyde, gynt o Dreffynon; Mr. J. Rhydwen Jones a Mrs. Jones, Mr. R. Oldfield a Miss Oldfield, Mr. J. Roberts, gynt o Rosa, a Mrs. Roberts, Misses Elizabeth, Rachel, a Mary Roberts, Mr. D. Ll. Lewis, Mr. a Mrs. Ridge, ac eraill. Digwyddodd yn dra hynod y boreu Sabboth dan sylw i Mr. Francis dderbyn galwad oddiwrth eglwys yn Lloegr, a bu mewn cryn betrusder pa fodd i ymddwyn dan yr amgylchiad. Tebyg yw mai cydsynio a wnaethai oni buasai i'w gyfeillion erfyn yn daer arno aros, gan dystio na allasent fyth fyned yn ol i addoli i Queen-street. Ar yr un adeg daeth cais taer ato i ymuno a'r Eglwys Wladwriaethol oddiwrth un ag yr oedd ganddo fywioliaeth eglwysig wag i'w chyflwyno, gan ddeisyf ar Mr. Francis ei derbyn, a sicrhai y buasai Esgob yn ngogleddbarth Lloegr, cyfaill personol iddo ef ei hun, yn ei ordeinio yn ddioed. Ond teimlodd mai ei ddyledswydd oedd aros i sefydlu achos Saesneg yn Rhyl. Bu yn pregethu Cymraeg am yn agos i ddwy flynedd yn yr *Assembly-room*, a'r achos yn llwyddo, ond ar ol adeiladu capel Water-street daeth yr eglwys i benderfyniad i roddi fyny y Gymraeg, a chydag un neu ddau o eithriadau, arosodd y Cymry yn gyfan gyda'r Saeson. Digwyddodd y prydhwn i dir y diweddar J. Williams, Ysw., o Bronwylfa, aelod seneddol gynt dros Macclesfield, ddyfod ar werth yn Water-street, un o'r heolydd mwyaf llydan ac agored yn y dref, ac ar gais y cyfeillion prynodd Mr. L. Lloyd ef am 2s. a 6c. y llath, yr oll yn rhyddfeddiant, ac yn mhen y dau fis ar ol hyn gwerthodd ei haner am 5s., a thrwy hyny cafwyd y tir ar ba un y saif yr addoldy am ddim. Y mae yr adeilad yn yr arddull Lombardic, yn un o'r rhai rhataf a wnaed erioed, ac yn cael ei edmygu yn gyffredinol. Perthyna iddo loft organ a *vestry*, clochdy 80 troedfedd o uchder, ac ysgoldy odditanodd ar hyd y capel; ac ni chostiodd yr oll ond 1,300p. Trwy ymdrech ddygn Miss Sydney Owen, Mr. Lloyd, a'r cyfeillion eraill, cafwyd 600p., cynyrchiant y *Bazaars*, a 200p. oddiwrth Gymdeithas Adeiladu Llundain, talwyd y ddyled yn fuan iawn. Agorwyd yr addoldy yn Gorphenaf, 1858, a phregethwyd ar yr achlysur gan Dr. Raffles, Liverpool; Dr. McKerrow, Manchester; Dr. Alliott, Spring Hill College, a Mr. T. Aveling, Llundain. Y mae erbyn heddyw achos Saesneg cryf a llewyrchus yn Rhyl ag sydd yn awgrym cysurlawn i'r cyfeillion a gawsant fod yn offerynau i'w godi, mai da ydyw dyoddef a dyfalbarhau, i droedio yr hyn a fernir i'w llwybr dyledswydd, ac mai "yn ei iawn bryd y medwn oni ddiffygiwn."

## LLANELWY.

Tref fechan Eglwysig, lle y mae eisteddle yr Esgob, a holl ddylanwad yr Eglwys Wladol, yw Llanelwy, ac felly yn dra anffafriol i lwyddiant Ymneillduaeth. Cangen o Waungoleugoed y cyfrifir yr eglwys, a dechreuwyd yma yn fuan wedi codi y capel yno. Y dyddiad cyntaf sydd ar gael am ddechreuad yr achos yma ydyw Medi 1af, 1816. John ac Elizabeth Jones, Penyrentri, fel y gelwid hwy—tad a mam Mr. Thomas Jones, pregethwr cynorthwyol sydd yn awr yn yr eglwys yma—oedd cychwynwyr yr achos hwn, a hwy fyddai yn derbyn pawb a ddeuai heibio i bregethu am y blynyddoedd cyntaf, a hyny heb unrhyw gydnabyddiaeth. John Jones hefyd fyddai yn arwain y canu, ac yn blaenori yn y cyfeillachau crefyddol, a bu ei lafur yn fawr, ac y mae ei goffadwriaeth yn barchus. Mewn ystafell eang yn y Strydisaf y cyfarfyddent i addoli. Yn 1826, daeth Mr. Jonah Lloyd, myfyriwr o athrofa Drefnewydd, yma, ac urddwyd ef y flwyddyn ganlynol. Dywedir nad oedd yma ond 8 o aelodau ar ei ddyfodiad i'r lle. Yn 1828 adeiladwyd yma gapel, ac agorwyd ef y Pasg 1829, ac wedi cael capel newydd a gweinidog, aeth pethau yn mlaen yn dralewyrchus. Cynyddodd y gynnulleidfa a'r eglwys, a daeth yma ysgol Sabbothol flodeuog. Bu Mr. Lloyd yma hyd y flwyddyn 1839, pryd, oherwydd rhyw oerfelgarwch rhyngddo a rhai o'r aelodau, y rhoddodd yr eglwys i fyny, er iddo am rai blynyddoedd ar ol hyny barhau ei gysylltiad a'r Waun. Bu Mr. Grey Evans yma am beth amser ar ol hyny, ond derbyniodd alwad o Pennal, ac ymsefydlodd yno, lle yr urddwyd ef. Cymerodd Mr. David Hughes ofal yr eglwys yn 1843, mewn cysylltiad a Llansantsior a Moelfra, a bu am ysbaid yn weinidog yma ar ol rhoddi yr eglwysi hyny i fyny, hyd 1846, pryd y symudodd i Manchester, a bu y tymor hwnw yn un llewyrchus ar yr achos. Bu Mr. Lewis Everett wedi hyny yn gofalu yn rhanol am yr eglwys dros rai blynyddoedd. Yn nechreu y flwyddyn 1863, rhoddwyd galwad i Mr. John Williams, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma, a bu yn barchus a derbyniol yn y lle hyd fis Mawrth, 1865, pryd y symudodd i Maentwrog. Yn ystod gweinidogaeth Mr. Williams adgyweiriwyd ac ad-drefnwyd y capel, trwy draul o fwy na 60p., fel y mae yn awr yn gapel tra chyfleus. Ar y 1af o Ionawr, 1868, dechreuodd Mr. William Griffith, myfyriwr o athrofa y Bala, ei weinidogaeth yma, ac urddwyd ef y 18fed o'r Chwefror canlynol, a bu yma yn barchus a defnyddiol hyd y Sabboth olaf yn Chwefror, 1870, pryd y symudodd i Newmarket, ac er hyny nid oes yma yr un gweinidog wedi sefydlu. Cyfodwyd y personau canlynol i bregethu yn yr eglwys hon:—

Thomas Hughes. Ymadawodd at y Wesleyaid, ac aeth wedi hyny at y Methodistiaid Calfinaidd, ond y mae yn awr wedi dychwelyd i'r eglwys hon.

Thomas Jones. Dechreuodd bregethu yn 1851, ac y mae yn parhau yma yn bregethwr derbyniol a pharchus.

Richard Roberts. Dechreuodd bregethu yn 1873.

Hugh Roberts. Dechreuodd ef bregethu gyda'r Wesleyaid, ond yn 1873, derbyniwyd ef i'r eglwys hon.

## WAUNGOLEUGOED.

Dechreuwyd yr achos yma yn benaf trwy lafur Mr. T. Powell, Dinbych. Digwyddodd fod John Jones, Waun, yn myned heibio y Rosa, pryd y

gofynodd Mrs. Roberts iddo, ai ni wyddai am un lle ar y Waun lle y gallent bregethu? Dywedodd yntau y caent bregethu yn ei ysgubor ef, ac felly fu. Daliodd Mr. Powell ar y cynyg, a buwyd yn pregethu yno dros amryw flynyddoedd. Rhoddodd y dywededig John Jones dir i adeiladu capel arno, ac er na bu erioed yn aelod, etto bu yn noddwr caredig i'r achos. Codwyd y capel yn 1815, ond pan ar ganol adeiladu y capel symudodd Mr. Powell o Ddinbych, yr hyn a fu yn gryn brofedigaeth i'r achos yma yn ei gychwyniad. Yn fuan wedi hyny dechreuodd Mr. William Jones, un o'r aelodau, bregethu, a chyn hir urddwyd ef yn weinidog yma, a bu yn llafurio dros dymor gyda chymeradwyaeth mawr, ond darfu ei gysylltiad a'r eglwys, a symudodd i Flint i fyw, a pharodd yr hyn a achlysurodd ei ymadawiad drallod nid bychan i'r eglwys. Mae yr achos er hyny wedi bod yn nglyn a Llanelwy, ac o dan yr un weinidogaeth. Ni bu yr achos yma erioed yn gryf, ond gwelodd rai adegau isel iawn. Coffeir yn barchus am ffyddlondeb John Lloyd, Pen-isa'r-waun; Owen Owens, Penyparc, ac eraill. Bu pregethwyr Dinbych yn ffyddlawn iawn i'r achos yma yn ei gychwyniad.

## RHUDDLAN.

Dechreuwyd pregethu yma yn y *Banquet-house* gan Mr. Jonah Lloyd, Llanelwy, yn y flwyddyn 1831. Corpholwyd yma yn fuan eglwys o wyth o aelodau. Adeiladwyd yma gapel yn 1835, yr hwn a alwyd yn Gosen, a bu Mr. Lloyd yn gofalu am yr eglwys yma am naw mlynedd. Bu Meistri John Hughes (Ieuan o Leyn), a Thomas Jones, wedi hyny o Aberaman, yma yn cadw ysgol yn olynol o'r blynyddoedd 1837 hyd 1839, a buont o lawer o gymorth i'r achos. Yn 1840, cymerodd Mr. David Humphreys ofal yr eglwys yma. Yr oedd ef wedi bod yn weinidog gyda'r Bedyddwyr, ond wedi eu gadael ac ymuno a'r Annibynwyr yn Newmarket. Bu yma dros amryw flynyddoedd, ond rhoddodd y gofal yma i fyny yn mhell cyn ei farwolaeth, gan gyfyngu ei lafur i Horeb, Ochryfoel. Ni bu yma yr un gweinidog sefydlog ar ol hyn hyd 1854, pryd y cymerodd Mr. Aaron Francis ofal yr achos mewn cysylltiad a Rhyl, a bu ei lafur yma yn dra derbyniol. Bu Mr. William Rees, wedi hyny o Aberllefeni, yma yn cadw ysgol yn nechreuad gweinidogaeth Mr. Francis yn y lle, a bu o wasanaeth mawr. Gan fod y gwasanaeth Saesnaeg yn y Rhyl yn gofyn ei holl amser, bu raid i Mr. Francis roddi y lle i fyny. Yn nechreu y flwyddyn 1866 rhoddwyd galwad i Mr. David Williams, myfyriwr o athrofa y Bala, a dechreuodd ar ei weinidogaeth yma Mawrth 4ydd, y flwyddyn hono, ac urddwyd ef y 14eg o'r Mai canlynol, a llafuriodd yma am yn agos i chwe' blynedd, ac y mae yn awr yn Seion, gerllaw Treffynon, ac er hyny y mae yr eglwys fechan hon heb sefydlu ar weinidog.

## BANGOR-IS-Y-COED.

Mae hwn yn lle o ddyddordeb mawr i'r hynafiaethydd, ond nid oes yma ond ychydig i'r hanesydd Ymneillduol. Daeth Mr. Isaac Pickering, myfyriwr o'r Drefnewydd, yma tua'r flwyddyn 1830, a dechreuodd gadw ysgol a phregethu yn y lle, ac urddwyd ef, er nad oedd yma yr un eglwys wedi ei ffurfio. Cododd gapel bychan ar ei draul ei hun, a phregethodd

ynddo am ddeugain mlynedd, ond ni bu yma erioed gymundeb, ac nid oes genym brawf fod yma gymaint ag un aelod wedi ei ennill dros ysbaid yr holl amser. Yr oedd Mr. Pickering yn ddyn da, o gymeriad diargyhoedd, ond pur hwyrdrwm ei ddawn fel pregethwr. Aelod gwreiddiol ydoedd o Lanarmon, ac yno y dechreuodd bregethu, ac wedi treulio ei amser yn athrofa Drefnewydd, ymsefydlodd yn yr ardal yma, lle y bu dros ei holl oes. Cadwai fasnach, ar yr hon yr ymddibynai am ei fywioliaeth, ac er ei farwolaeth yn 1873, y mae y capel heb wasanaeth ynddo. Eiddo ei ferch ydyw yn awr, ond byddai yn foddlawn iddo gael ei ddefnyddio i bregethu ynddo fel cynt, ond nid ymddengys fod neb yn barod i gymeryd ei ofal. Saesonig hollol yw yr holl wlad, ac at gyfundeb Annibynol sir Amwythig y dylid apelio am ymgeledd iddo. Gresyn fod cymydogaeth y bu pregethu ynddi cyhyd wedi ei cholli i'r enwad. Mae y Methodistiaid Calfinaidd wedi codi capel yma, ac y mae ganddynt weinidog yn y lle yn gweithio yn egniol; ond gan na wnaed yma un ymgais i ffurfio eglwys, y mae yr achos Annibynol ar ol mwy na deugain mlynedd o bregethu lled gyson, gystal a bod wedi diflanu. Ffaith flin i'w choffau, ond nis gallem ei hysgoi; ac oddieithr i ryw adgychwyniad gymeryd lle, ofer hollol fydd parhau enw Bangor-is-y-coed ar ein Blwydd-lyfrau.

---

Nid oes genym ond ychydig i'w ychwanegu at hanes eglwysi y sir hon. Gwelir fod yma 33 o eglwysi, ac o'r cyfryw y mae 6 yn Saesnig. Am yr eglwysi Cymreig, y mae cryn nifer o honynt yn fychain a gweiniaid, ond y mae yma ychydig nifer o eglwysi lluosog a chryfion. Bu y gymysgedd o Gymraeg a Saesneg yn anfantais i amryw o'r eglwysi hynaf, ac yn peri na chawsant afael gryfach ar eu hardaloedd. Mae yn amlwg oddiwrth hanes lluaws o eglwysi yn ein gwlad nad yw y ddwy iaith yn cytuno yn dda yn yr un gynnulleidfa, ac mai methiant fel rheol ydyw cynyg eu parhau yn yr un capel, er ar wahanol amserau. Yr ydym wedi gweled yn hanes sir Flint fwy nag un engraifft o'r anghydfod a gynyrchwyd wrth geisio dwyn yn mlaen y gwasanaeth yn y ddwy iaith o dan yr un gronglwyd. Nid oes dim yn eglurach nad un o ddyledswyddau cyntaf ein heglwysi, mewn llawer iawn o barthau o'n gwlad, ydyw sefydlu achosion Saesnig, ar gyfer y dyfodiaid a'r dyeithriaid sydd yn ymsefydlu yn ein plith, yn gystal ag ar gyfer y traws-newidiad sydd mewn llawer o ardaloedd o'r Gymraeg i'r Saesneg, ac yr ydym yn credu ei bod yn ddyledswydd llawer pwysicach i ddarparu ar gyfer y Saeson sydd yn dyfod i sefydlu yn arosol yn ein gwlad, nag ar gyfer yr ymwelwyr sydd yn dyfod am ychydig o'u lleoedd arferol, er, o bosibl, mai yr olaf sydd yn talu yn oreu yn arianol. Ar gyfer y bobl sydd yn dyfod i sefydlu ac aros yn ein plith y dylid darparu yn benaf, ac yn sicr oni ddarperir iddynt foddion yn eu hiaith eu hunain er eu crefyddoli hwy, y mae eu harferion estronol hwy yn sicr o lygru ein cenedl. Ond er ein bod yn dyweyd hyn, etto credwn mai ar wahan y gweithia y ddwy iaith oreu.

Parodd yr anghydfod a fu yn un o eglwysi y sir hon er's pymthengmlynedd-ar-hugain yn ol lawer o ddrwg-deimlad, a bu am dymor yn achlysur i ddyeithrio gweinidogion ac eglwysi oddiwrth eu gilydd, ac er fod hyny bellach wedi myned heibio, a'r rhwyg wedi ei gyfanu, a theimladau wedi eu hiachau, etto nis gallasai fyned heibio heb i grefydd ddyoddef yn fawr ar y pryd, ac y mae yn anhawdd gwybod pa mor bell y cyrhaeddodd ei ddylanwad. Un o'r pethau hawddaf ydyw taflu eglwys neu gyfundeb i annghysur mawr. Gall un dyn annoeth a chyndyn wneyd hyny mewn ychydig funydau, ond cymer amser hir i iachau y teimladau er holl bwyll a hunanymwadiad y dynion goreu. Mae mwy nag un engraifft yn hanes eglwysi Annibynol o ddynion cyndyn ac ystyfnig, dan gochl egwyddor a chydwybod, yn anrheithio rhai o winllanoedd prydferthaf crefydd yn ein gwlad; ac yn ol dysgeidiaeth Mab Duw, buasai yn well ar ddydd urddiad ambell un o honynt i roddi "maen melin am ei wddf, a'i foddi yn eigion y mor," nag iddo ymsefydlu mewn ardal i hau hadau cynen ac ymryson, nes lladd ysbryd y dynion goreu, meithrin hyfdra yn ngwehilion yr eglwys, amlhau gwrthgilwyr yn y wlad, caledu annuwiolion, a rhoddi achlysur i elynion yr Arglwydd gablu. Cymer genhedlaethau i gwbl wellhau y teimladau drwg a gynyrchwyd yn unig gan ystyfnigrwydd—a gamenwid yn gydwybodolrwydd—ambell weinidog hunanol ac uchelgeisiol; ac y mae yn amheus genym a ddaw rhai eglwysi byth—o leiaf cyn y milflwyddiant—y peth y gwelwyd hwy cyn eu anrheithio gan ymrysonau ac ymbleidiau. Nid ydym yma yn cyfeirio yn uniongyrchol at sir Flint, ond yn unig i ni gael ein harwain i wneyd y sylwadau uchod wrth gyfeirio at y blinder gafodd y sir hon oblegid cynen ac ymryson.

Mae yma rai achosion bychain gweiniaid, ac yn parhau o dan anfantais o ddiffyg gweinidogaeth gyson, ac nid yw y weinidogaeth a geir bob amser y fwyaf deniadol; ond ar hyn o bryd y mae gweinidogaethau cryfaf y sir wedi eu cyflenwi yn well nag arferol, fel y gellid disgwyl i'r rhai cryfion gynorthwyo y gweiniaid, ac yn wir, hyd y deallasom, y maent bob amser wedi bod yn barod i wneyd hyny. Mwynhaodd yr eglwysi yn y sir ar amserau ddiwygiadau grymus a nerthol, ac yn yr adegau hyny nid oedd y teimladau yn ymgodi yn uwch yn un man. Nid anghofir gan lawer tra y byddont byw yr awelon grymus a brofwyd yn 1839 a 1840, ac yn mhen ugain mlynedd wedi hyny, yr oedd y gweithrediadau achubol fel "gwynt nerthol yn rhuthro." Adgofir am yr amser hwnw fel "blynyddoedd deheulaw y Goruchaf," ac y mae y rhai a brofodd "yr addfed ffrwyth cyntaf" yn hiraethlawn am "weled ei nerth a'i ogoniant, fel eu gwelsant yn y cysegr."

# SIR FRYCHEINIOG.

Terfynir y sir hon ar y dwyrain gan siroedd Maesyfed, Henffordd, a Mynwy; ar y de gan Fynwy a Morganwg; ar y gorllewin gan Forganwg a Chaerfyrddin, ac ar y gogledd gan Aberteifi a Maesyfed. Ei harwynebedd yw 460,150 o erwau, a'i phoblogaeth yn 1871 oedd 59,904. Mae llawer iawn o'r sir hon yn fynyddoedd anniwylliedig, nad ydynt yn dda i ddim ond at borthi defaid a cheffylau bychain. Er fod y rhan fwyaf o'r tir yn fynyddoedd, y mae llawer o ddaear frâs a gwerthfawr iawn gyda glanau yr Wy a'r Wysg. Nid oes dyffrynoedd harddach na'r rhai hyn yn y Dywysogaeth. Ar amaethyddiaeth yr ymddibyna y rhan fwyaf o'r trigolion, ond gan fod ychydig o gŵr gogleddol gwely glo Deheudir Cymru yn dyfod i mewn i derfynau deheuol y sir, y mae rhai miloedd o lowyr ar y terfynau o Lanelli, Brycheiniog, i Gwmtwrch ar derfynau siroedd Morganwg a Chaerfyrddin.

Mae Ymneillduaeth wedi cychwyn yn y sir hon oddiar y flwyddyn 1640, os nad cyn hyny, ac yn nhymor y Werin-lywodraeth a theyrnasiad Siarl II. a Iago II., yr oedd yma beth dirfawr o Ymneillduwyr, ac amryw o honynt yn troi mewn cylchoedd uchel iawn mewn cymdeithas. Mae yn y sir hon yn awr bump o eglwysi Annibynol a gasglwyd ac a gorpholwyd gan y tadau Anghydffurfiol, wedi parhau yn gymdeithasau crefyddol hyd y dydd hwn, ac wedi ymganghenu i wahanol ardaloedd, fel y mae yma yn bresenol ddeunaw-ar-hugain o eglwysi Annibynol, a phump-ar-hugain o weinidogion. Nid oes gan un enwad o Ymneillduwyr gynnulleidfaoedd lluosog iawn yn y sir hon, oddieithr ychydig o'r cynnulleidfaoedd sydd ar gyffiniau siroedd Mynwy a Morganwg, ac yn perthyn i gyfundebau y siroedd hyny. Yr Annibynwyr yw yr enwad hynaf a lluosocaf yma, ond y mae y Bedyddwyr a'r Methodistiaid Calfinaidd yn dyfod yn lled agos atynt. Er fod Ymneillduaeth yn hen iawn, agos trwy yr holl sir, nid yw wedi cymeryd cymaint o afael yn y trigolion yma, oddieithr mewn rhai ardaloedd, ag y mae wedi wneyd yn mhob sir arall o Gymru, oddigerth Maesyfed.

Mae un peth yn deilwng o sylw neillduol gyda golwg ar y sir hon, sef na ddarfu i gymaint ag un o'r hen eglwysi yma gael ei llygru gan Arminiaeth ac Ariaeth y rhai a wnaethant gymaint o ddifrod yn y rhan fwyaf o'r eglwysi yn y siroedd eraill yn y ganrif ddiweddaf.

## TREDWSTAN.

Mae y capel henafol hwn, yr hwn yn ddiau yw yr hynaf yn y sir, os nad yn Nghymru, o fewn milldir i Dalgarth, ac o fewn llai na haner milldir i Drefecca, hen gartrefle Howell Harries. Yr oedd yr Ymneillduwyr yn lluosog iawn yn y parth hwn yn amser y Werin-lywodraeth, ac er ffyrniced yr erledigaeth, yr oedd yn 1673, yn ol tystiolaeth Jones, hanesydd Brycheiniog, 80 o Ymneillduwyr proffesedig yn mhlwyf Talgarth; 33 yn mhlwyf Llangors; 5 yn mhlwyf Bronllys; 2 yn mhlwyf Llanfillo; 4 yn mhlwyf Llangors-tal-y-llyn, ac 8 yn mhlwyf Llanigon. Mae Tredwstan yn sefyll yn y canol rhwng y plwyfydd hyn, ac o fewn ychydig ffordd i bob un o honynt. Yr oedd rhai o'r Ymneillduwyr hyn yn Fedyddwyr, ond Annibynwyr oedd y rhan fwyaf o lawer o honynt. Yn yr amser hwnw byddai y Bedyddwyr, gydag ychydig eithriadau, yn cydgymuno a'r Annibynwyr. "Eglwys Llanigon" y gelwid yr eglwys Ymneillduol yn y parth hwn y pryd hwnw, am mai yn mhlwyf Llanigon yr oedd prif le eu cynnulliad, ond yr oedd ganddynt ddegau o leoedd lle yr addolent yn ddirgel trwy yr holl sir, a thu allan i'r sir yn Merthyr Tydfil, yn Morganwg, a Chefnarthen, yn sir Gaerfyrddin. Un eglwys yr ystyrid y cangenau oll. Yn 1672, cymerodd David Williams, Talgarth, drwydded i fod yn bregethwr Annibynol, a thrwyddedwyd ty William Watkins yn Nhalgarth at addoli ynddo yr un diwrnod, sef Medi 30ain, 1672. Yn Awst, 1672, talodd Mr. Henry Maurice ymweliad a'r lle hwn a phregethodd yn Nhalgarth Awst 7fed, oddiwrth Ezec. xvi. 6, lle y cafodd oedfa hwylus iawn. Yn fuan wedi hyny gwahoddwyd ef gan y bobl i ymsefydlu yn eu plith fel gweinidog, a'r hyn y cydsyniodd. Yr amser hwnw yr oedd yma amryw bersonau dylanwadol fel gwladwyr, yn gystal a Christionogion, yn aelodau o'r eglwys, ac yr oedd David Williams, Henry Williams, Richard Jones, William Howell, a Lewis Prytherch yn bregethwyr, a chan fod yr eglwys mor wasgaredig, ac yn addoli mewn cynifer o wahanol fanau, yr oedd galwad cyson am wasanaeth pob un o honynt. Bu yr eglwys fawr a gwasgaredig hon dan ofal Mr. Maurice hyd ei farwolaeth yn 1682. Cymerwyd ei le ef fel prif weinidog yr eglwys gan Mr. Rees Prytherch, Ystradwalter, gerllaw Llanymddyfri. Bu ef yn ymweled a'r gwahanol fanau lle yr ymgynnullai cangenau o'r eglwys unwaith bob tri mis, ac yn aml yn fynychach, hyd ei farwolaeth yn 1699. Yn nhymor yr erledigaeth, o 1662 yn mlaen, mewn anedd-dai yn ddirgel y cyfarfyddid i addoli, ond am ranau o 1672 a 1673, pryd y caniatawyd ychydig ryddid i'r Ymneillduwyr. Dywed Mr. Josuah Thomas, Hanesydd y Bedyddwyr, yr hwn a ddaeth i fyw i'r ardal hon yn 1746, iddo ef glywed gan hen bobl y byddid yn arfer addoli yn amser yr erledigaeth yn Mhwllywrach, Pontybat, y Drain, Aberllynfi, a lleoedd eraill, ac weithiau ymgynnullid ar yr eira mawr i Goedyfyngles, er mwyn ymguddio rhag y gelynion. Dywed hefyd fel y canlyn:—"Yr oedd gwr yn y gymydogaeth yn erlidiwr creulon, ac yn uchel-faer *(high constable)*; felly yn ol ei swydd yr oedd ganddo fwy o le i flino y bobl. Yr oedd yn aros flwyddyn ar ol y llall yn ei swydd er mwyn cael gwell cyfleusdra i erlid. Ond wedi hyny aeth yn ol yn y byd, a daeth arno eisiau bara, fel y gorfu arno gardotta ei fwyd o dŷ i dŷ, ac o'r diwedd bu farw allan yn yr awyr agored wrth fyned o fan i fan i gardotta. Daeth llawer o farnedigaethau ar yr erlidwyr yr amser

hwnw. Cefais i yr hanes hyn gan Mrs. Davies, Llwyncynog. Pan oedd hi yn blentyn yr oedd yn adnabod y gwr, canys nodesid ef allan iddi fel un fuasai gynt yn erlid ei mam am ei chrefydd."*

Yn 1687 cyhoeddodd Iago II. ryddid i'r Ymneillduwyr, er mwyn cael rhyddid i'r Pabyddion, un o ba rai oedd y brenhin ei hun yn ddirgel. Edrychai yr Ymneillduwyr mwyaf goleuedig yn Llundain, a phrif drefydd y deyrnas, ar y rhyddid hwn gydag amheuaeth mawr, am iddo gael ei ganiatau gan y brenin heb awdurdod y senedd, ac i'r dyben yn benaf o roddi mantais i'r Pabyddion, ac am hyny ni chymerasant drwyddedau at gynal moddion cyhoeddus; ond mewn ychydig fanau yn y wlad, lle nad oedd dull afreolaidd y brenhin o roddi y rhyddid, a'i amcan dichellgar wrth hyny, yn adnabyddus. Daliwyd ar y fantais yn ddiolchgar gan rai o'r Ymneillduwyr erlidiedig yn y rhanau gwledig o'r deyrnas, ac yn mysg eraill gan y bobl o gylch Talgarth. Credent hwy fod ganddynt ryddid diogel, ac felly adeiladasant addoldy Tredwstan yn y flwyddyn 1687. Ni chawsent fwynhau eu haddoldy newydd yn hir pe buasai Iago yn parhau yn frenhin, ond trwy diriondeb Rhagluniaeth ffodd y brenhin Pabyddol o'r wlad yn 1688, a daeth Deddf Goddefiad i rym yn 1689, ac felly cafodd pobl Tredwstan fwynhau eu haddoldy newydd. Yn y ty hwn bu y gynnulleidfa yn addoli hyd y flwyddyn 1805, pryd y dechreuwyd adeiladu yr addoldy presenol. Yn amser adeiladiad y capel cyntaf yr oedd saer melinau, o'r enw Richard Pugh, yn aelod o'r eglwys hon, ac yn ychydig o brydydd. Pan gafwyd y rhyddid gan Iago II., cyfansoddodd ef gân o ddiolchgarwch, yr hon a gyhoeddwyd ar y pryd, ac a ailgyhoeddwyd yn *Hanes y Bedyddwyr* yn 1778. Gan fod y gân hon yn gosod allan yn darawiadol ddyoddefiadau Ymneillduwyr y parth hwn o 1662 hyd 1687, rhoddwn yma y difyniadau canlynol o honi:—

"Duw'r diddanwch, rhoddwr heddwch, pob dedwyddwch dawn a gras,
Doeth anfeidrol, anfesurol, pwy all chwilio'i waith i ma's;
Mewn cyfyngder rhydd eangder, Cymru a Lloegr wyddant hyn,
Pwy er's dyddiau a debyg'sai y gwared'sai fe ni'n llyn?

Cydystyriwch a chanfyddwch, y llonyddwch weithian sydd
Yn y gwledydd, a'r llawenydd; boed ar gynydd fwy-fwy fydd;
Pob rhyw ddoniau a rhinweddau fo'n blaguro yn ein plith,
Prydain lydan o hyn allan, dyfo i'r lan dan nefol wlith.

Y Duw tirion etto ddichon o'r tywyllwch sy'n y tir,
Ddwyn goleuni llawn i'n lloni, wedi'n profi noswaith hir;
Y cymylau oedd er's dyddiau uwch ein penau'n peri braw,
Ffwrdd a yrir o'n teg lwybrau gan ei hollalluog law.

Y brenhin Iago, Duw a'i cadwo, sydd offeryn dan Dduw nef,
Yn rhoi rhyddid, hoffaidd hyfryd, trwy gyhoeddiad gadarn gref,
Idd ei ddeiliaid, sydd wirioniaid, heb feddyliau drwg o'u bodd,
I neb dynion, bach na mawrion, ond eu llwyddiant yn mhob modd.

Etto creulon ddig swyddogion ddalient ddynion mawr eu bri,
I'w carcharu'n ddidosturi; mynych godent ddwbl *fee*,
Fe ga'i mwrddwr, lleidr, bradwr, fwy o ffafr yn eu gwydd,
Na rhyw gristion diddrwg ffyddlon; mor anghyfiawn oedd eu swydd.

Rhai ni feiddient fyn'd i'r farchnad, er mawr alwad iddynt fyn'd,
Na bae ceisbwl wrth ei sawdl, i ro'i trwbwl yn ddiffrynd;

* *Hanes y Bedyddwyr*. Tu dal. 93, 94.

Rhaid gwobrwyo'r gwyr a'u boddio, cyn cael myn'd o'u dwylaw'n rhydd
Gwancus, chwanog, llym i'r geiniog, chwilio'r 'sglyfaeth nos a dydd.

Rhoi ein henwau i mewn ar lyfrau yn eu cwrtiau'n llawer man,
Llys Cabidwl,* gwaeth na'r cwbl, yn cyhoeddi'n llwyr i'r llan;
Esgymundod fawr ddisberod, lawer pryd heb wybod pa'm,
Eisieu'u porthi a'u digoni byth ag arian,—dyna gam!

Wedi yno esgeuluso, delai'n rhuo *writ* i ma's,
I law'r Siryf, arfog heinyf, hwnw'n erlid nid yn llaes;
Y gwirioniaid yn dra diriaid, os eu dala, myn'd i'r *jail*,
Creulon ddyodde', hir amserau, byth ni thalai gynyg *bail*,

Afresymol oedd y bobl gyffredinol, fel o'u pwyll,
Yn cyhuddo pawb heb geisio; hawdd gwel'd yno lid a thwyll;
Malais dirgel, lechai'n ddiogel, dan fradychus gesail rhai,
Hwy ddymunent o genfigen bigo'n coden heb ddim llai.

Hwbwb, hwbwb, llys yr Esgob, a fu dop-dop a ni'n hir,
Maent hwy 'rwan yn lled egwan,—allan elont oll o'r tir;
Ymaith fradwyr a goganwyr, ffyrnyg dreiswyr chwerwon chwyrn,
'Does mo'ch ofn arnaf weithian, torwyd llawer ar eich cyrn.

Dyna'n union fel y buom ddyddiau lawer dan eu gwg,
Braidd'r edrychid arnom hefyd, ond fel rhyw weithredwyr drwg;
Er na allem mewn iaith gywrain, er cenfigen, malais, llid,
Ro'i drwg destyn yn eu herbyn, mewn un modd o flaen y byd.

Fe ga'i meddwon, ofer-ddynion, dori'r Sabboth yn ddiw'ardd,
Tyngu, rhegi, campio, meddwi; a oedd hyny'n weithred hardd?
Ond os byddai rhyw gredadyn yn ymofyn a gair Duw,
Oni ddeuai i'r Llan y Suliau, cosbid hwnw hyd y byw."

Dyma y modd y trinwyd sylfaenwyr Ymneillduaeth yn y parth hwn o Gymry, ac mewn modd cyffelyb yr ymddygid tuag atynt yn mhob parth arall o'r Dywysogaeth. Ond cawsant help gan Dduw i ddal eu ffordd yn yr holl dywydd, fel mai i'w ffyddlondeb a'u dyoddefiadau hwy yr ydym ni yn ddyledus am y rhyddid hyfryd a fwynheir genym.

Wedi cael nawdd Deddf y Goddefiad ffurfiwyd yr un eglwys wasgaredig hon yn amrywiol eglwysi Annibynol, yn Maesyronen, Maesyfed, Aberhonddu, Gwenddwr, Llangynnidr, a manau eraill. Dichon mai y gymdeithas yn Nhredwstan a ystyrid yn fam eglwys i'r lleill oll, am mai hi oedd y lluosocaf, ac mai hi a adeiladodd y capel cyntaf. Tuag amser marwolaeth Mr. Rees Prytherch, os nad cyn hyny, dewiswyd Mr. Morgan Williams yn weinidog yn Nhredwstan. Nid oes genym unrhyw hanes am dano amgen nag iddo fod yn weinidog yma hyd ei farwolaeth yn 1708. Yn yr un flwyddyn urddwyd Mr. John Powell yn ganlyniedydd iddo, a bu yntau yma hyd ei farwolaeth yn 1728. Yr oedd yr eglwys yn gref iawn yn ei amser ef. Yr oedd yr aelodau yn wasgaredig dros ddau-ar-hugain o blwyfydd, ac amryw o honynt yn dirfeddianwyr. Rhif y gynnulleidfa yn 1715 oedd 250, ac yr oedd deugain o'r cyfryw yn byw ar eu tiroedd eu hunain. Wedi marwolaeth Mr. Powell rhoddwyd galwad i Mr. William Williams, o Stroud, sir Gaerloew, a bu ef yma o 1729 hyd 1762, pryd, oherwydd henaint a gwaeledd iechyd, y rhoddodd y weinidogaeth i fyny, ac y symudodd i fyw i Aberhonddu, lle y bu farw yn fuan wedi hyny. Tua'r flwyddyn 1764, ymsefydlodd Mr. Evan Williams, o Lan-

* Llys yr Esgob.

uwchllyn, yma. Yr oedd ef cyn myned i Lanuwchllyn wedi bod yn weinidog yn y Brychgoed. Tua blwyddyn yr arosodd yma, yna symudodd i Benybont-ar-ogwy. Yn 1766, rhoddwyd galwad i Mr. Simon Williams, Rhaiadrgwy, ac yma y bu ef hyd ei farwolaeth yn 1810; ond rai blynyddau cyn ei farwolaeth yr oedd yr eglwys wedi rhoddi galwad i Mr. Walter Lewis, o athrofa Caerfyrddin, i ddyfod yn gynorthwywr iddo. Urddwyd Mr. Lewis yma Mawrth 24ain, 1802. Dygwyd y gwasanaeth yn mlaen yn y drefn ganlynol:—Yr hwyr cyn dydd yr urddiad, pregethodd Mr. Ebenezer Skeel, Abergavenny, a Mr. Ebenezer Jones, Pontypool. Boreu dranoeth, pregethodd Mr Peter, Caerfyrddin, ar natur eglwys; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. Isaac Price, Llanwrtyd; gweddiodd Mr. Daniel Lewis, Crwys, brawd yr urddedig, yr urdd-weddi; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. Simon Williams, hen weinidog y lle, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. D. Davies, Mynyddbach, wedi hyny o Abertawy. Yr oedd dau-ar-bymtheg o weinidogion yn wyddfodol ar yr achlysur. Parhaodd Mr. Lewis i weinidogaethu yma hyd ei farwolaeth yn 1833. Tuag amser marwolaeth yr hen weinidog, Mr. S. Williams, ymadawodd nifer o'r aelodau o Dredwstan, ac adeiladasant addoldy yn Nhalgarth, oherwydd nad oedd gweinidogaeth Mr. Lewis yn gwbl ddigon Calfinaidd i daro eu harchwaeth. Wedi yr ymadawiad hwnw bu pobpeth yn dawel yn y fam eglwys tra y bu Mr. Lewis byw. Y gweinidog nesaf yma oedd Mr. William Williams, o Gwmnedd. Urddwyd ef yma Mai 14eg a'r 15fed, 1834. Rhoddir hanes yr urddiad fel y canlyn yn yr *Efengylydd*:—"Ar y 14eg a'r 15fed o Fai, 1834, urddwyd y brawd William Williams i gyflawn waith y weinidogaeth yn Tredwstan, fel canlyniedydd y Parch. Walter Lewis. Dechreuwyd yr addoliad prydnawn dydd Mercher am chwech gan y Parch. E. Rowlands, Pontypool, a phregethodd y Parch. M. Morgans, Blaenafon, oddiwrth Dat. ii. 17, a'r Parch. E. Rowlands oddiwrth Mat. xxv. 34. Boreu dranoeth, am ddeg, dechreuwyd gan y Parch. M. Lewis, Hermon, Ystradfellte, a phregethwyd ar natur eglwys Gristionogol gan y Parch. E. Rowlands, oddiwrth Heb. viii. 5; holwyd profiad a chredo y gweinidog ieuangc gan Mr. Lewis, Hermon; dyrchafwyd yr urdd-weddi gan y Parch. J. Jones, Talgarth; anerchwyd y gweinidog ieuangc gan y Parch. W. Hopkins, Llangattwg, oddiwrth 2 Tim. iv. 4, a'r eglwys gan y Parch. D. Davies, Penywaun, oddiwrth Phil. ii. 29. Y prydnawn, am dri, dechreuwyd gan Mr. J. Jenkins (Trefnydd), a phregethwyd gan Mr. D. Davies, Ysgethrog, oddiwrth Ephes. v. 16, a'r Parch. James Rhys Jones, Llanllieni, oddiwrth Heb. xii. 25. Cafwyd arwyddion amlwg o foddlonrwydd yr Arglwydd ar y sefydliad. Bu y gweinidog ieuangc yn nghylch dwy flynedd a haner yn fyfyriwr yn athrofa y Parch. R. Howells, Baran, ac yn ddiweddaf bu agos i chwe' mis yn athrofa y Parch. D. Davies, Penywaun, ac oddiyno y symudodd i Dredwstan." Wedi bod yn llafurio gyda pharch a llwyddiant yn Nhredwstan a Brechfa am saith mlynedd, derbyniodd Mr. Williams alwad oddiwrth yr eglwys yn Nebo, Hirwaun, a symudodd yno yn Mai, 1841, ac yno y mae yn anwyl a pharchus gan fyd ac eglwys hyd yn bresenol. Yn Awst, 1841, rhoddodd yr eglwys yn Nhredwstan alwad i Mr. David Williams, o athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef yma yn Awst y flwyddyn hono. Tair blynedd y bu Mr. Williams yma. Yn 1844 symudodd i Hermon, Ystradfellte. Dilynwyd ef yn Nhredwstan a Brechfa gan Mr. Thomas Havard, mab Mr. William Havard, gweinidog gyda'r Methodistiaid. Yr oedd Mr. Havard

wedi ei urddo yn Lloegr cyn iddo ddyfod yma. Decheuodd ef ei weinidogaeth yma yn haf y flwyddyn 1844, ac yma y bu hyd ei farwolaeth yn nechreu y flwyddyn 1863. Yn fuan wedi ymsefydlu yma derbyniodd alwad oddiwrth yr eglwys yn Maesyronen, a bu y lle hwnw mewn cysylltiad a Thredwstan a Brechfa dan ei ofal tra y bu byw. Gan iddo ychwanegu rhyw ofalon bydol at yr holl ofal gweinidogaethol oedd arno, dyoddefodd yr eglwysi dan ei ofal yn fawr, fel yr oeddynt mewn agwedd lled nychlyd ar derfyniad ei dymor ef. Yn mhen ychydig wedi marwolaeth Mr. Havard rhoddodd yr eglwys yn Nhredwstan ei hun dan ofal Mr. Evans, mewn cysylltiad a Thalgarth, a than ei ofal ef y mae hyd yn bresenol.

Nid yw yr eglwys hon er's triugain neu ragor o flynyddau yn gyffelyb o ran lluosogrwydd i'r hyn ydoedd gynt. Mae hyn i'w briodoli mewn rhan i gyfodiad a llwyddiant yr achos yn Nhalgarth. Ond er fod yr achos yma er's blynyddau yn gymharol fychan a gwan, y mae yma nifer o ffyddloniaid yn glynu wrtho.

Gan nad oes genym ddefnyddiau nis gallwn roddi dim o hanes y personau a'r teuluoedd fuont yn fwyaf defnyddiol gyda'r achos hwn o oes i oes. Mae yn ddiameu i lawer yn yr oesau gynt o aelodau yr eglwys hon gyfodi i fod yn bregethwyr, ond nid ydym ni wedi gallu dyfod o hyd i enwau cymaint ag un o honynt, ond y rhai a grybwyllasom fel pregethwyr yma tua'r flwyddyn 1673.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Yr ydym eisioes wedi rhoddi hanes y gweinidogion cyntaf yma, sef Mr. Henry Maurice a Mr. Rees Prytherch, yn nglyn a hanes yr eglwysi yn yr Ynysgau, Merthyr, a Chefnarthen, a chan nad oes genym ddefnyddiau rhaid i ni fyned heibio i David Williams, Talgarth; Richard Jones, William Howell, Charles Lloyd, a Thomas Gwyn, gydag yn unig grybwyll eu henwau. Dywed Mr. Henry Maurice eu bod oll yn henuriaid urddedig yma yn 1675. Dichon mai "henuriaid llywodraethol," fel y galwai yr hen bobl hwynt, yn unig a olygai efe wrth "henuriaid urddedig," ond y mae hefyd yn sicr eu bod oll yn bregethwyr, pa un bynag a oeddynt yn weinidogion urddedig ai peidio.

Lewis Prytherch. Yr oedd ef yn weinidog cynorthwyol yma yn 1675, ac wedi bod yn pregethu yn Eglwys blwyfol Llangamarch yn amser y Werin-lywodraeth. Yr ydym yn barnu iddo hefyd fod yn bregethwr sefydlog mewn un neu ddau blwyf arall yn y sir hon yn y cyfnod hwnw. Mae yn lled debygol ei fod o'r un teulu a Mr. Rees Prytherch, Ystradwalter. Nid ydym yn gwybod pa cyhyd y bu fyw ar ol 1675, na pha le y bu farw, ac y claddwyd ef.

Morgan Williams. Nid oes genym un wybodaeth am dano ef amgen nag iddo farw yn y flwyddyn 1708. Mae cofnodiad o'i farwolaeth, a dim ond hyny, yn hen lyfr yr eglwys, yr hwn sydd yn awr yn meddiant y Cofrestrydd Cyffredinol yn Somerset-house, Llundain.

John Powell. Er iddo ef fod yn weinidog yma am ugain mlynedd, nid oes unrhyw hanes am dano ar gael ond iddo farw yn 1728. Mae yn dra thebygol, os nad aelod gwreiddiol o'r eglwys hon ydoedd, mai brodor o Frycheiniog neu Faesyfed ydoedd.

William Williams ydoedd fab Thomas Williams, Rhandirisaf, yn mhlwyf Llanfair-ar-y-bryn, sir Gaerfyrddin. Yr oedd ef yn un o bedwar o frodyr, un o ba rai oedd Morgan Williams, llawysgrifau pa un y gwnaethom lawer o ddefnydd o honynt yn hanes Cefnarthen a Phentretygwyn. Tybiwn mai William Williams oedd yr ail o'r meibion. Yr oedd ei dad a'i fam yn aelodau yn Nglynarthen er amser Mr. Rees Prytherch, a'i dad yn ddiacon am flynyddau lawer. Bu farw ei dad yn 1733, a'i fam yn 1752, yn 81 oed. Nid ydym yn gwybod yn mha le yr addysgwyd Mr. Williams. Ymsefydlodd yn Newmarket, yn sir Flint, yn 1721, a symudodd oddiyno i Stroud, yn sir Gaerloew, yn 1728, lle y bu am flwyddyn. Yn 1729 daeth i Dredwstan, ac yno y bu hyd 1762, pryd y rhoddodd y weinidogaeth i fyny, ac y symudodd i fyw i Aberhonddu. Mae yn debyg iddo farw yn fuan wedi hyny, ond nis gwyddom pa bryd. Yr oedd Mr. Williams yn ysgolhaig rhagorol, ac yn weinidog llafurus a llwyddianus. Yr oedd hefyd yn gysurus yn ei amgylchiadau bydol. Yr oedd dwy neu dair o ffermydd yn eiddo iddo ef, mewn cysylltiad a'i frodyr, yn y Rhandirisaf. Rhestra Mr. Edmund Jones, Pontypool, ef yn mysg y gweinidogion mwyaf enwog o defnyddiol yn ei oes.

Simon Williams. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1720, ond nis gwyddom yn mha ardal, na phwy oedd ei rieni. Derbyniwyd ef yn fyfyriwr i athrofa Caerfyrddin Hydref 5ed, 1747. Pan oedd Mr. Thomas Walters, Rhaiadr, wedi heneiddio, anogodd yr eglwys i edrych allan am ganlyniedydd iddo, ac wedi i amryw fyfyrwyr fod yno ar brawf, hoffodd Mr. Walters Mr. Simon Williams yn fwy nag un o'r lleill, ac anogodd yr eglwys i roddi galwad iddo. Urddwyd ef yn Rhaiadr Medi 15fed, 1753. Dywed awdwr hen lawysgrif o hanes yr achos yn Rhaiadr na fu Mr. Williams yn llwyddianus iawn yno, a phriodola ei aflwyddiant i'r ffaith iddo ymgymeryd a gofal yr eglwys yn y Caebach, mewn cysylltiad a Rhaiadr. Mae yn ymddangos hefyd iddo fod yn gofalu am Lanbrynmair am flwyddyn neu ddwy yn ystod ei arosiad yn Rhaiadr. Yn 1765 derbyniodd alwad o Dredwstan, a symudodd yno yn niwedd y flwyddyn hono, neu ddechreu yr un ganlynol. Yno y bu hyd ei farwolaeth yn 1810, pryd yr oedd yn bedwar-ugain-a-deg oed. Claddwyd ef yn mynwent Talachddu. Er fod Mr. Williams yn ddyn da ac yn ysgolhaig rhagorol, nid ymddengys iddo fod yn weinidog llwyddianus. Dywedir mai un lled ddiddawn a ffurfiol ydoedd—anhebyg iawn i'w gydoeswr a'i gymydog, Isaac Price, Llanwrtyd, a rhai eraill o'i gydoeswyr.

Walter Lewis. Tr oedd ef yn fab i Mr. Edward Lewis, Tai'rlan, yn mhlwyf Merthyr Tydfil. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yn yr Ynysgau, Merthyr, pan yn dra ieuangc, ac yno, feddyliwn, y dechreuodd bregethu. Yn y flwyddyn 1795 derbyniwyd ef yn fyfyriwr i athrofa Caerfyrddin, ac wedi gorphen ei amser yno, ymsefydlodd yn Nhredwstan, fel cynorthwywr i'r henafgwr, Mr. Simon Williams, ac fel y gwelsom, urddwyd ef yno Mawrth 24ain, 1802. Yn fuan wedi hyny priododd ferch i foneddwr oedd yn aelod o'i eglwys. Cawsant deulu lluosog o blant, y rhai oll a drosiant allan yn bobl barchus a defnyddiol. Y mae un mab iddo yn awr yn byw yn Awstralia, yn aelod o'r senedd yno, ac yn ddiacon defnyddiol yn yr eglwys sydd dan ofal Mr. Morgan Williams, B.A., mab yr hybarch David Williams, Troedrhiwdalar. Merch iddo ef hefyd oedd gwraig Mr. Thomas Havard, Tredwstan, a gweddw yr enwog Ieuan Gwynedd. Wedi llafurio yn ffyddlon fel gweinidog yn Nhredwstan a

Brechfa, bu y gwas ffyddlon hwn farw yn yr Arglwydd Medi 4ydd, 1833, a chladdwyd ef yn mynwent Tredwstan. Pregethodd Meistri T. B. Evans, Ynysgau, Merthyr, ac H. Jones, Tredegar, yn ei angladd.

Yr oedd Walter Lewis yn ddyn parchus gan bawb a'i hadwaenai, ac yn nodedig o foneddigaidd yn ei ymddangosiad a'i ymddygiadau. Yr oedd yn ysgolhaig rhagorol iawn ac yn bregethwr synwyrol, adeiladol, a blasus, ond nid mor boblogaidd a rhai o'i gydoeswyr. Fel y gwelsom yn hanes yr eglwys, cyhuddid ef gan rai o fod yn gogwyddo gormod at Arminiaeth, ond nid ydym yn barnu fod sail i'r cyhuddiad hwnw. Yr oedd pob un a ddaliai syniadau cyffelyb i Andrew Fuller a Dr. Edward Williams, yn cael ei gyfrif yn Arminiad gan yr uchel-Galfiniaid haner cant a thriugain mlynedd yn ol. Nid ydym yn tybied fod Mr. Lewis yn ddim mwy na'r hyn a elwid Ffwleriad. Yr oedd Crist a'i groes bob amser yn llenwi ei bregethau.

THOMAS HAVARD. Efe oedd mab henaf yr enwog William Havard, yr hwn oedd flynyddau yn ol yn adnabyddus trwy holl Gymru fel pregethwr poblogaidd yn mysg y Trefnyddion Calfinaidd. Ganwyd Thomas Havard yn mhlwyf Cerrigcadarn yn y flwyddyn 1800. Cafodd ei ddwyn i fyny yn grefyddol o'i febyd. Yn y flwyddyn 1822, dechreuodd bregethu yn nghyfundeb y Trefnyddion. Wedi bod am yspaid yn fyfyriwr yn athrofa Cheshunt, dychwelodd i Gymru, a bu am ryw amser yn genhadwr cartrefol yn Mhenybont yn sir Faesyfed, dan nawdd cymdeithasfa y Methodistiaid. Wedi hyny daeth i Loegr, ac ymsefydlodd yn weinidog yr eglwys Annibynol yn Newport, sir Gaerloew. Nid ydym yn gwybod pa gymaint o amser y bu yn y naill a'r llall o'r lleoedd rhag-grybwylledig. Yn 1844, derbyniodd alwad o Dredwstan, a bu yn weinidog yno, yn Brechfa, a Maesyronen, hyd derfyn ei oes. Rai misoedd cyn ei farwolaeth tarawyd ef gan ergyd trwm o'r parlys pan yn nhŷ cyfaill yn Aberhonddu. Bu yno rai wythnosau cyn dyfod i sefyllfa addas i'w symud i'w gartref yn Nhalgarth. Wedi nychu am amryw fisoedd bu farw Chwefror 8fed, 1863, a chladdwyd ef yn mynwent Tredwstan.

Yr oedd Thomas Havard o ran ei gorff yn ddyn mawr, ac yn anghyffredin o dew. Yr oedd yn gyflawn dri chant os nad ychwaneg o bwysau. O ran ei dymer yr oedd yn rhyfeddol o hynaws, siriol, a di-ddrwg. Yr oedd ei holl gydnabod yn ei hoffi fel dyn nodedig o ddiniwed. Pregethai yn dda iawn, yn yr hen ddull puritanaidd, ond yr oedd yn fwy cyfaddas i fod yn bregethwr teithiol nag yn weinidog sefydlog.

## BETHANIA, TALGARTH.

Yn hanes Tredwstan crybwyllasom i ymraniad gymeryd lle yn yr eglwys hono o herwydd nad oedd amryw o'r aelodau yn ystyried gweinidogaeth Mr. Lewis yn ddigon Calfinaidd. Nid ydym yn gwybod fod dim arall wrth wraidd yr ymraniad; ond mae yn dra thebygol i'r dadleuon athrawiaethol arwain i eiriau pigog ac i dymerau chwerwon yn y naill blaid tuag at y llall, nes i'r rhwyg fyned yn anfeddyginiaethol. Tua y flwyddyn 1811 y cymerodd yr ymraniad le, ac yn ddioed wedi i'r cyfeillion ymadael o Dredwstan dechreuasant adeiladu capel yn Nhalgarth. Er fod hyn yn groes iawn i deimladau Mr. Lewis a'r rhai a arosasant

gydag ef yn Nhredwstan, mae pawb er's blynyddau bellach wedi gweled i'r amgylchiad droi yn fanteisiol iawn i achos crefydd. Y mae Tredwstan ar gongl anghyfleus o'r ardal, tua milldir neu ychwaneg allan o dref Talgarth, ac ni buasai cynifer o drigolion y dref byth yn dyfod yno ag sydd yn ymgynnull i Bethania. O herwydd gwrthwynebiad Mr. Lewis a phobl Tredwstan i'r achos newydd cadwyd ef allan o undeb y sir am oddeutu saith mlynedd. Byddai rai pregethwyr yn myned yno trwy ystod y blynyddau hyny, ond ystyrid hwy yn afreolaidd wrth wneuthur felly. Yn 1814, rhoddwyd galwad i Mr. John Jones, gweinidog yr eglwys Gymreig yn Liverpool, ac er fod y gynnulleidfa fechan yn Nhalgarth allan o'r undeb anturiodd ef ymsefydlu yn eu plith. Yn fuan llwyddodd ei lafur i'r fath raddau fel y penderfynwyd ei dderbyn ef a'i bobl i undeb y sir, a chyn iddo ef dreulio llawer o flynyddau yn y lle, llwyddodd, trwy ei dymer tangnefeddus a siriol, i ladd y teimladau annymunol oedd rhwng ei bobl ef a phobl Tredwstan, fel nad oes dwy eglwys gymydogol fwy heddychol na'r ddwy hyn yn yr holl Dywysogaeth er's llawer o flynyddau bellach. Erbyn y flwyddyn 1822, yr oedd y capel wedi myned yn rhy fychan i gynwys y gwrandawyr, ac felly adeiladwyd yr addoldy presenol, yr hwn, pan yr adeiladwyd ef oedd y capel Annibynol helaethaf yn sir Frycheiniog. Yn ddiweddar, gan fod yr adeilad hwn wedi myned yn lled ddadfeiliedig, adgyweiriwyd a phrydferthwyd ef yn fawr. Wedi i Mr. Jones lafurio yma, ac mewn manau ereill yn y gymydogaeth, am fwy nag ugain mlynedd, gyda mesur helaeth iawn o barch a llwyddiant, cafodd ergyd o'r parlys yr hyn a'i hanghymwysodd i gyflawni ei wasanaeth cyhoeddus yn effeithiol, ac felly cydunodd ef a'r eglwys i roddi galwad i Mr. Richard Jones, Llanelli, Brycheiniog, i ddyfod yma yn ganlyniedydd iddo yn y weinidogaeth. Ymsefydlodd Mr. R. Jones yma yn 1835, a bu yntau yma yn dra defnyddiol a pharchus iawn hyd y flwyddyn 1857, pryd y bu raid iddo o herwydd gwaeledd ei iechyd roddi ei ofal gweinidogaethol i fyny. Yn 1858, rhoddwyd galwad i Mr. Thomas Evans, o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Awst 12fed yn y flwyddyn hono. Pregethwyd a'r natur eglwys gan Mr. John Davies, Aberaman; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. E. Watkins, Llangattwg; gweddiwyd yr urddweddi gan Mr. C. Gwion, Aberhonddu; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. P. Griffiths, Alltwen; ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. J. Stephens, Brychgoed. Gweddiwyd a phregethwyd yn y prydnawn a'r hwyr, a hwyr y dydd blaenorol, gan y Meistri D. Thomas, Llangynnidr, T. Havard, Tredwstan; D. Richards, Llanelli; E. Pritchard, Cwmrhos; D. M. Davies, Cerrigcadarn; Morgan Morgans, Merthyrcynog; ac eraill. Mae Mr. Evans yn aros yma a'i fwa yn gryf trwy rymus Dduw Jacob hyd y dydd hwn.

Mae yr eglwys hon yn un gref a gweithgar er's blynyddau lawer bellach. Perthyna iddi ddwy neu dair o ysgolion Sabbothol; rhifa yr aelodau tua chant a haner, ac y mae y gwrandawyr yn lluosog. Mae yr iaith Saesonig yma, fel yn mhob man ar y terfynau rhwng Cymru a Lloegr, yn cael ei mabwysiadu yn gyflym gan yr ieuengctyd, fel y mae yn rhaid dwyn llawer o'r gwasanaeth yn mlaen yma yn yr iaith hono bob Sabboth er's blynyddau bellach, ac y mae yn dra thebygol mai yn y Saesoneg yn unig y bydd yn rhaid addoli yma yn mhen ychydig o flynyddau etto. Os cyfodwyd yma rai i bregethu o ddechreuad yr achos hyd yn awr, nid ydym ni wedi gallu dyfod o hyd i enwau neb o honynt.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

JOHN JONES. Ganwyd ef mewn amaethdŷ a elwir y Graigddu, yn mhlwyf Abergwesyn, Brycheiniog, yn y flwyddyn 1775. Gan i'w goelbren ddisgyn mewn ardal nodedig am ei chrefyddolder, arweiniwyd ei feddwl o'i febyd at bethau crefyddol. Pan yn un-ar-bymtheg oed derbyniwyd ef yn aelod i'r eglwys yn Llanwrtyd gan Mr. Isaac Price, ac yn mhen dwy flynedd wedi hyny dechreuodd bregethu. Pan yn un-ar-hugain aeth ar daith i'r Gogledd, ac ymsefydlodd yn Ceirchiog, yn Môn. Bu yno am wyth mlynedd, ac yn ddefnyddiol iawn i gynorthwyo yn nghychwyniad achosion Annibynol mewn gwahanol fanau yn yr Ynys. Yn fuan wedi iddo ymsefydlu yn Môn ymunodd mewn priodas a Miss Anne Lloyd o Bwllygynew, gerllaw Llanerchymedd. Bu hi yn ymgeledd iddo hyd derfyn ei oes. Cawsant deulu lluosog o blant y rhai a ddygwyd i fyny ganddynt yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Yn 1804, symudodd Mr. Jones o Fôn i Liverpool, i gymeryd gofal yr ychydig Annibynwyr Cymreig yno y rhai nid oeddent dros bymtheg o rif, ac yn addoli mewn ystafell anghyfleus. Yn fuan wedi iddo fyned yno llwyddodd yr achos, a chafwyd capel bychan i addoli ynddo yn Edmond Street. Dyma sefyllfa yr Annibynwyr Cymreig yn Liverpool driugain mlynedd yn ol! Wedi bod yn llafurio yn Liverpool am ddeng mlynedd, gyda mesur helaeth o lwyddiant, symudodd oddiyno i Dalgarth, lle y treuliodd weddill ei oes mewn parch mawr. Amryw flynyddau cyn ei farwolaeth, cafodd Mr. Jones ergyd ysgafn o'r parlys, yr hyn a'i hanalluogodd yn fawr, ond nid yn hollol, i gyflawni gwasanaeth cyhoeddus y cyssegr. Tua phum' mlynedd cyn ei farwolaeth cafodd ail ergyd, llawer trymach na'r gyntaf, ac o hyny allan ni bu yn alluog i bregethu dim. Wedi hir nychu, a dyoddef ei nychdod gydag ymostyngiad i ewyllys yr Arglwydd, cafodd ollyngdod o'i holl drallod Ionawr 29ain, 1843, yn 68 mlwydd oed. Gadawodd weddw a chwech o blant, a lluaws o gyfeillion mewn galar dwys ar ei ol. Claddwyd ef yn barchus yn mynwent capel Talgarth, a gosododd ei chwaer-yn-nghyfraith, y diweddar Miss Lloyd o Aberdare, feddfaen hardd ar ei fedd. Yn mhen tri mis ar ol ei farwolaeth ef, bu farw ei fab ieuengaf, ac yn mhen tri mis ar ol hyny bu farw ei weddw mewn oedran teg. Symudodd Mr. Jones dair gwaith yn ystod ei fywyd gweinidogaethol, ac i leoedd gweinion yr aeth bob tro, ond cafodd yr hyfrydwch o adael pob lle lawer yn fwy llewyrchus nag y cawsai ef. Bu o wasanaeth mawr iawn i achos crefydd ac Annibyniaeth yn ei ddydd.

Dyn bychan o gorpholaeth, ond o wneuthuriad cadarn a lluniaidd iawn, oedd Mr. Jones. Yr oedd o wynebpryd nodedig o hardd, a'i edrychiad yn fywiog a siriol iawn. Yr oedd yn fywyd i bob cymdeithas yr elai iddi trwy ei arabedd a'i ddawn i adrodd hanesion addysgiadol a difyrus.

Fel pregethwr yr oedd yn dra phoblogaidd. Ymadroddai yn rhwydd ac eglur, a dywedai frawddegau byrion, llymion, a llawn o synwyr, ac yr oedd ei lais yn glir a pherseiniol. Er nas gellir ei restru yn mysg "cedyrn cyntaf" y pulpud Cymreig, etto yr oedd yn bregethwr o radd llawer uwch na'r cyffredin, ac yn nodedig o dderbyniol pa le bynag yr elai. Yr oedd ei bregethau yn wastad yn eglur, efengylaidd, bywiog, a byrion, ac y mae hyny yn ddigon i gyfrif am fod y werin mor hoff o bono fel pregethwr.

Yr oedd yn ddyn pur iawn ei amcan, yn un o ysbryd nodedig o dangnefeddus, ac yn weithiwr difefl yn ngwasanaeth ei Arglwydd. Nid rhyfedd gan hyny iddo fod mor ddefnyddiol yn ei dymor, a bod ei goffadwriaeth mor anwyl gan bawb o'i gydnabod.

RICHARD JONES. Ganwyd ef yn y Bailiglas, yn mhlwyf Llanguwg, Morganwg, Ebrill 18fed, 1803. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yn Carmel, gan yr hybarch John Davies, Alltwen, yn ieuangc iawn. Dechreuodd bregethu pan nad oedd dros un-ar-bymtheg oed. Bu am rai blynyddau yn yr ysgol yn Baran, ac yn y tymor hwnw pregethai fynychaf bob Sabboth yn yr eglwysi cymydogaethol. Adnabyddid ef mewn degau o ardaloedd yn siroedd Morganwg a Chaerfyrddin fel Richard Jones, Cwmbach, flynyddau cyn iddo gael ei urddo. Yn mis Rhagfyr, 1829, urddwyd ef yn weinidog i'r eglwys ieuangc oedd newydd gael ei ffurfio yn Siloam, Llanelli, Brycheiniog, a bu yno yn ddefnyddiol a pharchus iawn hyd nes y symudodd i Dalgarth, yn 1835. Wedi bod yn gweinidogaethu yn Nhalgarth, am ddwy-flynedd-ar-hugain, bu raid iddo, o herwydd gwaeledd iechyd ac amgylchiadau cythryblus, roddi y weinidogaeth i fyny yn 1857. Symudodd o Dalgarth i Abercrave yn Nglyntawy. Bu yno am rai blynyddau yn masnachu, a phregethu, fel cynorthwywr i'w fab-yn-nghyfraith, y diweddar Mr. R. Lewis, Ty'nycoed. Symudodd oddiyno i Britton Ferry, lle y bu farw mewn tangnefedd Mehefin 14eg, 1872, yn driugain a naw mlwydd oed. Claddwyd ef yn mynwent Carmel, Llanguwg. Gadawodd ar ei ol weddw ac un mab a dwy ferch. Mae ei ferch henaf yn briod a Mr. B. Williams, Canaan, a'i ail ferch yn weddw i Mr. R. Lewis, Ty'nycoed. Y mae pob un o'i blant yn llenwi lleoedd amlwg yn eglwys Dduw.

Dyn o faintioli canolig oedd Richard Jones, lluniaidd o gorff, a phrydferth o wynebpryd. Yr oedd yn ddyn nodedig o ddiniwed. Trwy fod amgylchiadau yn ei orfodi i gysylltu masnach a'r weinidogaeth, a'i fod yntau yn rhy ddiddrwg a llwfr i fynu ei iawnderau, ac i ymgadw o grafangau dynion drygionus a thwyllodrus, colledwyd ef yn fawr, a thaflwyd ef i lawer o drallod yn mlynyddau diweddaf ei oes. Yr oedd yn ddyn o ymarweddiad hollol ddifrycheulyd, ac yn bregethwr efengylaidd a melus iawn, ac ar rai achlysuron yn anghyffredin o effeithiol.

## LLANGATTWG.

Yn amser y werin-lywodraeth, ac o bosibl cyn hyny, yn benaf trwy lafur Mr. Jenkin Jones, Llanddetty, ymdaenodd Ymneillduaeth Buritanaidd yn gyffredinol iawn trwy y plwyf hwn, a'r plwyfydd cymydogaethol, fel yr ydym yn cael fod ffyrnigrwydd yr erlidiaeth yn amser Siarl II. wedi methu ei diwreiddio yma. Yn y flwyddyn 1673, yr oedd naw a deugain o Ymneillduwyr proffesedig yn y plwyf hwn, haner cant yn mhlwyf Llanelli, a dau-a-deugain yn mhlwyf Llangynnidr. Pan ystyrir mor ychydig oedd nifer y trigolion yr amser hwnw, a bod y rhan fwyaf o'r Ymneillduwyr hyn yn benau teuluoedd, yr oedd yn rhaid fod tua haner poblogaeth y plwyfydd hyn yn Ymneillduwyr y pryd hwnw. Ond trwy ryw amgylchiadau anffafriol gwanychu yn raddol a wnaeth yma, fel nad oedd yma ond nifer fechan iawn yn arddel yr enw o Ymneillduwyr yn 1760. Elai yr ychydig a breswylient yma ac yn mhlwyf

Llanelli i gymuno i'r Blaenau, lle yr oedd eglwys fechan dan ofal gweinidogaethol Mr. Edmund Jones, Pontypool. Nid yw yn hysbys pa un a fyddai Mr. Jones yn dyfod yn fynych i bregethu i'r plwyf hwn yn hir cyn adeiladu capel yma. Y tebygolrwydd yw y byddai yn dyfod yma yn achlysurol er's llawer o flynyddau, ond wedi i Francis Williams, un o'i aelodau yn y Blaenau, ddyfod i fyw i'r Prisk, cafodd achlysur ac anogaeth i ddyfod yn fynychach, ac mae yn dra thebygol mai hyny fu yn arweiniol i adeiladiad y capel, a ffurfiad yr eglwys yma yn 1768. Yn y flwyddyn hono edrychwyd allan am fan cyfleus i adeiladu capel. Yr oedd yr hen bobl yn adrodd amryw bethau difyr flynyddau yn ol am y modd y dygwyd "yr hen brophwyd," fel y gelwid Mr. Edmund Jones, i ddewis y man hynod ac anghysbell a ddewiswyd ganddo fel lle yr addoldy. Un bore aeth ef a Francis Williams, a rhai cyfeillion eraill i edrych am le, a phan yr oeddent mewn man a elwir "Penheol-y-prisk," gofynodd Francis Williams, "Wel Mr. Jones, pa le mae'r capel i fod?" "Deuwch yn mlaen ychydig etto," ebe yntau. Yn mlaen yr aethant nes myned at lwyn o goed ar odreu'r llechwedd, ac yno safasant i wrandaw peroriaeth yr adar yn y llwyn. Yn fuan ehedodd un o honynt o'r llwyn a disgynodd ar ben Mr. Jones. Edrychai yr hen brophwyd ar hyny fel rhyw beth nodedig o arwyddocaol, a dywedodd, "Dyma y fan y seinia yr efengyl yn beraidd, ac yma disgyna bendithion anrhaethol i luaws trigolion yr ardal hon." Ac fel yr oeddent yn sefyll ac yn edrych ar y darn tir dewisedig ehedodd piogen drosto. Ar hyny gofynodd Francis Williams drachefn, "pa arwydd yw hyn yna, Mr. Jones?" Atebodd, "Arwydd yw y bydd yma ychydig o ymryson, ond ni pheru yn hir, ac ni bydd niwed mawr ynddo." Beth bynag am lawer o brophwydoliaethau a briodolir i Mr. Jones, mae yn sicr i'r ddwy brophwydoliaeth hyn gael eu cyflawni i'r llythyren. Cafwyd y darn tir dewisedig ar lês o fil ond un o flynyddau am un bybyren yn y flwyddyn, os gofynid hi, gan Mr. James Williams, perchenog y lle a elwir Lwmws. Yr ymddiriedolwyr yn y les oeddynt Mr. William Jones, perchenog y lle a elwir Penypark, ac R. Williams, brawd Edmund Williams, Ysw., o'r Tymawr. Nid ymddengys fod un o'r ddau yn aelodau crefyddol y pryd hwnw, ond yr oeddent yn ewyllyswyr da i'r achos, ac yn ddynion o ddylanwad mawr yn yr ardal. Mr. R. Williams ddarfu gludo y rhan fwyaf, os nad yr oll, o'r defnyddiau at yr adeilad. Maint y capel oedd 28 troedfedd wrth 18. Yr oedd y drws mewn un pen iddo, a lle tân yn y pen arall, a'r pulpud ar yr ochr. Bethesda oedd yr enw roddodd Mr. Jones arno. Er nad oedd ond capel bychan ac mewn congl hynod o anghyfleus, gwnaed y man yn gysegredig gan yr oedfaon nefolaidd a gafwyd ynddo ganoedd o weithiau. Y fath oedd sel rhai yma y pryd hwnw fel y dywedir fod un o'r aelodau, yr hon oedd yn byw yn Llanelli, yn dyfod yma bob dydd tra y bu y gwaith yn myned yn mlaen i estyn cerig i'r adeiladwyr. Agorwyd y capel newydd Medi 18fed, 1768, ac ar yr un dydd ffurfiwyd y personau canlynol yn eglwys Annibynol yma gan Mr. E. Jones—Mary Lewis, Llanelli; Sarah Saunders, etto, Mary Benjamin, etto, Gwenllian Laurence, etto, Margaret Price, Llangeneu; Francis Williams, Llangattwg; John Prosser, Crughowell; David Thomas, a Mary ei wraig etto, Edward Herbert, yr hwn oedd y diwrnod hwnw yn absenol fel Thomas, nid fel Judas, a Walter Phillips, aelod o Dredwstan. Mae yn debygol fod y personau uchod oll ond Walter Phillip yn aelodau o eglwys Mr. Jones yn y Blaenau, ac iddynt yn awr gael eu gollyngdod

oddiyno. Mr. Edmund Jones yn ddiau fu yn gweinyddu yr ordinhadau i'r eglwys hon am yspaid ar ol ei ffurfiad, ond gan fod y lle mor agos i Abergavenny, nid oedd un anhawsder i gael pregethwyr bob Sabboth o'r athrofa yno. Yr oedd yno un myfyriwr o'r enw Evan Lewis, yr hwn oedd yn bregethwr rhagorol iawn, a bu ef o wasanaeth neillduol i'r achos hwn o'i gychwyniad. Derbyniwyd ef i'r athrofa yn 1767, ac ar derfyniad ei amser yno urddwyd ef yn Hanover yn 1771, i fod yn weinidog yno ac yn Llangattwg. Er mawr golled i'r eglwysi a'r wlad yn gyffredinol, bu farw y gŵr ieuangc gwerthfawr hwn Tachwedd 28ain, 1773, yn 25 oed. Yn mhen dwy flynedd wedi hyn sef Tachwedd 1af ar 2il, 1775, urddwyd Mr. Morgan Jones, un arall o'r myfyrwyr o Abergavenny, yn weinidog yma. Gweinyddwyd yn yr urddiad gan y Dr. B. Davies, athraw yr athrofa, Mr. John Davies, Alltwen; Mr. Evan Williams, Penybont ar ogwy, ac eraill. Ni bu Mr. Jones yma yn hir. Bu farw neu symudodd i ryw le arall, canys ar y 30ain o Fedi, 1779, urddwyd Mr. John Jenkins, o athrofa Abergavenny yma. Yr oedd Dr. B. Davies, Mr. Simon Williams, Tredwstan, Mr. Phillip Dafydd, Penmain, ac eraill yn gweinyddu ar yr achlysur. Nid ydym yn gwybod pa cyhyd y bu Mr. Jenkins yma, na pha beth a ddaeth o hono, ond gwyddom fod yr eglwys heb weinidog yn 1790, canys yn nechreu y flwyddyn hono rhoddasant alwad i Mr. Howell Powell o Esgairdawe, sir Gaerfyrddin. Byr iawn fu arosiad Mr. Powell yma. Yn Ionawr, 1791, symudodd oddiyma i'r Casnewydd. Y gweinidog nesaf yma oedd Mr. David Davies. Mae yn anhawdd gwybod yn sicr pa bryd y dechreuodd ef ei weinidogaeth yma. Dywedir gan un iddo symud o Raiadr, lle yr urddwyd ef, i Langattwg, a dywed un arall mai i'r Aberthyn, y symudodd o Raiadr, ac oddiyno i Langattwg. Pa un o'r ddau sydd yn gywir nis gallwn benderfynu yn sicr. Mae yn sicr iddo fod yn yr Aberthyn ddwy waith, ac yn Llangattwg ddwy waith rhwng 1791 a 1798. Wedi bod am dymor yn Llangattwg, cyfododd yno derfysg yn nglyn a diarddeliad aelod lled gyfoethog, yr hwn a gyhuddid o fod yn ddiotwr. O herwydd y terfysg hwnw ymadawodd Mr. Davies i'r Aberthyn, ond yn mhen blwyddyn aeth un o'r diaconiaid ar ei ol a pherswadiodd ef i ddychwelyd i Langattwg. Yn y flwyddyn 1798 feddyliwn y dychwelodd, ac yma y bu o hyny allan hyd derfyn ei oes yn 1826. Mae yn dra thebygol mai yn 1795 y daeth ef i Langattwg o'r Aberthyn y waith gyntaf, ac iddo fod yma ychydig gyda blwyddyn cyn dychwelyd i'r Aberthyn. Gwnaeth y terfysg a barodd ymadawiad Mr. Davies gryn ddrwg i'r achos yn Llangattwg. Yr amser hwnw ymadawodd *Sami Shon*, gŵr rhagorol a hynod iawn, at y Bedyddwyr, a Job Watkin at y Methodistiaid. Wedi i Mr. Davies ail ymsefydlu yma, bu yn llafurus a llwyddianus iawn. Yn fuan dechreuodd yr achos yn Nghwmrhos, ac yn mhen ychydig ar ol hyny sefydlodd achos yn Nghendl. Er nad oedd yr eglwys yn Llangattwg yn lluosog iawn, yr oedd yn nodedig o lewyrchus, amryw o'r teuluoedd goreu yn yr ardal yn perthyn i'r achos, nifer o'r dynion mwyaf gwresog a rhagorol fel crefyddwyr yn aelodau a swyddogion yn yr eglwys, a'r gweinidog mor barchus a dylanwadol ag un gweinidog yn Nghymru. Parhaodd pethau yn yr agwedd hyfryd hyn hyd farwolaeth Mr. Davies yn Rhagfyr 1826. Yn haf y flwyddyn 1827, daeth Mr. William Hopkins, gŵr ieuangc o Gwmamman, sir Gaerfyrddin, heibio a chafodd ei hoffi mor fawr gan bobl Llangattwg a Chwmrhos, fel y cydunwyd yn unfrydol ac yn ddioed i roddi

galwad iddo, ac yn mis Mehefin y flwyddyn hono urddwyd ef yn weinidog i'r ddwy eglwys. Bu am dymor yn nodedig o boblogaidd a llwyddianus yn y ddau le. Yr oedd ef yn un o'r dynion harddaf o gorff, a mwyaf syml ei ddoniau o neb a welsom ac a glywsom erioed, a phe buasai ei gymeriad moesol yn cyfateb i'w ddoniau, a'r amgylchiadau ffafriol yn mha rai y gosododd rhagluniaeth ef, ni buasai un gweinidog o unrhyw enwad yn Nghymru yn fwy llwyddianus a dylanwadol nag y buasai ef yn dra sicr o fod. Bu yma adfywiad grymus iawn yn lled fuan wedi urddiad Mr. Hopkins, ac ychwanegwyd nifer fawr at yr eglwys. Mewn canlyniad i'r cynydd hwnw rhoddwyd gollyngdod i'r aelodau a breswylient yn Llanelli i ymgorpholi yn eglwys, a dewis gweinidog iddynt eu hunain. Gan fod hen gapel Llangattwg mewn man rhyfeddol o anghyfleus, ac allan o ganol poblogaeth yr ardal, ac wedi myned lawer yn rhy fychan i gynwys y gynnulleidfa, yn hytrach na'i helaethu yn y man lle yr oedd, penderfynwyd edrych allan am dir mewn man mwy canolog at adeiladu capel newydd. Cafwyd darn cyfleus iawn o dir at gapel a mynwent yn ymyl pentref Llangattwg, gan y diweddar Syr Joseph Bailey. Gwerthodd y tir oll i'r gynnulleidfa am bum' swllt, a rhoddodd mewn ychwanegiad at hyny bum' punt at draul yr adeiladaeth. Dechreuwyd adeiladu y capel yn gynar yn y flwyddyn 1835, ac ar y dydd cyntaf o'r flwyddyn 1836, cynaliwyd cyfarfodydd yr agoriad. Traul yr adeiladaeth oedd tuag wyth cant o bunau, a thalwyd y cwbl gan yr eglwys a'r ardalwyr mewn ychydig amser. Mae y capel yn adeilad hardd iawn, ac yn sefyll mewn lle nodedig o brydferth. Gan fod poblogaeth Llangattwg a Chrughowell yn fawr teimlid fod yr achos yn dyoddef wrth fod y gweinidog yn rhoddi haner ei amser, neu fwy, i'r cynnulleidfaoedd yn Nghwmrhos a Thretwr, penderfynwyd yn 1845, rhoddi ei ddewis i Mr. Hopkins i roddi y ddau le arall i fyny, neu roddi Llangattwg i fyny. Dewisodd yntau roddi Llangattwg i fyny. Mewn canlyniad i hyny aeth yr eglwys yn Llangattwg i edrych allan am weinidog. Teimlai amryw o'r aelodau awydd am roddi galwad i'r diwedddar Mr. N. Stephens, Liverpool, yr hwn oedd ar y pryd yn fyfyriwr yn Aberhonddu, ond gwrthwynebai eraill o herwydd nad oedd yn pregethu yn ddigon Calfinaidd i'w boddio; ond cafodd y rhan fwyaf o honynt fyw yn ddigon hir i weled eu camsynied. Yn mhen ychydig wedi hyny rhoddodd pobl Llangattwg alwad i Mr. Thomas Jones, o athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef yma Tachwedd 4ydd, 1846. Ar y dechreu yr oedd golwg obeithiol yma y buasai yn ddefnyddiol, ac unodd amryw bobl ieuangc a'r eglwys, ond yn mhen dwy flynedd gwnaeth ei feddwl i fyny i fradychu Ymneillduaeth a cheisio urddau yn yr Eglwys Wladol, ac yno y mae etto. Yn mhen ychydig wedi ymadawiad Mr. Jones, daeth gŵr ieuangc heibio, a hoffodd rhai o'r aelodau ei ddoniau yn anghyffredin, fel nad oedd dim a'u boddlonai ond rhoddi galwad iddo. Gwrthwynebai plaid arall ef yn benderfynol iawn, am nad ystyrient ef yn gymwys i'r lle. Y canlyniad fu i'r eglwys fod am rai misoedd mewn cyflwr tra anghysurus. Yn mhen ychydig amlygodd y blaid a wrthwynebai y gŵr ieuangc rhag-crybwylledig awydd am roddi galwad i Mr. E. Watkins, Canaan. Gan fod Mr. Watkins yn adnabyddus i'r holl eglwys a'r gynnulleidfa, unwyd mewn galwad iddo, ac yn fuan trwy ei ysbryd hynaws a'i ddoethineb, adsefydlodd dangnefedd yn yr eglwys. Yn haf y flwyddyn 1850 y dechreuodd Mr. Watkins ei weinidogaeth yma, ac y mae yn parhau yma hyd y dydd hwn, ac yn anwyl gan bawb, proffesedig a dibroffes. Mae pethau wedi

myned rhagddynt yn ddymunol iawn yma oddiar ddyfodiad Mr. Watkins i'r lle bedair blynedd-ar-hugain yn ol. Yn y flwyddyn 1858, adeiladwyd tŷ ysgol ar y Darren at gadw ysgol Sabbothol, cyfarfodydd gweddio, a phregethu achlysurol, ac y mae wedi ac yn bod o wasanaeth arbenig i'r ysgol Frytanaidd yn Nghrughowell, ac mewn llawer dull a modd wedi bod yn fendith i'r ardal er pan y mae ynddi.

Er fod yr eglwys oddiar ei chychwyniad yn 1768, wedi bod yn nodedig am ei doniau a'i gwresogrwydd crefyddol, nid yw wedi bod mor hynod a llawer o eglwysi, llai enwog mewn amryw bethau na hi, am gyfodi pregethwyr. Tua dechreuad y ganrif bresenol daeth Mr. Thomas Powell o ardal Trecastell yma i gadw ysgol, a thra yr oedd yma dechreuodd bregethu. Bu wedi hyny yn weinidog yn Ninbych, Aberhonddu, a Brynbiga. Yn nhymor gweinidogaeth Mr. Hopkins dechreuodd Evan Richards bregethu yma. Yr oedd yn un a gerid yn fawr a'i bregethau yn dra derbyniol; ond clafychodd, ac wedi nychu am rai blynyddau, bu farw o'r darfodedigaeth Chwefror 29ain, 1852; a chladdwyd ef yn mynwent y capel newydd Llangattwg.

Aelod gwreiddiol o'r eglwys hon oedd Mr. William Cattwg Davies, ond yn Maesteg y dechreuodd ef bregethu.

Er na chyfododd yma nemawr o bregethwyr, nid oes nemawr o eglwys yn Nghymru, os oes un, yn ol ei rhif, wedi cyfodi mwy o aelodau rhagorol am eu ffyddlondeb, eu gwresogrwydd crefyddol, eu sel dros yr hyn a ystyrient yn athrawiaeth iachus, a'u gwybodaeth ysgrythyrol.

Yr oedd Francis Williams yn un o'r aelodau yma ar ffurfiad yr eglwys, ac yn ddyn da a ffyddlon iawn. Bu yn preswylio am dymor yn y Prisk, symudodd oddiyno i'r Beiliau, yn mhlwyf Llangynnidr, ac oddiyno drachefn i Benycroeslan, yn mhlwyf Llangattwg, lle y terfynodd ei oes Tachwedd 6ed, 1829, yn 97 ml. oed. Bu yn ffyddlon yn hen gapel Llangattwg am 61 o flynyddau, ac yn ddiacon am y rhan fwyaf o'r amser hwnw. Dywedir iddo unwaith gymeryd ei demtio i dalu am gael gweled *Mountebanks* yn cyflawni eu hystranciau. Yn y cyfarfod eglwysig cyntaf ar ol hyny galwodd y brodyr ef i gyfrif, ond rhoddodd ef ben ar y cwbl pan y dywedodd, "Ni raid i chwi fy ngheryddu i canys y mae fy nghydwybod fy hun wedi gwneyd digon o hyny yn barod." Yn niwedd ei oes, pan yr oedd wedi colli ei olygon, aeth brawd crefyddol i ymweled âg ef, a gofynodd iddo, "A ydych chwi yn dawel eich meddwl; a oes arnoch chwi ddim chwant gweled?" Atebodd yr hen gristion, "Mi garwn allu gweled enw yr Iesu anwyl." Y mae er's blynyddau bellach yn ei weled fel ag y mae. Yr oedd James Morgan, Glanwysg, hefyd yn un o ragorolion y ddaear. Bu yn ddiacon ffyddlon, ac yn ddyn o ddylanwad dirfawr yn yr eglwys hon am flynyddau lawer. Bu farw Ebrill 25ain, 1846. Gŵr nodedig a rhagorol iawn oedd William Parry, Ysw. Cawn achlysur etto i son am dano ef pan y deuwn at hanes Cwmrhos a Thretwr. Bu Aaron Lloyd am flynyddau yn aelod a diacon ffyddlon. Yr oedd golwg fawr gan yr holl eglwys arno fel dyn da a chywir. Mae llawer sydd yn awr yn fyw yn cofio yn dda am Thomas Evans, Penalltisaf. Bu ef am yspaid maith yn ddiacon ac yn flaenor y canu. Dyn hynod o dyner dan y gair ydoedd. Anfynych y gwelid ei ruddiau ef yn sychion wrth wrandaw am Grist a'i groes. Yr oedd John Miles yn ddyn dichlynaidd a ffyddlon iawn. Bu yntau yn ddiacon am dymor maith. Un ffyddlon a nodedig o ddefnyddiol gyda'r ysgol Sabbothol oedd Charles Vaughan, yr henaf, tad-

yn-nghyfraith Mr. Watkins. Bu ef farw mewn henaint teg yn 88 mlwydd oed, Medi 13eg, 1873. Yr oedd ei fab hefyd, Charles Vaughan, yr ieuengaf, yr hwn a fu farw er's tuag ugain mlynedd bellach, yn ŵr ieuangc nodedig o selog, a defnyddiol gyda'r ysgol Sabbothol.

Diaconiaid presenol yr eglwys ydynt, Thomas Evans, John Richards, John Lewis, Reynallt Davies, John Price, David Bevan, William Price, a John Richards, ieuengaf, efe yw ysgrifenydd yr eglwys.*

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Evan Lewis. Nid oes genym ddim i ychwanegu am dano ef at yr hyn a welir yn nglyn a hanes eglwys Hanover.

Morgan Jones. Aelod o Gwmllynfell oedd efe. Cafodd ei dderbyn i athrofa Abergavenny Chwefror 3ydd, 1772, a'i urddo yn Llangattwg, Tachwedd 2il, 1775. Dyma y cwbl a wyddom ni am dano. Mae yn dra thebygol iddo farw yn dra buan wedi ei urddiad.

John Jenkins. Aelod o eglwys yr Alltwen oedd ef. Cafodd ei dderbyn i'r athrofa yn Abergavenny, Mai 8fed, 1776, ac fel y gwelsom, urddwyd ef yn Llangattwg yn 1779. Nid oes genym un wybodaeth am dano o ddydd ei urddiad allan.

Howell Powell. Gweler ei gofiant ef yn nglyn a hanes Heol-y-felin, Casnewydd.

David Davies. Ganwyd ef yn Castellbach, gerllaw Llanwrtyd, yn 1762. Derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Llanwrtyd gan Mr. Isaac Price. Wedi iddo ddechreu pregethu, bu am yspaid o amser yn fyfyriwr yn athrofa Arglwyddes Huntington, yn Nhrefecca. Urddwyd ef yn Rhaiadr-gwy Ebrill 9fed, 1789, ac nid yn 1787 fel y cam nodasom yn hanes yr eglwys hono; ni bu ef yn Rhaiadr dros flwyddyn neu flwyddyn a haner. Symudodd oddiyno fel y tybir i'r Aberthyn, yn agos i'r Bontfaen, yn Morganwg. Wedi bod yno dair neu bedair blynedd, symudodd tua 1795 i Langattwg. Tua diwedd 1796, neu ddechreu y flwyddyn ganlynol, symudodd yn ol i'r Aberthyn o herwydd yr ychydig derfysg a gyfodasai yn yr eglwys. Ond wrth symud ni wnaeth ddim ond neidio o'r badell ffrio i'r tân, oblegid cyfododd terfysg arswydus yn yr Aberthyn yn y flwyddyn 1797. Yr oedd gan Mr. Peter Williams amryw ddysgyblion yn yr eglwys hono yn dal golygiadau Sabelaidd. Wedi i'r pleidiau ymgynenu llawer, a chloi drysau y capel yn erbyn eu gilydd, aeth Mr. Davies o'r Alltwen a rhyw weinidog arall yno un bore Sabboth, ar gais mwyafrif yr eglwys ar gweinidog mae yn sicr, a diarddelasant driugain o'r Sabeliaid. Bu pethau mor chwerw yma fel y dywedir fod Mr. Davies, y gweinidog, wedi bod mewn enbydrwydd am ei fywyd. Nid rhyfedd, gan hyny, iddo, pan y cafodd gynyg i ddychwelyd i Langattwg yn 1798, dderbyn y cynygiad. Wedi dychwelyd i Langattwg parhaodd i lafurio yno gyda chymeradwyaeth mawr hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le Rhagfyr 21ain, 1826. Claddwyd ef y 25ain o'r un mis, sef dydd Nadolig, wrth hen gapel Llangattwg. Cyn rhoddi y corph yn y bedd pregethodd Mr.

* Yr ydym yn ddyledus am lawer o'r ffeithiau blaenorol i ysgrif a gawsom oddiwrth Mr. Lewis Richards.

D. Lewis, Aber, i dorf wylofus oddiwrth 1 Cor. ii. 4. Dichon na fu un gweinidog erioed yn fwy parchus gan bobl ei ofal na Mr. Davies. Barnent hwy mae efe oedd y duwinydd a'r pregethwr galluocaf yn yr holl wlad. Ni adawodd un athraw anysbrydoledig erioed argraff ei olygiadau yn ddyfnach ar ei ddysgyblion nag ef. Braidd nad edrychent arno fel oracl anffaeledig. Yr oedd ef yn drindodwr selog ac yn Galfiniad uchel, ac felly yr oedd yr aelodau oll. Dywedir ei fod yn un poeth iawn ei dymer, ac i hyny fod yn anfantais iddo lawer gwaith wrth ymdrafod a dynion. Ond yr oedd y diffyg o lywodraeth dros ei dymherau yn cael ei esgusodi gan bob un adnabyddus o'i gywirdeb a'i ragoriaethau, a chan fod poethder ei dymer yn hysbys i'w gyfeillion yr oeddynt yn wyliadwrus rhag ei gyffroi. Yr oedd yn bregethwr tanllyd a nodedig o effeithiol, ac y mae nodwedd y crefyddwyr a fagwyd dan ei weinidogaeth, amryw o ba rai a adwaenem yn dda, yn profi tuhwnt i bob dadl mai nid swn heb sylwedd oedd ei bregethau. Os dywedir ei fod ef ei hun yn rhy gul ei feddwl i dderbyn goleuni newydd ar unrhyw fater, a'i fod yn dysgu ei ddysgyblion i fod yr un fath, atebwn fod llai o berygl yn hyny na myned i'r eithafion o fod yn sigledig ein barn ar bob pwngc. Peth difrifol yw i bregethwyr drin pynciau sylfaenol crefydd fel cwestiynau agored y gellir yn ddiberygl eu hameu a dadleu yn eu herbyn. Os oedd Mr. Davies a'i gydoeswyr yn amlygu mesur gormodol o anffaeledigrwydd ac ystyfnigrwydd wrth bleidio eu golygiadau, onid oes lle i ofni fod llawer yn yr oes hon yn rhedeg i'r eithafion gwrthwynebol o ddal pob pwngc yn llac ac fel peth dibwys.

## SILOAM, LLANELLI.

Fel y nodasom yn hanes Llangattwg, yr oedd haner cant o Ymneillduwyr yn y plwyf hwn mor foreu a'r flwyddyn 1673, ac nid yw yn debygol i Ymneillduaeth lwyr ollwng ei gafael yma o'r pryd hwnw hyd y dydd hwn. Y mae eglwys gref o Fedyddwyr yn Llanwenarth er 1653, ac y mae eglwysi Annibynol wedi parhau yn Abergavenny a Blaenau Gwent o amser y werin-lywodraeth hyd yn bresenol. Mae yn ddiau fod rhai o drigolion Llanelli o oes i oes yn perthyn i'r naill neu y llall o'r eglwysi hyn. Yr oedd pump o'r deuddeg aelod a ffurfiwyd yn eglwys yn Llangattwg yn 1768 yn byw yn y plwyf hwn. Wedi i Mr. David Davies ymsefydlu yn Llangattwg, byddai yn pregethu yn fynych mewn anedddai yn mhlwyf Llanelli, ond nid ymddengys i addoldy gael ei adeiladu yma cyn tymor Mr. Hopkins. Yn fuan wedi ei sefydliad ef yn Llangattwg, ychwanegwyd yn ddirfawr at rif yr aelodau a'r gwrandawyr o ba rai yr oedd nifer mawr yn byw yn Llanelli, ac yn ngwres y diwygiad grymus a ymdaenodd trwy yr holl wlad yn 1828, a'r flwyddyn ganlynol, penderfynwyd cael capel Annibynol yn Llanelli. Adeiladwyd y capel yn 1829, yn dŷ helaeth a phrydferth iawn. Cyn fod y capel wedi ei orphen yr oeddid wedi penderfynu ffurfio yma eglwys Annibynol, a rhoddi galwad i weinidog, gan fod cylch gweinidogaeth Mr. Hopkins yn rhy eang iddo allu gofalu am y cwbl. Cynaliwyd cyfarfodydd agoriad y capel Rhagfyr 15fed a'r 16eg, 1829, ac ar yr un pryd ffurfiwyd yma eglwys, cynwysedig yn benaf o aelodau a ollyngesid trwy lythyrau o Langattwg, ac urddwyd Mr. Richard Jones, Carmel, Llanguwg, yr un dydd yn weinidog i'r eglwys ieuangc. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Meistri J. Rowlands,

Cwmllynfell; D. Lewis, Aber; M. Jones, Bethesda, Merthyr; J. Ridge, Cendl; R. Howells, Baran; P. Griffiths, Alltwen; E. Skeel, Abergavenny; J. Jones, Talgarth, &c. Llanwyd y capel yn ddioed o aelodau a gwrandawyr, a bu Mr. Jones yma yn gysurus a llwyddianus hyd ddechreu y flwyddyn 1835, pryd y symudodd i Dalgarth. Dilynwyd ef yma gan Mr. Evan Watkins, aelod o eglwys Cwmllynfell, yr hwn a urddwyd Rhagfyr 22ain a'r 23ain, 1835. Cymerodd y gweinidogion canlynol ran yn y gwasanaeth: Meistri P. Griffiths, Alltwen; M. Morgans, Blaenafon; W. Hopkins, Llangattwg; R. Jones, Talgarth; D. Lewis, Abergavenny, a W. Williams, Tredwstan. Bu Mr. Watkins yma yn rhyfeddol o gysurus a pharchus hyd 1842, pryd y symudodd i Ganaan, Abertawy. Yr oedd yr achos wedi ennill tir yn raddol o flwyddyn i flwyddyn o'i gychwyniad hyd ymadawiad Mr. Watkins, a'r eglwys wedi mwynhau tangnefedd didor. Cafodd yr eglwys ei bendithio yn nhymor gweinidogaeth Mr. Watkins a diwygiad crefyddol bendithiol iawn, pryd yr ychwanegwyd degau at yr achos, ac yn eu mysg amryw ddynion nodedig o weithgar a defnyddiol. Ar ei ymadawiad oddiyma i Ganaan a Bethel gerllaw Abertawy, anrhegwyd ef a chopi prydferth o'r Bibl amlieithog, yr hwn oedd yn werth dros ddwy bunt ar hugain. Mewn galar a llawer o ddagrau yr ymadawodd Mr. Watkins a phobl Llanelli a'u gilydd, ac y maent yn anwylo eu gilydd yn fawr hyd y dydd hwn.

Wedi bod heb weinidog am tua naw mis rhoddwyd galwad i Mr. John Williams, yr hwn a fuasai am ychydig amser yn weinidog yn Llanberis, sir Gaernarfon. Cynaliwyd cyfarfod ei sefydliad ef yma yn Gorphenaf, 1843, ond cyn pen blwyddyn cyfododd anghydfod blin yn yr eglwys, yr hyn a derfynodd yn ymadawiad Mr. Williams ac ychydig o'r aelodau a ymlynent wrtho. Cychwynasant achos arall yn y gymydogaeth, ond ni buont yn hir cyn ymwrthod a Mr. Williams. Adeiladasant gapel bychan, a alwent Bethania, yn agos i Bwll-y-cwn, tua milldir yn uwch i fyny yn y Cwm na Siloam. Bu yno gynnulleidfa fechan yn addoli am ddeg neu ddeuddeng mlynedd, ond aeth yr achos i'r dim yno, ond gwerthwyd y capel i'r eglwys Wladol er's blynyddau bellach. Ymadnewyddodd yr eglwys yn Siloam yn dra buan ar ol y terfysg, ac y mae oddiar hyny hyd yn awr wedi mwynhau heddwch a chysur mawr. Yn 1846 rhoddwyd galwad i Mr. John Davies, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Awst 5ed y flwyddyn hono. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. J. Stephens, Brychgoed; holwyd y gofyniadau gan Mr. E. Watkins, Canaan; dyrchafwyd yr urddweddi gan Mr. W. Hopkins, Tretwr; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. E. Davies, athraw ieithyddol athrofa Aberhonddu; ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. D. Williams, Troedrhiwdalar. Gweinyddwyd hefyd yn nghyfarfodydd yr urddiad gan Meistri E. Pritchard, Scethrog; Ll. Powell, Hanover; D. Jones, Aber; D. Stephens, Llanfair; J. Williams, Llangadog; W. Moses, Libanus; T. Havard, Tredwstan; E. Jacob, Abertawy; J. Thomas, Bwlchnewydd; J. Ridge, Cendle, a B. Owen, Soar, Merthyr.

Ymaflodd Mr. Davies yn ei waith a'i holl egni yn ddioed wedi iddo ymsefydlu yn y lle, a chafodd yr eglwys a'r ardal wybod yn mhen ychydig wythnosau fod *dyn* a gweithiwr difefl wedi dyfod i'w plith. Er mwyn helaethu terfynau yr achos adeiladodd ddau ysgoldy, un ar y Darrenfelen, a'r llall ar y Gilwern. A chychwynwyd ysgolion Sabbothol, cyf-

arfodydd gweddio, cyfeillachau, a phregethu achlysurol yn y ddau. Ychwanegodd hyn yn ddirfawr at rym a lluosogrwydd y gynnulleidfa yn y capel. Yn 1849 bu yma adfywiad grymus iawn, pryd yr ychwanegwyd 160 at yr eglwys mewn ychydig fisoedd. Parhaodd Mr. Davies i lafurio yma gydag ymroad a llwyddiant parchus hyd fis Tachwedd, 1854, pryd y symudodd i Aberaman. Teimlai yr eglwys a'r ardal eu bod yn cael colled fawr yn ymadawiad dyn mor ddefnyddiol o'u mysg, ond yr oedd pawb galluog i farnu yn golygu fod Mr. Davies yn gwneyd yn ei le, gan fod Llanelli yn faes rhy gyfyng i ddyn o'i alluoedd a'i weithgarwch ef.

Wedi ymadawiad Mr. Davies bu yr eglwys yn ddoeth a dedwydd iawn yn ei dewisiad o ganlyniedydd iddo. Rhoddodd alwad unfrydol i Mr. David Richards, myfyriwr yn athrofa Aberhonddu. Urddwyd Mr. Richards yma Medi 18fed a'r 19eg, 1855. Yr oedd trefn cyfarfod yr urddiad fel y canlyn. Dechreuwyd trwy weddi gan Mr. E. Watkins, Llangattwg; pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. J. Stephens, Brychgoed; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. E. Lewis, Brynberian; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. C. Gwion, Aberhonddu; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. E. Davies, un o athrawon yr athrofa yn Aberhonddu; ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. J. Davies, Aberaman. Pregethwyd hefyd yn ystod y ddau ddiwrnod gan y Meistri D. Williams, Troedrhiwdalar; N. Stephens, Sirhowy; E. Lewis, Brynberian; D. M. Davies, Cerigcadarn; J. Morris, Aberhonddu, a J. M. Davies, Tabor. Yr oedd pedwar-ar-hugain o weinidogion, a phymtheg o fyfyrwyr yn wyddfodol ar y pryd, a'r cyfarfod trwyddo oll yn nodedig o nefolaidd. Nis gallwn roddi hanes gweinidogaeth Mr. Richards yma yn well nag yn ei eiriau ef ei hun mewn llythyr atom:—"Bum yn dra digalon yn mlynyddau cyntaf fy ngweinidogaeth wrth weled yr achos mor farwaidd a dilewyrch. Yr unig beth oedd yn cadw fy ysbryd i fyny oedd fod y cynnulleidfaoedd yn lluosog, a'r ysgolion Sabbothol yn bur lewyrchus, ond fel y canai Mr. D. Griffiths, Castellnedd:—

> "Y gauaf oedd flin, newidiodd yr hin,
> O'r diwedd daeth toriad y wawr.
> Yr haul ddaeth yn nes mewn goleu a gwres,
> Gogoniant trwy'r nefoedd a'r llawr."

Felly y bu yn Llanelli, fe dorodd y wawr, yn y flwyddyn 1860. Ychydig wythnosau cyn i'r diwygiad dori allan mewn cyfeillach yn Siloam, adroddai Dafydd Phillips, un o'r diaconiaid, freuddwyd hynod: dywedai iddo yn ei freuddwyd weled torf o bobl yn cydgychwyn ac yn cydgerdded ar hyd ffordd gul at fan *flat square*, ac yn ceisio ymaflyd mewn rhyw beth ac yn methu. Gwnai y dorf lawer cynyg i gael gafael yn y peth hwnw ond methent. O'r diwedd gwelai y breuddwydiwr dri dyn y tu allan i'r dorf yn plygu i lawr ac yn cyfodi allwedd mawr ddu-goch, ac yn ei osod yn y ddôr oedd o flaen y dorf, yn ei droi yn y clo, ac yn dadgloi y drws mawr, a'r pryd hwn y cafodd y dorf afael, a gafael iawn oedd hi, yn y peth y methent gael gafael ynddo o'r blaen. Cyfododd amryw yn y gyfeillach i siarad, gan gyfeirio at y breuddwyd. Ni phetrusai Mr. Bowen ei ddeongli trwy ddyweyd mai eglwys Siloam oedd y dorf, ac mai diwygiad crefyddol oedd y peth y ceisient gael gafael ynddo. Yn mhen tua thair wythnos ar ol hyn daeth y breuddwyd i ben i'r llythyren. Ar un nos Sabboth arosodd naw yn y gyfeillach, i raddau mawr yn annisgwyliadwy ar ol amser hir o aflwyddiant, y nos ganlynol safodd dau-ar-bymtheg ar ol,

a nos dranoeth drachefn safodd dau-ar-bymtheg yn y gyfeillach yn ysgoldy y Darrenfelen; ac felly y parhaodd rhyw nifer mwy neu lai i ddyfod yn mlaen am wythnosau. Ar un Sabboth cymundeb derbyniais 53 ar unwaith. Cawsom amlygiadau neillduol o bresenoldeb yr Arglwydd yn ein plith. Cafodd rhai o'r rhai mwyaf annuwiol, paganaidd, ac anystyriol eu dychwelyd yr adeg hono. Nodaf un enghraifft nodedig. Dyn oedd hwn yn byw yn Nghwmnantgarw. Nid oedd wedi bod mewn un lle o addoliad er's blynyddau lawer. Dilyn cwn y byddai efe ar y Suliau, ond un Sabboth aeth i'r *Surgery* i ymofyn am feddyginiaeth i un o'r cwn oedd yn glaf ganddo. Wrth ddychwelyd heibio capel Siloam clywai yno ganu swynol iawn. Trodd i mewn ac eisteddodd ar y *gallery*, a chafodd ei argyhoeddi yn y cyfarfod hwnw ryw beth yn debyg i Saul o Tarsus. Nid arosodd yn y gyfeillach y noson hono, ond ni chafodd esmwythder i'w feddwl heb aros ar ol yn ysgoldy y Darrenfelen y nos Sabboth canlynol, ac y mae y dyn hwn yn aros yn gadarn gyda'r gwaith hyd y dydd hwn.

Un arall oedd Mrs. Walters. Yr oedd hi a'i gŵr wedi dyfod i'r cyfarfod un nos Sabboth i ysgoldy y Darrenfelen i'm gwrandaw i am y waith gyntaf. Nid oeddent nemawr byth yn mynychu moddion gras. Y nos Sul bythgofiadwy hwnw torodd y ddynes hono allan i wylo tua diwedd yr oedfa a gofynai yn brudd pa fodd yr elai allan. Teimlai fod mur uchel rhyngddi ag allan. Llefai am gymhorth ei mam a'i chwaer, "O mam pa le yr ydych? O Caroline pa le yr wyt ti? O deuwch ataf. Pa fodd yr af allan? Nis gallaf byth. Beth a wnaf am drugaredd i'm henaid tlawd?" Rhyw gyfarfod rhyfedd oedd hwnw; y molianu uchel, yr haleliwia, a dyblu y gân am oriau. Arosodd dau-ar-bymtheg yn y gyfeillach y noswaith hono. Felly cefais i a'r eglwys ymweliad grymus iawn oddiwrth yr Arglwydd. Cafodd canoedd eu dychwelyd i'r ffydd, cafodd llawer o grefyddwyr claear a musgrell eu hadnewyddu, a chafodd y saint oeddynt wedi bod yn hir yn bendithio yr Arglwydd yn ei dŷ y nos eu gwledda yn hyfryd. Yn yr amser hwn y derbyniwyd James Morris, yr hwn sydd yn bregethwr cynorthwyol yn New Tredegar, ac yn y diwygiad hwn y cafodd Mr. L. Probert, Pentre Ystrad, ei dderbyn yn aelod, wedi argyhoeddiad llym a thanllyd iawn. Heb fod yn hir wedi hyny anogwyd ef i arfer ei ddawn i bregethu yn gyhoeddus."

Yn fuan ar ol yr amser dedwydd hwn aeth amgylchiadau tymorol y lle i wisgo agwedd wgus iawn. Chwythwyd y ffwrneisi allan, a safodd y gweithfaoedd agos oll, fel y bu raid i ganoedd lawer o'r trigolion symud i ardaloedd ereill. Gwanychodd hyny yr eglwys hon, fel pob eglwys arall yn yr ardal, yn ddirfawr. Dan yr amgylchiadau hyn teimlodd Mr. Richards mai ei ddyledswydd oedd symud i le y gallasai wneyd mwy o ddaioni ynddo, ac felly derbyniodd alwad o Gaerphili. Wedi bod am dymor heb weinidog rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. William Isaac Morris, myfyriwr yn athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef Hydref 19eg, 1864. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. W. Edwards, Aberdar. Holwyd y gofyniadau gan Mr. D. Richards, Caerphili. Dyrchafwyd yr urddweddi gan Mr. E. Watkins, Llangattwg. Pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. J. Davies, Cwmaman, ac i'r eglwys gan Mr. D. Williams, Blaenau.

Yr oedd sefyllfa masnach wedi gwneyd cyfnewidiad mawr yn yr eglwys a'r gynnulleidfa, etto, bu Mr. Morris yma yn barchus a defnyddiol, a siriolodd agwedd dymhorol pethau i fesur; ond yn 1867 derbyniodd Mr.

Morris alwad o Sardis, Pontypridd, a symudodd yno yn mis Mai, 1868. Cyn ymadawiad Mr. Morris rhoddwyd galwad i Mr. Henry Davies, o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Gorphenaf 1af, 1868, pryd y gweinyddwyd gan y gweinidogion canlynol: ar natur eglwys pregethwyd gan Professor Roberts, Aberhonddu. Holwyd y gofyniadau gan Mr. R. S. Williams, Aberhonddu. Dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. E. Watkins, Llangattwg. Pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. T. Jones, Cilcenin; ac i'r eglwys gan Mr. W. T. Morris, Pontypridd. Mae Mr. Davies yn parhau i lafurio yma hyd yn bresenol, ac yn ennill ei barch gan yr holl ardalwyr.

Nid ydym yn gwybod am neb a gyfodwyd yma i bregethu ond James Davies, yr hwn a ymunodd a'r Methodistiaid er's llawer o flynyddau bellach; Lewis Probert gweinidog yr eglwys yn y Pentre, Ystrad Rhondda; a James Morris, yr hwn sydd yn bregethwr cynorthwyol parchus, ac yn awr yn aelod yn New Tredegar.

Bu yma lawer o bersonau ffyddlon a defnyddiol yn perthyn i'r achos o bryd i bryd, yn mysg y rhai gellir crybwyll y rhai canlynol: William Saunders, yr hwn oedd yn aelod gwreiddiol o Dredwstan. Yn ei dŷ ef a thŷ John Jones y byddid yn pregethu cyn adeiladu y capel. Yr oedd y ddau yn frodyr ffyddlon a nodedig o wresog gyda gwaith yr Arglwydd. Margaret Powell, yr oedd hi yn aelod yn Llangattwg er dechreuad yr achos yno, a hi oedd y ddynes y crybwyllasom am dani yn hanes yr eglwys hono fuasai yn cario cerig at adeiladu y capel cyntaf yno. Bu farw mewn henaint teg tua y flwyddyn 1838. Yr oedd Edward a Walter Morgan yn ddynion duwiol iawn, ac yn rhai rhagorol mewn gweddi. Thomas Roberts y Darrenfelen oedd ŵr cadarn yn yr Ysgrythyrau, ac yr oedd Rees Phillip a'i wraig yn bobl anwyl iawn gan Dduw a dynion. Aelodau gwreiddiol o Droedrhiwdalar oedd Dafydd a Joan Davies. Yr oeddynt yn gymeriadau anwyl fel Zecharias ac Elizabeth. Mab iddynt hwy oedd John Davies, yr hwn fu yn ddefnyddiol iawn yma, ac wedi hyny yn Abersychan lle y bu farw. Ni oddefa ein terfynau i ni wneyd dim ond crybwyll enwau Thomas Prosser, Thomas Price, Martha Herbert, John Hughes a'i wraig, Sally Evans, Rachel Miles, a Daniel Price, y rhai a fuont yn ymdrechgar a defnyddiol yn eu dydd.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Ni bu yr un gweinidog ynglyn ar eglwys hon; ond gan fod Mr. Davies, Caerdydd, wedi marw er y rhoddasom hanes yr eglwys yno; nis gallwn wneyd dim yn well na rhoddi ein cofnodiad o hono ynglyn ar eglwys hon lle yr urddwyd ef, ac y dechreuodd ei weinidogaeth.

JOHN DAVIES. Ganwyd ef Mai 1af, 1824,* mewn lle a elwir Trefenti, yn mhlwyf Myddfai, yn sir Gaerfyrddin. Enwau ei rieni oedd Daniel ac Elizabeth Davies.—Yr oedd yn un o saith o blant, chwech o feibion ac un ferch. Nid oedd ei rieni ond pobl gyffredin eu hamgylchiadau, ond yn ddiwyd

* Y dyddiad uchod a roddai ef i'w enedigaeth, ond y mae ei fam yn dyweyd ei fod yn 53 oed y Calanmai cyn ei farwolaeth; ac yn sicr dylasai hi wybod yn well na neb arall. Os felly rhaid taflu yr holl ddigwyddiadau â nodir ddwy flynedd yn mlaen, ac yr oedd yn ol hyny yn agos i 16eg oed pan y cyfansoddodd farwnad Mr. Davies, Sardis, oblegid Chwefror 2il, 1838, y bu efe farw.

a gonest, ac yn ol eu sefyllfa yn barchus gan bawb o'u cydnabod. Yr oedd John er yn blentyn yn egwan ac eiddil, ac oblegid hyny treuliai lawer iawn o'i amser gyda'i nain Elizabeth Griffith—mam ei fam—yr hon oedd yn hen wraig nodedig o ddeallgar a gwybodus, darllenai bob llyfr da a ddeuai i'w chyrhaedd, ac yr oedd yn un o'r hen aelodau pwysicaf ar gyfrif ei chymeriad yn eglwys Sardis. Yr oedd yn aelod yn Pentretygwyn a Chefarthan, cyn ffurfio yr eglwys yn Sardis; ac ymunodd a'r achos yno ar ei gychwyniad. Bu farw yn 90 mlwydd oed, wedi bod gyda chrefydd 70 o flynyddoedd. Priodolai gwrthrych y cofnodion hyn yr argraffiadau crefyddol cyntaf a wnaed ar ei feddwl i addysgiadau ei nain, ac yr oedd ganddo trwy ei oes barch mawr i'w choffadwriaeth; a dangosodd yn fuan fod y ffydd ddiffuant oedd yn ei nain a'i fam ynddo yntau hefyd. Yr oedd o'i febyd yn mhell uwchlaw ei gyfoedion, a phob amser er mwyn derbyn addysg yn ymhyfrydu yn nghymdeithas y rhai oedd hynach nag ef. Pan yn un-ar-ddeg derbyniwyd ef yn aelod yn Sardis gan yr hybarch D. Davies, ac yr oedd derbyn un mor ieuangc yn beth tra anarferol yn y dyddiau hyny; ac wrth weled ei ysbryd gostyngedig, a doethineb ei atebion, teimlai llawer awydd gofyn, "Beth a fydd y bachgen hwn?" er fod yn bur sicr na ddaeth i galon neb o honynt i ddychmygu y daethai byth y peth y daeth gwedi hyny. Pan o gylch un-ar-ddeg oed aeth i *Factory* wlân yr ochr arall i'r plwyf. Llettyai gyda'i nain, a derbyniai ddeunaw ceiniog yr wythnos o gyflog, o ba rai rhoddai swllt i'r hen wraig am ei letty, a chadwai chwe' cheiniog iddo ei hun. Deuai adref bob nos Sadwrn, a dydd Llun cymerai fwyd gydag ef am yr wythnos. Aeth oddiyno i *Factory* Cwmdwr, a thra yno y cyfansoddodd Farwnad ar ol ei hen weinidog, Mr. Davies, Sardis, ac mae yn gyfansoddiad rhagorol pan gofir mai gwaith bachgen ydyw; ac yn deyrnged ei galon i un y dysgwyd ef o'i febyd i edrych i fyny ato a'i barchu. Wedi bod yno am fwy na blwyddyn a haner, aeth oddiyno i *Factory* yn agos i Bont-senny, Defynog, ac ar ei symudiad y tro yma aeth a'i lythyr cymeradwyaeth gydag ef i eglwys y Brychgoed, lle y derbyniwyd ef yn gynes, ac yn fuan iawn ennillodd serch ac ymddiried yr holl eglwys. Ni bu Mr. Stephens yn hir heb weled fod defnydd pregethwr ynddo. Yr oedd yn nodedig o wylaidd a gostyngedig, yn ffyddlon i holl foddion gras, yn sylwgar ac astud bob amser wrth wrando, ac ni bu ei graffder yn yr ysgol Sabbothol, a'i ddoniau mewn gweddi, yn hir, heb dynu sylw yr holl eglwys hefyd, fel yr anogwyd ef yn unfrydol i ddechreu pregethu. Dechreuodd yn gynar yn haf 1840. Yr oedd ei gyfaill Mr. J. D. Williams, wedi hyny o Gaerdydd, yn cyd-ddechreu pregethu; ond ar gyfrif ei wyleidd-dra yr oedd John Davies yn llawer mwy yn ffafr hen bobl dda y Brychgoed na John Williams; ond yr oeddynt ill dau yn fechgyn ieuaingc addawol iawn, ac wedi eu hanog i bregethu bu yr eglwys a'r gweinidog yn ddigon anrhydeddus i'w cynorthwyo i gael addysg. Aethant i'r ysgol at un David Charles, i Defynog, am yr hon y talai yr eglwys, a llettyent gydag amaethwyr y gymydogaeth y rhai a'u croesawant am fis yn olynol yn ddidal. Mrs. Mary Thomas, Bedlwyn, oedd y gyntaf i wahodd John Davies am fis i aros gyda hi; ac y mae yn dda genym yma gael cofnodi ei henw; a dilynwyd ei hesiampl garedig yn fuan gan eraill; a theimlai Mr. Davies hyd ddyddiau olaf ei fywyd barch dwfn i'w hen gyfeillion yn y Brychgoed, y rhai a fuont mor groesawgar iddo pan yn fachgen digysgod. Ni byddai arno byth gywilydd i gyfeirio at ei gy-

chwyniad dinod, ac edrychai arno ei hun bob amser mewn modd arbenig yn blentyn Rhagluniaeth. Gan nad oedd Mr. Davies wedi cael ond ychydig o fanteision yn flaenorol, yn yr ysgol hono yn Defynog y dechreuwyd ei wreiddio yn elfenau cyntaf addysg; ac ar ol hyny bu yn cadw tipyn o ysgol ei hun dros ychydig. Yn yr adeg hono y cawsom yr hyfrydwch o'i gyfarfod gyntaf erioed. Ar foreu cyfarfod blynyddol Llanymddyfri, yn nechreu haf 1841, fel yr oeddym yn myned gyda'n hen gyfaill hoff Mr. D. Stephens, Glantaf (wedi hyny), i gyfarfod ei frawd o'r Brychgoed, yr hwn a ddisgwylid i'r cyfarfod, pan yr oeddym ychydig y tuallan i'r dref, gwelem Mr. Stephens yn d'od ar ei farch, a bachgen ieuangc yn cerdded gydag ef ar ei draed. "Dyma John Davies" meddai Mr. David Stephens wrthym, "bachgen bach sydd newydd ddechreu pregethu yn y Brychgoed; ac un bach doniol i'w ryfeddu ydyw." Tynodd ein sylw yn y fan. Bachgen bychan ydoedd—bychan iawn hefyd—un o'r rhai mwyaf bachgenaidd yr olwg arno a allesid weled; er ar yr un pryd fod rhyw beth yn ddynol yn ei wyneb, hyd yn nod y pryd hwnw. Nid oedd eisiau craffder mawr i weled fod digon o wahaniaeth rhwng y gwyneb hwnw a'r gwynebau a welir bob dydd. Golwg syml a gwledig oedd arno, ond yn lân a chryno. Côt las o frethyn cartref, y fath ag a wisgid fynychaf gan fechgyn y wlad y dyddiau hyny, ond fod botymau duon arni yn lle y rhai gloywon yn ol yr arfer gyffredin; ac yr oedd ei holl ddillad eraill yn cyfateb. Yr oeddynt yn ddigon gweddus i ddyfod i "dref Llanymddyfri" ar ddydd yr uchel ŵyl; ac etto yn ddigon syml fel nad oedd perygl i neb o bobl dda Myddfai a Sardis, "lle y magesid ef," ofni ei fod yn myned yn falch. Gwylaidd a distaw iawn ydoedd trwy y dydd, ac ofnai yn fawr wthio ei hun i sylw fel ag i fod yn dramgwydd i neb. Ni thybiai ei fod yn deilwng o gael ei alw yn bregethwr, ac oblegid hyny cadwai yn ddigon pell oddiwrth y sêt fawr; a phan y trefnid pa le yr oedd pregethwyr i fyned, ni farnai ei hun yn ddigon pwysig i ddisgwyl rhan na chyfran gyda hwy, a chyda rhyw rai o'i hen gydnabod y bu yn derbyn lluniaeth a chroesaw. Nid rhodres oedd y gwyleidd-dra yma ynddo, ond yr oedd yn hollol naturiol iddo, a gwyddom iddo gael anhawsder mawr i dori drwyddo i fod yn rhydd a diofn; er na bu erioed yn gyfryw ag y buasai perygl i'w hyfdra fod yn boen i neb. Ffurfiasom y pryd hwnw farn uchel am dano, ac ni chawsom byth achos i'w newid na'i chymedroli. Yn fuan ar ol hyny aeth i'r ysgol i Hanover dan ofal Mr. Llewelyn Powell, lle y bu am flwyddyn a haner. Daeth yno i gylch newydd, ac i gael golwg eangach ar y byd. Yr oedd yno amaethwyr cyfrifol yn byw yn frasach na dim a welsai ef yn flaenorol. Yr oedd yr iaith Saesneg yn cael ei siarad yno yn lled gyffredinol, yr hyn oedd yn newydd iddo ef, ond yn fantais ddirfawr. Mae cael cyfleusterau i gyflawni dyledswyddau crefyddol yn yr iaith Saesneg, a chael pregethu ynddi yn achlysurol, a'i siarad mewn teuluoedd yn anmhrisiadwy werthfawr i ddyn ieuangc o ganol y wlad sydd a'i olwg ar y weinidogaeth. Beth bynag fydd medrusrwydd yr athrawon a geir mewn lleoedd gwledig, hollol Gymreig, i gyfranu addysg, teimla yr ysgolheigion byth yr anfantais oddiwrth yr anghyfleustra o eisiau clywed a siarad Saesneg yn y teuluoedd, a chael arfer eu dawn i bregethu yn yr iaith hono. Cafodd Mr. Davies hyny yn Hanover, a theimlai trwy ei oes ei fod ar ei fantais o'r tymor a dreuliodd yno i'w barotoi, nid yn unig i'r Athrofa, ond hefyd at waith ei fywyd. Yno hefyd y daeth i gyffyrddiad a nifer o ddynion ieuaingc oeddynt fel yntau a'u gwyneb ar y weinidog-

aeth, a ffurfiodd gyfeillgarwch â rhai o honynt a barhaodd yn ddidor hyd oni wahanwyd hwy gan angau. Daeth Mr. Noah Stephens ac yntau yn arbenig yn gyfeillion mynwesol. Yr oeddynt fel Dafydd a Jonathan yn "Gariadus ac anwyl yn eu bywyd;" a bu y ddau farw mor agos i'w gilydd fel o'r braidd y gellir dywedyd hefyd, "ac yn eu marwolaeth ni wahanwyd hwynt." Ymdrech galed fu ar Mr. Davies yn yr adeg yma i'w gynnal ei hun yn yr ysgol; ac nid yw yr helbulon yr aeth ef drwyddynt yn ddim ond y peth y gwyr degau o weinidogion goreu Cymru yn dda am danynt wrth ymladd ag anhawsderau er cael ychydig ysgol. Nid oedd ei rieni mewn amgylchiadau y gallasent helpu dim arno—yr oedd yn rhy ienangc i fod wedi gallu darparu ar ei gyfer ei hun trwy ei lafur personol—nid oedd ganddo frawd hynach ar garedigrwydd yr hwn y gallasai syrthio, ac nid oedd un drysorfa gynorthwyol y gwyddai efe am dani i dynu o honi; ei unig adnodd ydoedd ei boblogrwydd ei hun fel pregethwr. Gelwid am dano i ryw le bob Sabboth, ac er na thelid iddo ond ychydig am ei wasanaeth, etto cyrhaeddai y pris uchaf yn marchnad y pregethwyr yn y dyddiau hyny; ac yr oedd yr ychydig a geid yn werthfawr dros ben; a thrwy gynilleb a gofal llwyddodd i glirio ei ffordd, a chadw ei hun o ddyled. Mae un digwyddiad yn nglyn a'i fywyd yn y tymor yma sydd yn werth ei grybwyll, gan ei fod yn dangos nodwedd y dyn yn gystal a thrafferthion myfyrwyr ieuaingc. Yn gydefrydydd âg ef yn Hanover yr oedd Mr. John Price o Bethel, sir Gaernarfon, yr hwn wedi hyny a fu yn gydfyfyriwr âg ef yn Aberhonddu, ac a urddwyd yn y Graig, Rhymni, ac sydd yn awr yn Wisconsin, America, ac a adnabyddir fel John Price Jones. Pan yn Mhorthmadog ar ei ymweliad a'i gartref dangosodd Mr. Ambrose i John Price, lyfryn bychan yn cynwys hanes "Gweledigaethau Rhyfedd o Berthynas i Fyd Arall," gan Robert Young. Yr oedd y llyfr wedi myned trwy chwech-ar-hugain o argraffiadau yn Lloegr, a chan ei fod yn cynwys pethau tra hynod am y gweledigaethau o nefoedd ac uffern, y dywedir i ryw foneddiges pan mewn marwhûn *(trance)*, am wythnos, ei gael, awgrymodd Mr. Ambrose y buasai y fath lyfr yn myned yn dda yn Nghymru pe cyfieithiasid ef; a rhoddodd y llyfr i John Price, yr hwn wedi ei ddychweliad a'i dangosodd i'w gyfaill Mr. John Davies. Penderfynwyd yn y fan ei gyfieithu ai gyhoeddi; a throdd yr anturiaeth allan yn llwyddianus iawn—gwerthwyd miloedd o'r llyfr, oblegid yr oedd o'r fath nodwedd gyffroadol fel yr oedd pawb am weled y "Gweledigaethau Rhyfedd." Beth bynag am y llyfr a'i gynwysiad—ac nis gallwn ddyweyd ein bod yn ei gredu na'i wadu—bu yn ffynhonell werthfawr o elw i'r ddau wr ieuangc, a hyny mewn adeg pan yr oedd y fath help iddynt hwy yn anmhrisiadwy. Yn Mhwyllgor Nadolig, 1842, derbyniwyd Mr. Davies yn fyfyriwr i Athrofa Aberhonddu. Daeth yno i gysylltiadau newyddion drachefn, fel y rhoddwyd iddo syniadau llawer eangach am y byd nag oedd ganddo yn flaenorol. Yr oedd yn mysg y myfyrwyr ar y pryd amryw oedd yn "hŷn o oedran nag ef," ac wedi gweled llawer mwy o'r byd, fel yr edrychai ef a'r rhai oedd gyfoed iddo i fyny atynt fel gwyr o brofiad a barn, a chlywsom ef lawer gwaith yn datgan ei rwymedigaeth i Mri. E. Lewis, (Brynberian); S. Thomas, (Trefdraeth); E. Roberts, (Cwmafon); a W. Edwards, (Aberdar), nid yn gymaint am unrhyw beth pendant a wnaethant iddo,

ac am ddylanwad eu hesiampl bur, a'u hysbryd rhagorol. Bu dyfod i gyffyrddiad ag Ieuan Gwynedd hefyd yn help mawr i ogwyddo ei feddwl at lenyddiaeth, a pheri iddo dalu sylw i ysgrifenu a chyfansoddi Cymraeg. Cyfranogodd yn helaeth o ysbryd diwygiadol ei gydefrydwyr, a gwnaeth ymchwiliad llwyrach i seiliau ei ymneillduaeth, fel y daeth yn gadarn a sefydlog yn ei egwyddorion, a chyn ei ymadawiad a'r athrofa yr oedd yn un o'r dadleuwyr cryfaf o blaid crefydd rydd, ac yn erbyn crefydd sefydledig. Tueddir ni i feddwl mai yn yr athrofa y rhoddwyd i'w feddwl y cyfeiriad ymarferol oedd mor amlwg yn nodweddu ei holl fywyd; a theg ydyw cydnabod fod a fynai cyfeillachu a'i gyfaill a'i gydfyfyriwr Ieuan Gwynedd lawer iawn a'i ffurfio i'r ddelw hono. Ond ni pharodd dim iddo golli ei ysbryd pregethu. Llosgai ei sel mor angerddol ag erioed, ac yr oedd nid yn unig yn dderbyniol ond yn boblogaidd fel pregethwr. Ni bu neb yn mysg holl fyfyrwyr y cyfnod hwnw yn fwy llwyddianus nag ef fel casglwr at yr athrofa. Casglodd ef a'i gyfaill hoff Mr. N. Stephens trwy holl eglwysi sir Forganwg am ddwy flynedd yn olynol; a llwyddasant i gael casglu mewn eglwysi na bu casglu at yr athrofa ynddynt erioed cyn hyny, ac yr oedd casgliad yr ail flwyddyn yn fwy na dwbl yr hyn ydoedd y flwyddyn flaenorol. Yr oedd casglu at yr athrofa yn rhywbeth gwahanol iawn y pryd hwnw i'r hyn ydyw yn awr. Nid oedd y drefn bresenol o anfon y myfyrwyr allan ond newydd ddechreu, ac yr oedd rhagfarn mawr mewn lluaws o eglwysi a gweinidogion hefyd yn erbyn athrofau a myfyrwyr; a llawer brwydr galed a gafodd y tô cyntaf o fyfyrwyr cyn cael rhyddid mewn llawer man i osod eu hachos ger bron y gynnulleidfa, ac yr oedd eu llwyddiant fynychaf i'w briodoli yn fwy i'w poblogrwydd hwy fel pregethwyr nag i ddim arall; ac yn mysg casglwyr y pum' mlynedd cyntaf yr oedd Mr. Davies yn un o'r rhai mwyaf llwyddianus. Yn ei daith y flwyddyn gyntaf trwy sir Forganwg, digwyddodd ei fod mewn eglwys y gwyddai fod ynddi wrthwynebiad mawr i'r athrofa, ac nad oedd erioed wedi casglu. Yr oedd y gweinidog yn absenol, a phe buasai yn bresenol nid oedd yn tybied y buasai o lawer o help. Yr oedd cyhoeddiad gweinidog lled boblogaidd o'r sir i fod yn y lle yr un noson, ac felly daeth cynnulleidfa luosog ynghyd. Erbyn i Mr. Davies gyrhaedd yno o gylch adeg dechreu yr oedfa, cafodd y gweinidog dyeithr yn y tŷ gerllaw y capel a nifer o hen bobl y lle o'i gylch; ond derbyniad oeraidd a digroesaw a gafodd ganddynt. Ni chynygiodd neb gymaint a chadair iddo i eistedd; ac er fod y gweinidog yn ei adnabod yn burion, etto, ni wnaeth fawr sylw o hono. Teimlodd y myfyriwr y sarhad, a dihunodd ei holl enaid gan benderfynu ymladd am ei hawliai. Gofynodd un o bobl y lle iddo ai efe oedd y myfyriwr oedd wedi anfon ei gyhoeddiad yno i gasglu; ac wedi cael atebiad cadarnhaol, ychwanegodd nad oeddynt hwy wedi arfer casglu yno, nac yn meddwl gwneyd, nad oedd athrofeydd yn gwneyd dim ond dysgu balchder i bregethwyr, ac mai rhai heb fod yn un athrofa oedd y pregethwyr goreu; a phethau dylion cyffelyb, y fath ag a glywid yn aml yn y dyddiau hyny gan ddynion anwybodus. Ceisiodd Mr. Davies ei ateb yn hynaws, er fod ei holl natur wedi ei chyffroi, a dywedai mai casglu yr oedd efe yn mhob man, a'i fod wedi cael casgliad mewn amryw fanau lle nad oeddynt wedi casglu erioed cyn hyny; ac apeliodd at y gweinidog dyeithr am ei farn a'i gydymdeimlad; ond ni wnaeth hwnw ond taflu dwfr oer ar y cwbl trwy ddyweyd mai gwell fuasai oedi casglu nes y buasai y gweinidog gartref; ac os barnai yr eglwys ac yntau yn oreu i

gasglu y gallent wneyd hyny ar ryw Sabboth wedi hyny. Gwyddai Mr. Davies yn dda nad oedd hyny yn ddim ond ffordd foneddigaidd o'i droi o'r neilldu, a bod yn sicr os na chesglid y pryd hwnw na chesglid byth. Gofynodd "A oeddynt wedi ei gyhoeddi ef i bregethu?" atebasant eu bod; "Wel" meddai yntau, "cyhoeddiad i gasglu at yr athrofa oedd fy nghyhoeddiad i; ac nid oedd genych hawl i'm cyhoeddi i bregethu os nad oeddych hefyd am ganiatau i mi gasglu;" ac ar hyny aeth ymaith i'r capel gan ei bod yn llawn bryd dechreu. Yr oedd y gynnulleidfa yn un gynes a bywiog iawn, ac felly yn hawdd ei chyffroi a'i thoddi. Tynodd ei olwg ieuangc a bachgenaidd sylw yr holl gynnulleidfa, a chyn ei fod wedi gorphen rhoddi y penill cyntaf allan yr oedd wedi ennill calon y rhan fwyaf; a chyn diwedd y weddi yr oedd yr holl le yn gyffro byw drwyddo; a'r hen bobl oedd mor oer a digroesaw yn y tŷ, wedi eu llwyr orchfygu ganddo. Pregethodd yn fyr a bywiog, gan gadw y gynnulleidfa hyd y diwedd yn yr un ysbryd, ac yr oedd yn amlwg bellach eu bod oll yn ei law ac y cawsai ganddynt beth bynag a ofynasai. Aeth y gweinidog dyeithr i'r pulpud ar ei ol; ac yn ystod y canu daeth un o'r hen ddiaconiaid ato i ddyweyd wrtho y gallai ddyweyd am y casgliad. Pur ddihwyl y digwyddodd y gŵr dyeithr fod y noson hono; yr oedd y myfyriwr bychan wedi lladrata calonau y bobl. Gyda bod y weddi ar y diwedd drosodd, a chyn i'r gweinidog gael hamdden i roddi penill allan, neidiodd Mr. Davies ar ei draed i ddyweyd ei neges, a gwnaeth araeth mor fywiog a doniol dros y casgliad, fel yr aeth y gynnulleidfa i lawn cymaint o hwyl ag y gwelwyd hwy o gwbl yn ystod ei bregeth; a dywedodd yr âi ei hun i un drws, ac fod yn sicr y cai gan ryw frawd caredig fyned i'r drws arall; a phwy oedd y cyntaf i gynyg ei wasanaeth ond yr hen frawd oedd yn y tŷ cyn dechreu yr oedfa yn haeru nad oedd athrofeydd yn gwneyd dim ond dysgu balchder i bregethwyr. Casglodd yno fwy nag a ddychymygodd ei galon, ac ar ddiwedd yr oedfa nid oedd terfyn ar eu caredigrwydd iddo, a chynygid iddo y gadair nesaf i'r tân, a bron nad oedd y gweinidog dyeithr wedi ei lwyr anghofio gan fel yr oedd y myfyriwr doniol wedi swyno eu calonau; ac ni bu yr eglwys hono o hyny allan heb gasglu at yr athrofa, a hyd diwedd ei oes yr oedd Mr. Davies yn un o'i hoff bregethwyr. Rhoddasom yr amgylchiad yn llawn am ei fod yn un o lawer o'r engreifftiau o'r anhawsderau y bu raid i'r tô cyntaf o'r casglwyr at yr athrofa i fyned drwyddo; yn gystal a'i fod yn ddangoseg o'r penderfyniad didroi yn ol oedd yn Mr. Davies, a'i allu nodedig, hyd yn nod y pryd hwnw, i ladd rhagfarnau dynion, ac i gyrhaedd yr amcan ar yr hwn y gosodai ei galon; ac yr oedd poblogrwydd ei ddoniau fel pregethwr yn un o elfenau neillduol ei lwyddiant. Yn nhymor ei arosiad yn yr athrofa bu amryw eglwysi a'u llygaid arno, a bu tebygolrwydd mawr unwaith mai yn Glynnedd yr ymsefydlai. Hoffai ef y lle a'r bobl yn fawr, ac yr oedd llawer o honynt hwythau wedi ymglymu ynddo yntau; ond cyfododd rhyw rwystrau nad oedd yn hawdd myned drwyddynt. Nid oedd yr hen weinidog, Morgan Lewis, wedi cwbl ymryddhau oddiwrth yr eglwys, er ei fod yn hollol analluog i ofalu am dani. Yr oedd Mr. David Williams, Tredwstan, wedi dyfod i Bontwhally i gadw ysgol, ac yn weinidog yn Hermon, ac yr oedd rhai yn ffafriol iddo ef yn Glynnedd. Yr oedd Mr. David Williams yn ddyn cryf, ac felly yn gyfaddas iawn i'r llafur corfforol oedd yn ofynol oddiwrth weinidog yno. Nid oedd Mr. Davies o'r tu arall ond dyn bychan, eiddil, ac ofnai llawer ei fod yn rhy egwan o gorff i'r

llafur gofynol. Wedi iddo un Sabboth bregethu yno yn nodedig o fywiog, dywedai un nad oedd cyn hyny wedi dangos unrhyw sel neillduol drosto; "Trueni na buasai corff cryfach ganddo." "Wel Griffith bach'en, nid corff ych chi yn mofyn mawn pregethwr ond meddwl," atebai ei hen gyfaill ffraeth a pharod Timothy Davies, "Rhaid i chi byth," meddai un hen frawd corfforol oedd yn clywed yr ymddyddan, ac yn bur ffafriol i Mr. D. Williams, "llawer o beth ydi fod corff cryf gan bregethwr." Pa fodd bynag yr oedd gan hen bobl danllyd Glynnedd y parch dyfnaf i Mr. Davies hyd ei farwolaeth; a chanddo yntau yr adgofion hapusaf am y Sabbothau dedwydd a dreuliodd yn eu plith ar ei ymweliadau a'r lle pan yn fyfyriwr yn athrofa Aberhonddu.

Cyn ei fod wedi bod dair blynedd yn yr athrofa, rhoddodd yr eglwys yn Siloam, Llanelli, Brycheiniog, alwad iddo. Yr oeddynt hwy yn adnabyddus iawn o hono ef, ac yntau o honynt hwythau, er yr oedd yn yr ysgol yn Hanover; ac yr oedd llawer iawn o gyfaddasder yn y lle ac yntau i'w gilydd. Yr oedd yr achos yno wedi dyoddef yn fawr trwy yr ymraniad blin a gymerasai le ychydig flynyddau cyn hyny trwy gyndynrwydd ystyfnig un dyn y mynai nifer o ddynion anoeth ei gael yn weinidog; ac o dan yr amgylchiadau hyny dylanwadwyd ar Mr. Davies, a chydsyniodd Pwyllgor yr athrofa i roddi gollyngdod iddo i fyned yno yn Mehefin, 1846, chwe' mis cyn terfyniad yr amser arferol. Clywsom Mr. Davies fwy nag unwaith yn cwyno oblegid iddo wneyd hyny. Nid oedd yn tybied y collasai yr eglwys ddim ped arosasai ychydig fisoedd yn hwy heb fyned yno, a chredai y buasai efe ei hun ar ei ennill trwy aros i orphen ei gwrs rheolaidd, heblaw y buasai yn teimlo yn gryfach mewn pwyllgorau dilynol i ddadleu dros i wŷr ieuaingc, beth bynag fyddo y cymhellion, i aros hyd derfyn eu tymor. Urddwyd ef yn Llanelli, Awst 5ed, 1846. Ymroddodd yn ddioed wedi ei sefydliad yno i wneyd "gwaith efengylwr," a "chyflawni y weinidogaeth" gydag egni a ffyddlondeb mawr. Taflwyd bywyd newydd i holl gylchoedd yr eglwys—sefydlodd ganghenau lle y cynhelid cyfarfodydd gweddio, ac ysgolion Sabbothol er sicrhau y cyrau eithaf, a chyrchai atynt ei hun mor aml ag y gallai. Cymerai ran flaenllaw yn holl symudiadau cyhoeddus yr ardal, ac ni bu enwadau ereill ond ychydig cyn deall fod dyn uwchraddol wedi ymsefydlu yn eu plith; a theimlwyd yn fuan yn ei enwad ef ei hun ei ddylanwad tu allan i'w cylch cartrefol. Fel engraifft o hyny gellir crybwyll ddarfod i gyfarfod cyffredinol o brif ddynion y gwahanol enwadau yn Neheudir Cymru, a gynhaliwyd yn Llanymddyfri, cyn pen blwyddyn wedi ei urddiad, sefydlu arno, a chynyg iddo i fod yn oruchwyliwr yr ysgol Normalaidd oedd ar y pryd wedi cychwyn yn Aberhonddn, ac a symudwyd wedi hyny i Abertawy. Gwrthododd dderbyn yr apwyntiad gan nad oedd dim yn ei olwg mor bwysig a'r weinidogaeth; ond y mae y ffaith ddarfod cynyg y fath swydd bwysig iddo pan mor ieuangc, yn dangos iddo ymddyrchafu i sylw yn fuan; ac y mae yn sicr genym pe derbyniasai y penodiad, mae nid methiant fuasai y cynyg cyntaf i sefydlu Coleg Normalaidd rhyddfrydol yn Neheudir Cymru. Tymor dedwydd iddo ei hun, ac i'r eglwys yn y lle, oedd tymor ei arosiad yn Llanelli, er i sefyllfa masnach beri i lawer symud oddiyno i leoedd ereill yn y wlad, ac i rai o'r dynion goreu ymfudo i America; ac er mor gysurus oedd ei gysylltiadau eglwysig yno, etto yr oedd pawb yn teimlo ei fod ef yn meddu cymhwysderau i faes eangach a phwysicach. Yn mhen pedair blynedd wedi ei sefydliad yno, priododd a Miss M. J. Jones,

merch Mr. Thomas Jones, un o ddiaconiaid yr eglwys dan ei ofal. Priodwyd hwy yn Llanwrtyd, Medi 18fed, 1850, gan y diweddar Mr. J. Griffiths. Cafodd Mr. Davies ynddi "ymgeledd gymhwys" yn ngwir ystyr y gair.—Un yn gallu myned i mewn yn drwyadl i'w holl deimladau, ac yn barod bob amser i'w gefnogi yn ei holl gynlluniau; ac etto yn ddoeth, pwyllus, a thyner. Ei gysuro ef oedd ei phrif hyfrydwch; ac yn sicr rhodd gan yr Arglwydd iddo ydoedd. Ni bu iddynt erioed blant, ac felly cafodd ei dwylaw yn rhyddach i "ofalu am y pethau a berthyn i'r Arglwydd." Mae hi wedi ei gadael yn weddw ar ei ol, wedi cydfyw yn hapus am yn agos i bedair-blynedd-ar-hugain. Yn gynar yn y flwyddyn 1854, derbyniodd Mr. Davies alwad oddiwrth yr eglwys yn Saron, Aberaman, ac wedi bod yn petruso am fisoedd gwnaeth ei feddwl i fyny o'r diwedd i'w hateb yn gadarnhaol. Dechreuodd ei weinidogaeth yno yn mis Tachwedd y flwyddyn hono; ac yr oedd yn Aberdar a'r amgylchoedd faes ardderchog i'w ddoniau amryfath. Yr oedd y Cwm ar ei hyd y pryd hwnw yn ymagor i weithfeydd, a miloedd o bobl yn dylifo i'r lle. Yr oedd yr achos yn Saron wedi myned cyn hyny trwy gryn helbulon, fel yr oedd nifer yr eglwys wedi lleihau, a'r gwrandawyr wedi cilio, a baich trwm o ddyled yn aros. Ymaflodd Mr. Davies yn ei waith o ddifrif, a bu ei sefydliad yn y lle yn adfywiad i'r achos ar unwaith; ac yn iachad i'r hen ddrwg deimladau a achlysurwyd trwy ymrysonau blaenorol. Cynyddodd y gynnulleidfa, a lluosogodd yr eglwys yn ddirfawr, a daeth yr holl blwyf i deimlo fod gŵr grymus a galluog wedi ymsefydlu ynddo. Ymroddodd i gychwyn achos a chodi capel yn Nghwmaman, a bu yn gwylio drosto gyda gofal tad dros ei blentyn. Bu llaw arbenig ganddo yn nghychwyniad yr achos yn Abercwmboy; ac ni chafodd yr achos Saesnaeg yn Aberdar neb yn ffyddlonach nag ef. Cyn pen dwy flynedd wedi ei sefydliad yn Aberaman, aeth Saron, er ei fod yn gapel eang, yn rhy gyfyng, a phenderfynwyd ei helaethu trwy draul o fwy na 950p., a chyfrif yr hyn a dalwyd am ddau dŷ. yr oedd raid eu prynu i wneyd yr helaethiad. Nid oedd ond chwe' blynedd er yr adeiladesid ef o'r blaen, ac yr oedd 250p o'r hen ddyled yn aros, ond yr oedd gan y gweinidog a'r "bobl galon i weithio" fel y toddodd y ddyled yn gyflym.

Wedi treulio yn agos i naw mlynedd yn barchus, ac yn dra llwyddianus yn Aberaman, derbyniodd alwad o Mount Stuart Square, Caerdydd, a symudodd yno yn Mehefin, 1863. Nid oedd y gynnulleidfa ond bechan, ond fod ynddi ychydig bersonau cyfrifol a haelionus, ac amheuai llawer y priodoldeb iddo symud o eglwys luosog, ac oddiwrth gynnulleidfa fawr, fywiog, at gynnulleidfa fechan mewn tref lle mae yr iaith Saesnaeg bron wedi llyncu yr iaith Gymraeg iddi ei hun; ond yr oedd efe yn teimlo ei fod yn gwneyd yn iawn; ac yn aml iawn mewn amgylchiadau o'r fath y dyn ei hun yw y cymhwysaf i farnu pa fodd y dylai wneyd. Mae ganddo ef resymau adnabyddus yn unig iddo ei hun. Pa fodd bynag, yn ddioed wedi ei symudiad dechreuodd weithio o ddifrif. Penderfynwyd codi y capel yn uwch a rhoddi oriel ynddo, ac er i'r draul fyned yn fwy na 620p., talwyd y cwbl cyn diwedd cyfarfodydd yr agoriad yn Hydref, 1864. Yr oedd 550p. o hen ddyled yn aros ar y capel cyn gosod yr oriel ynddo; ac yn nechreu 1866, daeth i fryd Mr. Davies trwy addewid am gymhorth oddiwrth Mr. Samuel Morley i dalu y rhai hyny, a chliriwyd y cwbl cyn pen ychydig fisoedd. Ni byddai byth yn arswydo rhag gwaith, nac un amser yn methu mewn dim yr ymaflai ynddo. Cychwynodd achos yn y

Grange Town, ac yr oedd llaw ganddo yn nghychwyniad yr achos yn Canton; ond dichon mai sefydlu yr achos a chodi y capel yn Hannah-street oedd ei orchest benaf, a hyny a barodd iddo y pryder mwyaf. Wrth weled yr anhawsder i gasglu cynnulleidfa luosog o Gymry yn Mount Stuart, daeth i deimlo y dylesid gwneyd ymdrech i sefydlu ychwaneg o achosion Annibynol Saesonig yn y dref lle y mae pedwar o bob pump o'r trigolion yn siarad yr iaith hono. Cymerodd ystafell yn Patrick-street dan ardreth o ugain punt y flwddyn, a dechreuodd bregethu yno yn nechreu y flwyddyn 1866. Arolygai y gwaith ei hun, a phregethai yno mor aml ag y caniatai ei ddyledswyddau Cymreig, a phan na allai fod yno ei hun gofalai am sicrhau gwasanaeth eraill. Ffurfiodd yno eglwys o bedwar-ar-ddeg o aelodau, yr hon a gynnyddodd yn raddol. Trwy lawer o drafferth cafwyd darn cyfleus o dir ar brydles o gant ond un o flynyddau gan Ardalydd Bute, ac adeiladwyd capel arno gwerth 4,150p., a thrwy lafur dihafal y gweinidog yr oedd mwy na 2,500p. wedi eu talu erbyn adeg agoriad y capel yn Mehefin, 1868. Anaml yn hanes yr enwad y ceir y fath engraifft o lafur hunanymwadol. Parodd yr achos yma ac adeiladiad y capel newydd bryder dirfawr i Mr. Davies, a sicr genym i hyny effeithio yn fawr ar ei iechyd, yr hwn ni bu erioed yn gryf. Yr oedd ei ymdeimlad o'i gyfrifoldeb ynglyn ag ef y fath fel y penderfynodd roddi gofal yr achos Cymreig i fyny, gan ymgyflwyno yn hollol i wasanaethu yr achos Saesonig, a gwnaeth hyny er ei fod yn golled iddo mewn ystyr arianol. Rhoddodd yr eglwys yn Mount Stuart Square i fyny yn Gorphenaf, 1868, ac o hyny hyd ddiwedd ei oes lafurus, cyfyngodd ei ofal eglwysig i'r achos yn Hannah-street, yr hwn a sefydlwyd ganddo ef ei hun. Yr oedd ei iechyd erbyn hyn wedi gwanychu yn fawr. Parodd gorlafur a gorbryder yn nghylch yr achos yn Hannah-street ysgdod i'w holl natur, ac a barnu yn ddynol, o'r braidd na ddywedwn ei fod wedi gwneyd cam âg ef ei hun trwy dynu gormod o waith am ei ben. Yr oedd er yn blentyn yn dyoddef oddiwrth beswch yn codi oddiar wendid, a dilynwyd ef gan hwnw drwy ei oes, a throdd yn *asthma* arno; ac ar amserau, yn enwedig os digwyddai gael anwyd byddai yn waeth, o lawer. Tua'r flwyddyn 1871, ymddangosodd ynddo arwyddion y dyfrglwyf, ac ofnai ei feddyg Dr. Edgar Jones, Caerdydd,* am y canlyniadau. Barnwyd fod gorphwysiad hollol oddiwrth lafur dros rai misoedd yn hanfodol iddo, er fod yn amheus iawn er hyny am ei adferiad. Trwy garedigrwydd ychydig gyfeillion cychwynwyd Tysteb iddo yn hollol ddiarwybod iddo ef; a gwnaed y cwbl mor ddistaw a dirgelaidd fel yr oedd yn agos i 400p. wedi eu casglu cyn i Mr. Davies wybod fod dim o'r fath beth ar droed, a phan fynegwyd y peth iddo, tarawyd ef a'r fath syndod fel y teimlai fel un yn breuddwydio. Cyflwynwyd y Dysteb o fwy na 400p. iddo yn ei dŷ ei hun yn mhresenoldeb ychydig gyfeillion, Chwefror 7fed, 1872.

Am y ddwy flynedd ganlynol bu yn hongian megis rhwng bywyd ac angau, a daeth yn ol fwy nag unwaith megis o borth marwolaeth. Treuliodd fisoedd yn Limpley Stoke, a ffynhonau ei wlad yn chwilio am iechyd; ac yn achlysurol deuai adref, a phob tro y gallai bregethu i'w bobl. Aeth lawer gwaith i'w bulpud i bregethu pan y dylasai fod yn ei

* Cafodd y caredigrwydd mwyaf oedd yn bosibl oddiar law Dr. Jones, trwy holl yspaid ei afiechyd. Nis gallasai wneyd mwy i'w frawd, a gwnaeth y cwbl yn rhad, am yr hyn y teimla holl gyfeillion Mr. Davies fel ninau yn dra diolchgar iddo.

wely, ond y fath oedd ei awydd am wneyd ei waith fel na fynai feddwl am roddi i fyny. Pregethodd ddwy waith Sabboth Chwefror 22ain, 1874, ond y dydd Llun canlynol yr oedd yn wael iawn. Dydd Mawrth galwodd ei gyfaill hoff Mr. Stephens, Liverpool, i'w weled gyda bwriad i dreulio y diwrnod gydag ef cyn ei ddychweliad dranoeth i Liverpool; ond yr oedd Mr. Davies yn rhy wael i wneyd fawr fwy nac amneidio a'i law. Yr oedd y ddau yn cydgerdded y glyn, a dyna eu cyfarfyddiad diweddaf yr ochr yma i'r afon. Collodd Mr. Davies yn fuan ei ymwybyddiaeth agos yn hollol, ac nid adnabyddai ei gyfeillion anwylaf yn aml. Parhaodd felly am fisoedd, ond trwy yr holl yspaid ni ddiferodd cymaint a gair anheilwng o'i enau; ac yr oedd yn eglur ei fod a'i fryd ar y pethau y treuliodd ei oes yn eu gwasanaeth. Ymddangosai yn well ambell i ddiwrnod, ond nid i roddi fawr iawn o obaith hyd yn nod i'r un a'i gwyliai a llygaid pryderus nos a dydd; a boreu Gwener, Mai 8fed, 1874, bu farw mewn tawelwch perffaith; a chladdwyd ef y dydd Llun canlynol yn *Cemetery* newydd Caerdydd, a dilynwyd ef i'w orweddle gan dyrfa fawr o bob dosbarth a gradd, fel mai y dystiolaeth gyffredinol oedd na welwyd erioed cyn hyny y fath gladdedigaeth yn y dref; ac yr oedd ugeiniau o'i frodyr yn y weinidogaeth o wahanol enwadau yn bresenol, a diau y buasai yno lawer yn ychwaneg oni buasai fod yr angladd yn digwydd ar ddydd Llun, ac felly yn anghyfleus i rai o bellder mawr i allu cyrhaedd yno yn brydlawn.

Yr ydym wedi rhedeg yn frysiog dros brif ddigwyddiadau ei fywyd, ac er ein bod eisoes wedi myned yn faith, nis gallwn ymatal heb ychwanegu ychydig eiriau ar

### *Nodweddion ei fywyd a'i gymeriad.*

Pe gofynid i ni i ddyweyd mewn un gair pa beth oedd neillduolrwydd ei gymeriad, dywedem mai ei Ysbryd Cyhoedd ydoedd; ac yr oedd holl elfenau eraill ei gymeriad yn is-wasanaethgar i hyny.

Yr oedd o feddwl naturiol clir a gafaelgar. Dangosodd hyny er yn foreu. Pan nad oedd ond plentyn, a'i ben heb fod cyfuwch ag ymyl yr oriel lle y safai, synai bawb a'i atebion pan y byddai yr hybarch Mr. Davies, Sardis, yn holi pyngciau yn ol arfer dda y dyddiau hyny. Diwylliodd ei feddwl yn dda trwy ddarllen a myfyrio, a bu y manteision addysgol a gafodd yn help mawr i ddadblygiad ei alluoedd, fel yr oedd ei ddirnadaeth yn glir, a gallai gymeryd golwg eang a chwmpasog ar bob gwirionedd. Nid ymhonodd erioed i athrylith o radd uchel, ac nid yn fynych yr amcanai at y dwfn ar anhawdd, er fod yn ei feddwl hefyd gryn hoffder o newydd-deb a ffurf hynod ar y gwirionedd; ond ymhyfrydai yn arbenig mewn dwyn pob peth i ryw wedd ymarferol; a theimlem bob amser yn mhob peth a wnai mai hyny oedd ei brif ragoriaeth. Yn ei bregethau a'i ysgrifeniadau pan yn dwyn y gwirionedd adref yn gyfeiriadol at y galon a'r ymarweddiad y gwelid ef yn ei fawr nerth. Teimlem yn wastad fod gwahaniaeth mawr rhyngddo pan yn egluro gwirioneddau yn arddansoddol ac athrawiaethol, a phan yn eu cymhwyso yn ymarferol, a chyda'r olaf yn wastad yr ymddangosai i'r fantais oreu. Nid yn aml y cyfarfuasom a neb mwy amrywiol ei ddoniau. Medrai wneyd tipyn o bob peth, a gwneyd pob peth yn dda. Nid ydym yn dyweyd nad oedd eraill

o'i gyfoed, a allasai ragori arno mewn rhai pethau; ond nid oedd yr un o honynt yn ogyfuwch âg ef, a chymeryd pob peth i ystyriaeth. Os nad oedd yr afon cyn ddyfned ganddo ef a chan rai o'i frodyr, yr oedd hyny nid am nad oedd cymaint o ddwfr ynddi, ond am ei bod yn ymledu dros fwy o dir. Gallesid ymddiried unrhyw orchwyl iddo i'w gyflawni yn hollol ddibetrus, gan deimlo yn gwbl sicr y ceid ef o'i law yn gyflawn a diwall. Yr oedd yn ddoniol a phoblogaidd fel pregethwr. Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at hyn. Ar ei darawiad cyntaf allan yr oedd yn tynu sylw cyffredinol. Yr oedd cynifer o elfenau yn cydgyfarfod ynddo nes ei wneyd yn gymeradwy gan bob dosbarth o wrandawyr. Byddai ei bregethau yn wastad wedi eu meddwl yn dda, ac yn cynwys eglurhad clir ar y testyn a'i gysylltiadau fel y boddheid y dosbarth mwyaf goleuedig o'i wrandawyr; ac yr oedd ei gydmariaethau hapus, ei hanesion tarawiadol, ei ysbryd bywiog, a'i draddodiad tanllyd yn ei wneyd yn dra derbyniol gan rai llai gwybodus. Yr oedd y "mynych wendid" a ddyoddefodd ei hun, yn ei wneyd yn gymhwys iawn i gydymdeimlo a'r rhai a "syrthiant mewn amryw brofedigaethau," a byddai ei weinidogaeth yn aml iawn yn cynwys diddanwch i'r saint yn eu holl orthrymderau, yr hyn a'i gwnai yn nodedig o dderbyniol gan y dosbarth mwyaf profiadol o'i wrandawyr; ac o'r ochr arall yr oedd tuedd ddeffroadol ei bregethau, ar symbyliad a roddid ganddynt i fywyd sanctaidd yn ei wneyd yn hoff bregethwr y rhai a gredent mewn bywyd a gweithgarwch gyda chrefydd. Dichon mai *difrifwch* oedd nodwedd amlycaf ei bregethau.—Gwelid yn amlwg yn ei wedd mai "gŵr Duw" ydoedd. Nid oedd llawer o chwareu yn ei natur. Er ei fod yn nodedig o siriol a chyfeillgar, ac nid oedd neb a allasai fwynhau difyrwch diniwed yn well, ac mewn cwmni nis gallesid cael neb mwy hapus a llawen; etto ni bu neb erioed yn mhellach o gredu mai i "beri chwerthin" y danfonwyd ef i'r byd. Y mae cenhedlaeth o ddynion—athrylithgar hefyd—yn ymddangos fel yn credu mai eu hapostoliaeth hwy yn y byd ydyw difyru pobl, ac y maent yn ddiwyd iawn yn cyflawni eu gweinidogaeth. Difyrant gwmniau a'u chwedlau dyddan, ac a'u dywediadau ffraeth; ac y mae y cwbl mor naturiol iddynt fel pe nas gallant fod yn amgen. Sicr genym fod y fath ddynion yn angenrheidiau mewn cymdeithas, ac y maent yn aml a'u sirioldeb yn goreuro ymylau cymylau duon bywyd; ond nid y dosbarth yna sydd yn gwneyd y swm mwyaf o waith yn y byd; ond dynion llai difyrus fel cwmniwyr, ond mwy defnyddiol fel gweithwyr. Yr oedd Mr. Davies yn siriol a dyddan mewn cymdeithas, ond yr oedd gormod o ddifrifwch yn ei ysbryd, ac o waith yn ei natur i dreulio llawer o'i amser mewn cwmniau segur. Ni chwareuodd ond ychydig pan yn blentyn. Y llyfr oedd ei gydymaith y pryd hwnw; ac yr oedd y ffaith nad oedd ond plentyn eiddil yn ffafr ei nain yn rheswm ychwanegol dros y difrifwch boreuol a weithiwyd ynddo; a dygodd y difrifwch yma gydag ef i'w holl fywyd,—ond yn y pulpud yr oedd amlycaf o bob man. Dechreuai bregethu yn araf a lled ddistaw—yn rhy ddistaw i fod yn glywadwy ar y cyntaf i gynulleidfa fawr—a thebygol mai ei wendid a barodd iddo fabwysiadu y cynllun hwnw. Byddai ei ragymadrodd yn aml yn faith a lled gwmpasog, fel pe buasai yn cymeryd amser i hwylio ei delyn; a byddai yn sicr wedi myned ychydig yn mlaen ar ei bregeth o ddyweyd rhywbeth i weithio ei hun i ffafr y gynulleidfa; ac ni byddai odid un amser yn methu. Anaml y gwelid pregethwr a chynulleidfa ar well telerau gyda'u gilydd. Ni byddai un amser heb ryw

eglurhadau tarawiadol wedi eu cymeryd fynychaf oddiwrth ddigwyddiadau cyfamserol. Ni chai damwain yn y gwaith, na digwyddiad yn y wladwriaeth fyned heibio, heb iddo ef ei droi i ryw wasanaeth yn y pulpud; ac un elfen yn ei boblogrwydd fel pregethwr oedd ei fod yn ymafael yn y pethau y gwyddai fod y bobl ar y pryd yn teimlo dyddordeb ynddynt. Os cai afael ar ddigwyddiad tyner gwnai ddefnydd effeithiol o hono; ac ai trwy fanylion pob amgylchiad yn y fath fodd fel yr oedd pawb yn ei weled yn gyflawn cyn gwneyd y cymhwysiad o hono. Byddai ei wyneb yn cochi, ai lais yn ymddyrchafu fel cloch arian, a gwelsom ef lawer gwaith yn cario cynnulleidfaoedd mawrion gyda'i hyawdledd tyner, ond gwir ddifrifol.

Ond wedi y cwbl, er craffder ei feddwl, a phoblogrwydd ei ddoniau fel pregethwr, yr ydym etto yn credu mai ei *ysbryd cyhoeddus* a'i neillduodd ef oddiwrth ei frodyr, ac a sicrhaodd iddo y fath boblogrwydd a dylanwad yn ei oes. Yn ei gylchoedd cartrefol, fel y gwelsom, bu yn "weithiwr difefl;" ond teimlai hefyd fod gan ei enwad a'i genedl hawl ar ei wasanaeth. Nis gallwn yma gyfeirio at yr holl symudiadau cyhoeddus yn y rhai y cymerai ran arbenig, ond gwyddom na bu unrhyw ysgogiad o bwys yn mysg ei enwad na'i genedl, os credai eu bod er eu hanrhydedd a'u dyrchafiad, nad oedd efe yn un o'r rhai cyntaf i ddyfod allan o'u plaid. Gydag addysg y genedl ni bu neb yn fwy selog, ac o'i sefydliad cafodd Cymdeithas Rhyddhad Crefydd ynddo ef un o'i hamddiffynwyr gonestaf. Gyda "Thrysorfa yr Hen Weinidogion," "Cymdeithas yr achosion Saesonig yn Nghymru," a'r "Colegdy Coffadwriaethol," gweithiodd a'i holl egni. Yr oedd yn ddoeth mewn cyngor—yn fedrus i gynllunio o'u plaid—yn hyawdl ar yr esgynlawr i ddadleu eu hawliau—ac yn ddyfalbarhaol yn ei ymdrech i gasglu ar eu rhan. Byddai ei sel weithiau yn ei gario dros derfynau. Fel y gŵyr y rhai a'i hadwaenent oreu, yr oedd o dymer boethlyd, ac yn hawdd iawn ei gyffroi, ac yn enwedig felly pan yn llawn gwaith a'i holl deimladau ynddo wedi eu llawn ddihuno, ac nid oedd dim a'i cynhyrfai yn fwy o dan yr amgylchiadau hyny na bonglerwaith ei gyfeillion yn dyrysu ei gynlluniadau, neu wrthwynebiad anheg er mwyn drygu ei amcan. Dywedai weithiau wrth ei gyfeillion goreu eiriau chwerwon na oddefasid hwy oddiwrtho oni bai fod ei weithgarwch mor nodedig, ac y gwyddent mai ei awydd am wneyd ei waith yn effeithiol oedd yn peri y cyffroad ynddo; a byddai wedi dyfod i'w le cyn pen ychydig amser, ac ni byddai neb parotach nag ef i wneyd ymddiheurad llawn am bob peth angharedig a ddywedodd. Ond teimlai i'r byw pan welai wrthwynebiad anheg ac ystrywgar yn cael ei ddangos at symudiadau cyhoeddus a gychwynwyd oddiar y dybenion puraf, a mwyaf dihunangais. Cafodd ef, ac eraill, ei ran o hyny yn arbenig gyda'r "Coleg Coffadwriaethol," a "Chymdeithas yr achosion Seisonig;" a hyny oddiwrth ddynion nad aethant erioed gam allan o'u llwybr i wneyd dim er mwyn yr enwad. Gwyddom i'r awgrymiadau iselwael a wnaed gan ddynion eiddigus a chenfigenllyd yn nglyn a'r symudiadau hyn, fyned yn nes at galon Mr. Davies na dim arall a'i cyfarfu yn ei holl fywyd cyhoeddus; ac yn enwedig wrth weled rhai o'r rhai a ddylasant fod yn darian iddo rhag y saethau gwenwynig, yn gwenu yn llechwraidd ar yr ymosodwyr diegwyddor; ac ar un adeg bu yn mron a gwneyd ei feddwl i fyny i

ymddeol yn hollol o'i gysylltiadau cyhoeddus wrth weled mor anheg y trinid y rhai oedd yn gweithio heb gael unrhyw dal am hyny, ond cymeradwyaeth eu cydwybodau eu hunain. Ond nis gallasai teimladau felly aros yn hir yn ei feddwl, gan fod yn eglur iddo fod ei lafur yn rhyngu bodd holl ddynion goreu ei enwad, y rhai oeddynt yn gwir ofalu am achos yr Arglwydd. Yn nglyn a'r symudiadau hyn y traddododd rai o'r areithiau galluocaf a draddododd yn ei fywyd. Yr oedd ei araeth yn nghynadledd bwysig Castellnedd, ddydd Calan, 1862, wrth gynyg cael Coleg i'r enwad i fod yn gofgolofn o aberth y Ddwy Fil Annghydffurfwyr, yn llwyddiant hollol. Dangosodd y fath fedr wrth glirio y tir, a symud anhawsderau, a chydnabod hawliau pethau eraill, fel yr oedd yno bawb, o leiaf ar y pryd, yn barod i ddyweyd nad oedd dim mor gymhwys i fod yn goffadwriaeth o hunanymwadiad y tadau a chael Coleg i'r enwad, er codi i'r weinidogaeth ddynion o'r un ysbryd. Pa gyfnewidiad bynag a ddaeth i farn a theimlad rhyw rai ar ol hyny, yr oedd yno, ar y pryd, yr unfrydedd mwyaf; a chredwn fod a fynai araeth deg, glir, a chref Mr. Davies lawer iawn a'u dwyn i'r teimlad hwnw. Byddem bob amser yn barnu, ac nid ydym yn awr wrth adfyfyrio yn cael achos i newid ein barn, ei fod yn rhagori fel areithiwr, hyd yn nod arno ei hun fel pregethwr. Anaml byth y methai ei nod pan yn gwneyd araeth ar achlysur pwysig. Byddai ganddo ryw ffordd lwyddianus i rwyddhau ei lwybr, a thalu teyrnged i bawb a dybia oedd yn haeddu hyny, a thipyn o sebon i'r rhai y tybiai fod eisiau eu hystwytho; ond pa bryd bynag y gwelid ef yn seboni (fel y dywedir), gellid bod yn sicr ei fod cyn rhoddi i fyny yn meddwl eillio yn lled lwyr. Wedi myned trwy y parotoadau arweiniol hyn, rhoddai ei achos i lawr yn glir a llawn, a dadleuai drosto mor fywiog, a hyawdl fel y byddai yn cario y cwbl o'i flaen. Yr oedd ei araeth yn nghyfarfod diweddaf yr "Undeb Cynnulleidfaol," yn Abertawy, o blaid yr "Achosion Saesonig yn Nghymru," yn un a hir gofir. Yr oedd ar y pryd mewn gwendid mawr, a theimlai llawer fod yr anturiaeth i areithio ger bron y fath dorf aruthrol, i un yn ei sefyllfa ef, yn ymylu ar rytyg; ond yr oedd y cyfle yn un mor werthfawr i ddwyn hawliau y Gymdeithas i sylw, a'r achos mor agos at ei galon fel nas gallas i ei droi heibio beth bynag fuasai y canlyniadau iddo ef yn bersonol. Yr oedd ei waeledd yn help iddo gael cydymdeimlad pawb, a gwnaeth ei waith mor ardderchog fel y teimlai llawer pe buasai yn marw mewn canlyniad i'r ymdrech y noson hono y buasai yn marw yn ogoneddus. Tywysog o ddyn ydoedd mewn gwirionedd, er mewn corff bychan. Yr oedd lle laenu yr achos ar ei galon, ac er ei fod yn dymuno yn dda i bob plaid grefyddol, etto teimlai eiddigedd mawr dros ei enwad ei hun, ac nid oedd dim yn ormod ganddo i'w wneyd er ei buro a'i ddyrchafu. Buom weithiau yn meddwl iddo dreulio gormod o'i amser a'i nerth gyda gwaith materol yr enwad; ond mwy na thebyg mai i'r fath waith y codwyd ef gan Ragluniaeth; ac mai ar ol hyn y gwelir y capelau y bu ganddo ef law arbenig yn eu codiad, yn cael eu llenwi o addolwyr syml a defosiynol. Gallwn edrych ar ei lafur llenyddol fel dadblygiad helaethach o'i ysbryd cyhoeddus. Ysgrifenodd amryw draethodau i'r *Diwygiwr* yn yr un adeg yr oedd yn yr athrofa, ac wedi hyny wedi ei sefydlu yn Llanelli. Cyhoeddodd yno hefyd ddau lyfryn bychan a elwir *Cyfarwyddyd yr Athraw*, a'r *Doniau Gwyrthiol*, a chafodd y blaenaf o'r ddau ledaeniad helaeth. Yr oedd yn un o gychwynwyr yr *Adolygydd*, ac ysgrifenodd lawer iddo. Efe mewn

cysylltiad â g eraill a gychwynodd y *Dyddiadur Deheuol*, yr hwn yn mhen amser a unwyd â'r *Dyddiadur* dan ofal Mr. Pugh, Mostyn, a bu y ddau yn ei gydolygu hyd nes y dymunodd Mr. Pugh gael ymryddhau oddiwrtho, fel y dengys ei lythyrau at Mr. Davies. Yr oedd yn un o gychwynwyr y *Beirniad*, ac yn brif olygydd iddo hyd nes y llwyddwyd ef gan farwolaeth i barhau. Bu yn rhan olygydd ar amryw newyddiaduron Cymreig ar dymhorau, fel trwy ei oes yr oedd ei freichiau yn llawn gwaith. Ysgrifenai yn gyflym mewn arddull boblogaidd, fel y gollyngai lawer o waith trwy ei ddwylaw; ac ysgrifenai y tro cyntaf mor gyflawn a diwall fel na byddai byth dan yr angenrheidrwydd i ail ysgrifenu. Yr oedd cryn lawer o ddelw newyddiadurol ar bob peth a ysgrifenai, ac yr oedd hyny yn codi oddiar ei fod yn gorfod ysgrifenu cymaint; ac yn aml yn gorfod ysgrifenu pan y byddai y cysodwyr ar ei sodlau oblegid fod eraill wedi eu siomi. Gweithiwr anghydmarol ydoedd. Ni fynai roddi i fyny nes cwblhau pa beth bynag yr ymaflai ynddo; ac ymaflai yn fynych mewn pethau y buasai dynion llawer cryfach nag ef yn ymddangosiadol yn dychrynu wrth feddwl eu gwneyd. Gallesid dibynu arno i gyflawni pa beth bynag a addawsai, ac i'w frodyr yn y weinidogaeth ni bu neb erioed yn ffyddlonach, a bob amser yr oedd yn barod i noddi y gwan a'r ieuangc. Wedi cydnabyddiaeth helaeth o hono am fwy na deuddeng-mlynedd ar-hugain, a chael cyfle i'w weled yn mhob math o amgylchiadau, nid oes ynom y gradd lleiaf o betrusder i ddyweyd ei fod yn un o'r dynion mwyaf cwbl ymroddedig i achos ei genedl, ei enwad, a'i Dduw a adnabuasom erioed.

Ni byddai yn iawn i ni derfynu heb gyfeirio at grefyddolder ei ysbryd. Nid yn unig yr oedd ef yn ddyn duwiol, ond yr oedd yn ddyn duwiolfrydig. Yr oedd dwysder a defosiwn yn nodedig yn ei grefydd. Nid effeithiodd ei holl ymwneyd a phethau cyhoeddus, ac ag amgylchiadau allanol yr achos mewn un modd i sychu i fyny ireiddiwch ei ysbryd. Dygwyd ef i fyny o'i febyd dan ddylanwad crefydd o radd uchel, a pharhaodd trwy ei oes i feithrin y teimladau hyny. Teimlai bob amser barch dwfn i bethau cysegredig, ac ni allai oddef clywed dynion yn gwneyd yn hyf ar dŷ Dduw a'i ordinhadau. Yn niwedd haf 1873, ar ei ffordd i gyfarfod "Undeb yr Annibynwyr Cymreig," yn Ngaernarfon aeth i ymweled a'i fam oedranus, am yr hon yr oedd trwy ei oes wedi dangos y gofal tyneraf —ac a'r hen gymydogaeth lle y treuliasai yn ddedwydd ddyddiau ei febyd. Derbyniwyd ef gan ei hen gydnabod fel angel Duw; ac yr oedd yno amryw o'r hen bobl yn cofio yn dda y bachgen bach a dderbyniwyd yn Sardis, ddeugain mlynedd cyn hyny, ac yn llawenhau yn ei gynydd a'i lwyddiant, er yn drist wrth weled y dyn oddiallan yn gwaelu ac yn gwywo. Aeth i gapel Myddfai un bore Sabboth, ond yr oedd yn analluog i bregethu, ond gan ei bod yn Sabboth cymundeb ceisiodd y gweinidog ganddo ddyweyd gair wrth y bwrdd; a dywedodd ychydig eiriau yn y modd mwyaf tyner ac effeithiol nes llwyr orchfygu yr holl gynnulleidfa. Cyfeiriai at yr adeg pan yr oedd ei hun yn blentyn yn lloffi yr hen gapel yn edrych trwy y *railing* yn *front* y *gallery* a'r yr hen bererinion, oedd erbyn hyny yn y nefoedd, yn cofio angau y groes." Teimlwn inau awydd i wneyd hefyd;" meddai, "nid awydd am y bara a'r gwin, ond awydd cofio angau Iesu Grist." Bydd y Sabboth hwnw yn Myddfai a'r Sabboth canlynol yn Sardis yn "ddyddiau i'w cofio." Cadwodd dynerwch ei deimladau crefyddol yn bur hyd y diwedd; ac yr oedd ei gyfeillach a'i weddiau yn profi fod ei enaid yn byw mewm cymunde[illegible] [illegible] os a'r

Arglwydd; fel "er llygru ei ddyn oddiallan yr oedd y dyn oddimewn yn adnewyddu.

Ond efe a fu farw! Ni chawn weled ei wyneb ef mwyach. Ni cha ddarllenwyr y *Beirniad* linell oddiwrtho byth ond hyny. Mae ei deithio, a'i weithio ar ben, ac yntau wedi myned "i orphwys oddiwrth ei lafur." Mae y byd yma yn myned yn wacach i ni o flwydd n i flwyddyn, fel nad oes ganddo gymaint o swyn i'n calon ag a fu; ac y mae y byd ysbrydol yn dyfod yn rhyw fodd yn nes atom fel y mae ein cyfeillion yno yn amlhau. Yn iach, fy mrawd! hyd nes y cyfarfyddwn yn y "wlad well," lle "ni ddywed y preswylwyr claf ydwyf."

## CWMRHOS.

Mae yr addoldy hwn yn mhlwyf y Cwmdu. Yr oedd Ymneillduwyr yn y plwyf hwn o oes i oes er amser y werin-lywodraeth, ond nid ymddengys iddynt wneyd un cynygiad effeithiol at sefydlu achos yma cyn yn agos i ddiwedd y ganrif ddiweddaf. I Dredwstan, Maesyronen, a Llangattwg, y byddai y crefyddwyr Annibynol yma yn myned cyn i'r achos yn Nghwmrhos gael ei sefydlu. Yn y flwyddyn 1785, darfu i Mr. Thomas Bowen, gweinidog Maesyronen, briodi Elizabeth Phillips, Cwmrhos, a daeth o ddydd ei briodas allan i breswylio i'r lle hwnw, ac yno y bu hyd nes y symudodd i Gastellnedd yn y flwyddyn 1795. Yn ystod y deng mlynedd hyny bu pregethu lled gyson yn nhŷ Mr. Bowen. Yn mysg eraill a fuont yma, coffeir gan hen bobl am enwau Edmund Jones, Pontypool; W. Thomas, Bala; D. Thomas, Penmain; E. Skeel, Abergavenny, a Howell Powell, Casnewydd Ar symudiad Mr. Bowen o'r ardal, symudwyd y cyfarfodydd i amaethdy o'r enw Tymawr, ac yno mae yn debygol y buwyd yn cynal y moddion yn benaf hyd y flwyddyn 1807, pryd y prynwyd hen dŷ a gardd, yn agos i'r Tymawr, gan un Thomas Price, am y swm o £65, ac adeiladwyd y capel ar ran o'r ardd yn 1808. Galwyd ei enw *Penuel*. Mewn cysylltiad gweinidogaethol a Llangattwg y mae yr eglwys hon wedi bod o'r dechreuad hyd 1845, pryd y rhoddodd Mr. W. Hopkins ofal Llangattwg i fyny, ac y cyfyngodd ei hun i Gwmrhos a Thretwr. Tua y flwyddyn 1856 darfu cysylltiad Mr. Hopkins a'r lle, ac yn yr un flwyddyn rhoddwyd galwad i Mr. Evan Pritchard, Pennorth. Bu Mr. Pritchard yma yn barchus a defnyddiol hyd Mehefin 1862, pryd y symudodd i Glandwr, Ffynon Taf. Wedi bod am flwyddyn a haner yn ymddifynu ar weinidogaeth achlysurol, rhoddwyd galwad i Mr. David Jones, o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Ionawr 12fed a'r 13eg, 1864. Yr oedd trefn y gwasanaeth fel y canlyn: pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. W. Roberts, Aberhonddu; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. E. Watkins, Llangattwg; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. J. Jones, Rhydri, (tad yr urddedig), pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. H. Oliver, B.A., Pontypridd; ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. J. Stephens, Brychgoed. Bu y Meistriaid J. Davies, Taihirion; T. Evans, Talgarth, ac eraill, yn pregethu yn y prydnawn a'r hwyr. Y mae Mr. Jones yn parhau i lafurio yma hyd yn bresenol, ac yr ydym yn hyderu fod etto flynyddau lawer o ddefnyddioldeb a chysur o'i flaen.

Bu amryw bersonau enwog am eu duwioldeb a'u defnyddioldeb yn dal cysylltiad a'r achos hwn. Yr oedd William Parry, Ysw., o Gwrt Tretwr, yn foneddwr o ran ei amgylchiadau a'i gymeriad, ac yn gristion nodedig o ragorol. Yr oedd ei dad yn eglwyswr selog, ac felly dyoddefodd ef lawer o erlid gan "dylwyth ei dŷ ei hun," o herwydd iddo ymuno a'r Ymneillduwyr. Ond er pob rhwystrau glynodd wrth ei egwyddorion hyd ei fedd. Bu ei dŷ yn gartref i ganoedd o hen bregethwyr Cymru am fwy na deugain mlynedd. Yr oedd ei wraig hefyd yn un o ragorolion y ddaear. Bu Mr. Parry farw yn ddisymwth iawn yn mis Hydref, 1842. Yr oedd Thomas Bevan o'r Llechweddmeurig; yn ddyn hynod am ei ffyddlondeb a'i ddefnyddioldeb gyda'r achos. Bu y gŵr rhagorol hwn farw yn Chwefror, 1864. Hefyd y mae enwau Rees Prosser, ac Evan Morris, yn perarogli yn yr eglwys a'r ardal fel dynion llawn o ysbryd crefydd. Ni chyfodwyd neb yma i bregethu.*

## TRETWR.

Dechreuwyd pregethu yn lled gyson yn Nghwrt Tretwr, tŷ Mr. W. Parry, tua y flwyddyn 1814. Y mae y lle hwn yn agos i haner y ffordd rhwng Cwmrhos a Llangattwg, ac felly byddai rhai o'r ddwy gynnulleidfa yn dyfod i'r cyfarfodydd yma. Byddai naill ai pregeth neu gyfarfod gweddio yn y Cwrt bob nos Sabboth, hyd farwolaeth Mr. Parry yn 1842. Yr oedd y gwasanaeth cyson fuasai yma am wyth-mlynedd-ar-hugain wedi ennill amryw o'r ardalwyr at grefydd, ac felly yn fuan ar ol marwolaeth Mr. Parry, penderfynasant adeiladu capel yn y gymydogaeth. Cafwyd tir at adeiladu y capel gan Mr. Benjamin James, Park Lodge, Llangattwg, am bum' swllt yn y flwyddyn o ardreth, ac adeiladwyd yma gapel bychan tlws yn y flwyddyn 1844, a galwyd ef *Zoar*. Er nad yw yr eglwys hon ond cymharol fechan, y mae yma achos siriol iawn. Cafwyd yma golledion mawr yn ddiweddar, yn marwolaeth Mr. William Isaac, yr hwn a fu farw Chwefror 17eg, 1873. Yr oedd ef yn ddyn defnyddiol, selog, a gwerthfawr iawn. Drachefn yn Tachwedd, 1873, bu farw Mr. John Isaac, Penypentre. Yr oedd yntau yn un o ragorolion y ddaear. Gan mai mewn cysylltiad gweinidogaethol a Chwmrhos y mae yr achos hwn wedi bod o'i gychwyniad, nid oes genym ddim pellach i'w ychwanegu am y gweinidogion nag a gofnodasom yn hanes Cwmrhos. Ni chyfodwyd yma neb i bregethu.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

William Hopkins. Ganwyd ef yn mhlwyf y Bettws, sir Gaerfyrddin, tua y flwyddyn 1803. Ymunodd yn ieuangc a'r eglwys yn Nghwmamman dan weinidogaeth Mr. Rowlands, Cwmllynfell, ac yn fuan wedi hyny dechreuodd bregethu. Wedi bod am rai blynyddau yn ysgol Mr. Howells, Baran; derbyniodd alwad yr eglwysi yn Llangattwg a Chwmrhos, ac urddwyd ef yn Llangattwg yn 1827. Yn 1845 rhoddodd ofal Llangattwg i fyny, a bu wedi hyny yn gweinidogaethu am unarddeg o

* Llythyr Mr. D. Jones.

flynyddau yn Nghwmrhos a Thretwr. O herwydd nad oedd ei ymarweddiad yn deilwng o'i swydd, bu raid i'r eglwysi ymwrthod âg ef yn 1856. Bu wedi hyny am ychydig fisoedd yn pregethu yn Sardis, Varteg, sir Fynwy, ac yna ymfudodd i'r America, lle y bu am ychydig flynyddau yn pregethu mewn rhyw fanau yn nhalaeth Pennsylfania. Amryw flynyddau yn ol syrthiodd oddiar geffyl, yr hyn a fu yn achos o'i farwolaeth. Nid ydym yn awr yn gallu galw i gof pa flwyddyn y bu hyn. Fel y nodasom yn hanes Llangattwg, yr oedd William Hopkins yn un o'r dynion harddaf o gorff, a mwyaf doniol fel pregethwr a welsom ac a glywsom yn ein bywyd. Gan iddo yn fuan wedi ymsefydlu yn yr ardal hon fyned, trwy ei briodas a merch Mr. Parry, Tretwr, i gysylltiad âg un o'r teuluoedd mwyaf parchus yn yr holl wlad, buasai yn un o'r gweinidogion mwyaf poblogaidd, defnyddiol, a dylanwadol yn y Dywysogaeth, pe buasai ei eirwiredd a'i gymeriad moesol yn cyfateb i'w ddoniau, a'i dalent, a'i amgylchiadau bydol manteisiol, ond darfu i'w annoethineb a'i anfoesoldeb anafu y cwbl. Dylai hanes y dyn anffodus hwn fod yn rhybudd difrifol i bob gweinidog ieuangc.

## LLANGYNNIDR.

Mae yn debygol fod rhai Ymneillduwyr yn y plwyf hwn er amser teyrnasiad Siarl I., ac na fu y plwyf heb neb o honynt yn preswylio ynddo o'r pryd hwnw hyd yn bresenol. Yn 1673, yr oedd yma ddau-a-deugain o Ymneillduwyr proffesedig, ac yn 1715, yr oedd yma eglwys Annibynol a'r gynnulleidfa yn gant o rif, ac amryw o honynt yn dirfeddianwyr. Enw y gweinidog y pryd hwnw oedd Evan John. Mae yn debygol i'r achos wanychu yn raddol ar ol hyn, ond ni lwyr ddiffoddodd y tân santaidd yma am flynyddau lawer. Wedi i Mr. John Jenkins gael ei urddo yn Llangattwg, cymerodd dir at adeiladu capel yn Llangynnidr, ac yr ydym yn cael yn nghofnodion eglwys Pentre-ty-gwyn, iddo gasglu yno ar y Sabboth, Awst 5ed, 1781, un-swllt-ar-bymtheg-ar-hugain a chwe' cheiniog, at y capel newydd yn Llangynnidr. Cyn gorphen y capel aeth Mr. Jenkins allan o'r ardal, os nad o'r wlad hefyd, a chyfran o'r hyn a gasglwyd at y capel gydag ef. Felly safodd y gwaith, a gwerthwyd y capel anorphenedig i'r Bedyddwyr, er cael modd i dalu y crefftwyr. Rhoddodd hyn ergyd andwyol i Annibyniaeth yn yr ardal am lawer o flynyddau. O hyn allan byddai yr ychydig Annibynwyr a breswylient yn y plwyf yn myned i Langattwg a'r Aber i gymuno. Tua y flwyddyn 1829, neu cyn hyny, daeth David Thomas, cylchwr, (*cooper*), aelod o'r eglwys yn Carmel, Cendl, i fyw i bentref Llangynnidr. Gan ei fod yn ddyn crefyddol a bywiog iawn ei ysbryd, er na fedrai ddarllen, llwyddodd i sefydlu ysgol Sabbothol a chyfarfodydd gweddio yma, ac i gael pregethwr i ddyfod i bregethu yn awr ac eilwaith yn y pentref a'r ardal mewn anedd-dai. Wrth weled y cyfarfodydd gweddio, yr ysgol Sabbothol, a'r cyfarfodydd pregethu yn myned yn mlaen yn llwyddianus, darfu i David Thomas, Mr. Prosser, Cilwychfach, a Mr. Howell Bevan, Claisfair, y rhai a gydweithient gyda'r ysgol a phob moddion eraill, gymeryd hen anedd-dŷ yn y Pentref, a'i gyfaddasu i fod yn dŷ addoliad. Yr oedd Mr. D. Jones, Cendl, yn dyfod yma yn lled fynych i bregethu, ac wedi cael addoldŷ bychan, penderfynwyd ffurfio eglwys ynddo. Y personau a enwasom yn barod, yn

nghyd a phedwar eraill a dderbyniwyd ar y nos y ffurfiwyd yr eglwys, a wnelent i fyny y gymdeithas fechan ar y dechreu. Cynaliwyd cyfarfod ffurfiad yr eglwys Ebrill 5ed, 1831, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri R. Jones, Llanelli; W. Hopkins, Llangattwg, a D. Lewis, Aber. Boreu dranoeth cynaliwyd cyfarfod i urddo Mr. Daniel Jones, Cendl, yn weinidog i'r eglwys ieuangc. Gweinyddwyd yn yr urddiad gan y Meistri J. Morgans, Dowlais; J. Ridge, Cendl; R. Jones, Llanelli, a D. Williams, Llanwrtyd. Bu Mr. Jones yn ddiwyd a llafurus iawn yma am dair blynedd, ond gan ei fod yn byw yn Nghendl, chwe' milldir oddiyma, a'i fod yn gorfod ennill ei gynaliaeth with dori glo dan y ddaear, a rhyw amgylchiadau anffafriol eraill, rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny yn niwedd y flwyddyn 1834. Yn y flwyddyn ganlynol cymerwyd gofal yr eglwys gan Mr. Hopkins, Llangattwg, a bu yn dyfod yma yn fisol neu fynychach am dair neu bedair blynedd. Yn ei amser ef yma yr adeiladwyd y capel presenol, yr hwn a agorwyd yn 1838. Pregethwyd yn agoriad y capel gan y Meistri D. Davies, Pantteg, sir Gaerfyrddin; D. Jones, Aber; E. Pritchard, Pennorth; W. Moses, Libanus, ac eraill. Yn y flwyddyn 1841, rhoddwyd galwad i Mr. John Protheroe, aelod o Salem, Llanymddyfri, ac urddwyd ef yma Mehefin 11eg, yn yr un flwyddyn. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Meistriaid W. Davies, Llanymddyfri; J. Stephens, Brychgoed; E. Pritchard, Scethrog, ac eraill. Cynyddodd y gynnulleidfa a'r eglwys yn fawr yn nhymor gweinidogaeth Mr. Protheroe, a thrwy ei ymdrechion dibaid, llwyddodd i dalu ymaith gant a haner o'r ddyled oedd yn aros ar y capel. Yn y tymhor hwn yn hanes yr eglwys, bu Mr. David Powell o'r Ffrwd, a'i deulu, a Mr. Daniel Jones o'r Siop, o wasanaeth mawr i'r achos. Tua diwedd 1846, cyfododd rhyw bersonau yn yr eglwys yn erbyn y gweinidog, a chan eu bod yn wrthwynebwyr mor benderfynol iddo, rhoddodd rybudd i'r eglwys ei fod yn rhoddi y weinidogaeth i fyny. Wedi hyny bu yr eglwys fechan ar y Trefil dan ei ofal hyd ei farwolaeth yn Ionawr, 1848. Mae enw Mr. Protheroe yn barchus yma hyd heddyw, ac arwyddion amlwg o wg yr Arglwydd ar y rhai fuont yn achos o'i ymadawiad a'r lle. Yn 1847, rhoddwyd galwad i Mr. Sem Phillips, o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef Mehefin 16eg, y flwyddyn hono. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri D. Williams, Troedrhiwdalar; J. Thomas, Liverpool; D. Jones, Aber; E. Davies, athraw Aberhonddu; W. Hopkins, Tretwr; E. Pritchard, Scethrog; J. Stephens, Brychgoed; N. Stephens, Sirhowy; J. Davies, Llanelli, ac eraill. Wedi bod yma yn llafurus a llwyddianus i dalu y gweddill o'r ddyled oedd yn aros ar y capel, cyfododd rhyw anghydwelediad rhyngddo yntau a rhai o aelodau yr eglwys, ac ymadawodd yn 1854, i Lantrisant, Morganwg. Yn y flwyddyn 1856, rhoddwyd galwad i Mr. David Thomas, o athrofa Aberhonddu. Urddwyd ef yma Hydref 1af, yn y flwyddyn hono. Pregethwyd ar natur eglwys gan T. Rees, Cendl; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. J. Morris, athraw Aberhonddu; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. C. Gwion, Aberhonddu; pregethwyd i'r gweinidog gan Mr. E. Davies, athraw Aberhonddu; ac i'r eglwys gan Mr. J. Stephens, Brychgoed. Mae Mr. Thomas yn parhau i lafurio yma hyd yn bresenol, ac yn dra thebygol o dreulio gweddill ei oes yma. Ni bu yr achos mewn agwedd mor llewyrchus ar un adeg o'i hanes ag yn y deunaw mlynedd y mae Mr. Thomas wedi bod yma. Hyderwn fod blynyddau lawer o gysur a llwyddiant o'i flaen ef a'r eglwys. Mae Mr. Robert Baglyn yn aelod ac yn ddi-

acon defnyddiol yma er's blynyddau lawer. Efe, mewn cysylltiad âg ysgrifenydd yr hanes hwn, tuag ugain mlynedd yn ol, fuont yn offerynol i roddi ergyd marwol i'r dreth eglwys yn mhlwyf Llangynnidr. Pe byddai pob aelod a diacon yn mysg yr Ymneillduwyr trwy yr holl Dywysogaeth mor selog a dianwadal a Robert Baglyn, ni byddai fawr o le gan Doriaeth i osod ei thraed i lawr yn Nghymru. Nid ydym yn gwybod fod yma neb wedi cael ei gyfodi i bregethu oddiar sefydliad yr achos hyd yn bresenol.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Daniel Jones. Ganwyd ef yn mhlwyf Llanwrtyd yn y flwyddyn 1784. Bedyddwyr oedd y rhan fwyaf o'i deulu, ond trwy iddo ef briodi un o deulu Annibynol, cyn iddo wneyd proffes gyhoeddus o grefydd, aeth gyda ei wraig i wrandaw i gapel yr Annibynwyr yn Llanwrtyd, ac ni bu yn hir cyn ymofyn am ei le fel aelod yno. Derbyniwyd ef yn aelod gan Mr. D. Williams. Yn mhen ychydig wedi hyny, oblegid ei gynydd mewn gwybodaeth, ei sel gyda'r achos, a'i ddoniau nodedig mewn gweddi, annogwyd ef gan y gweinidog a'r eglwys i ddechreu pregethu, a'r hyn y cydsyniodd yn y flwyddyn 1814. Yn mhen blwyddyn neu ddwy wedi hyny, symudodd ef a'i deulu i ardal Cendl. Gan nad oedd yr achosion yn Nghendl, Tredegar, Nantyglo, Rhymni, a Blaenafon, y pryd hwnw ond ieuaingc ac eiddil iawn, bu ei ddyfodiad ef i'r ardal o wasanaeth neillduol i grefydd. Wedi i'r rhag-grybwylledig David Thomas symud o Gendl i Langynnidr, dechreuodd Mr. Jones fyned yn lled fynych dros y mynydd yno i bregethu, a thrwy ei lafur ef a D. Thomas, yn benaf, y sefydlwyd yr achos yno. Bu am flynyddau, haf a gauaf, yn myned dros y mynydd i Langynnidr bob Sabboth, ar ol gweithio yn galed fel glowr trwy yr wythnos, ac yn dychwelyd ar ol pregethu nos y Sabboth yn ol i Gendl, fel y buasai gartref mewn pryd i fyned i'w waith boreu dranoeth. Yn Ebrill, 1831, fel y gwelsom, urddwyd ef yn weinidog i'r eglwys ieuangc yn Llangynnidr, a bu yno yn ymdrechgar iawn am dair blynedd, ond gan nad oedd yr eglwys yn alluog i'w gynal heb iddo roddi ei amser at orchwylion bydol anghydweddol a gwaith y weinidogaeth, rhoddodd ofal y lle i fyny yn 1834, ac ni bu mwyach yn weinidog sefydlog mewn un lle, ond parhaodd i bregethu pa le bynag y byddai galwad am ei wasanaeth cyhyd ag y parhaodd ei nerth. Bu am yr wyth neu y deng mlynedd olaf o'i fywyd yn analluog i bregethu nemawr o herwydd diffyg anadl, ac o'r diwedd rhoddodd y dolur poenus hwnw derfyn ar ei einioes, Mai 12fed, 1853, pan yr oedd yn 69 oed. Claddwyd ef yn mynwent Carmel, Cendl, a pregethodd T. Rees, ei weinidog, ei bregeth angladdol. Dyn bychan o gorff, a nodedig o addfwyn ei dymer oedd Daniel Jones. Yr oedd yn bregethwr derbyniol iawn, ac yn weddiwr anghyffredin o effeithiol. Bu o wasanaeth mawr yn ei dymor i achos crefydd, a diau y buasai o fwy gwasanaeth oni buasai fod treuliau ei deulu lluosog yn ei orfodi i roddi ei amser agos oll at orchwylion bydol.

John Protheroe. Ganwyd ef yn Llanymddyfri yn y flwyddyn 1806. Ysgolfeistr oedd ei dad, David Protheroe, ond bu farw pryd nad oedd ei fab John ond pedair blwydd oed. O herwydd hyny nis gallodd ef gael y manteision addysg ag y gawsai pe buasai ei dad, yr hwn oedd yn ddyn crefyddol iawn, yn fyw i'w addysgu. Pan yr oedd yn bedair-ar-bymtheg

oed, derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Salem, Llanymddyfri, yn y flwyddyn 1829, anogwyd ef gan yr eglwys i ddechreu pregethu, ac wedi bod am ddeuddeng mlynedd yn bregethwr cynorthwyol derbyniol yn ei fam eglwys, a'r eglwysi cymydogaethol, derbyniodd alwad oddiwrth yr eglwys yn Llangynnidr, lle yr urddwyd ef, fel y gwelsom, Mehefin 11eg, 1841. Bu yn llwyddianus iawn yno, ac hefyd yn Nyffryn Crownon, fel y cawn ddangos etto. Wedi ei ymadawiad o Langynnidr, bu am y flwyddyn olaf o'i fywyd yn weinidog yr eglwys fechan ar y Trifil. Bu farw yn orfoleddus iawn ar ol ychydig o gystudd Ionawr 1af, 1845, a chladdwyd ef yn mynwent Bethesda, Llangattwg. Yr oedd John Protheroe yn ddyn duwiol iawn, a nodedig o ymroddgar i'w waith fel gweinidog. Yr oedd yn bregethwr buddiol a gwresog, ac yn orlawn o awydd am wneuthur daioni. Mae ei goffadwriaeth yn fendigedig gan bawb o'i gydnabod.

## DYFFRYN CROWNON.

Mae y lle hwn yn mhlwyf Llangynnidr, a'r man y saif y capel tua thair milldir i'r gorllewin o'r pentref. Amaethwyr a'u gweithwyr yn unig yw preswylwyr y dyffryn prydferth hwn. Bu Mr. Daniel Jones, cyn ac ar ol ei urddiad yn Llangynnidr, yn pregethu llawer mewn gwahanol anedd-dai yn y Dyffryn, ond nid ymddengys i neb o'r trigolion ymuno a'r Annibynwyr yn y tymor hwnw. Yn 1834, neu yn fuan ar ol hyny, daeth James Price, aelod o'r Aber, i'r ardal i fyw. Dechreuodd yn fuan gynal cyfarfodydd gweddio o dŷ i dŷ yma, er nad oedd un proffeswr ond ei hun i gyflawni y gwasanaeth. Yn mhen ychydig wedi hyny daeth Thomas Powell, aelod gwreiddiol o Gerrigcadarn, ond yn awr yn aelod yn Llangynnidr, i fyw i'r ardal, ac felly cafodd James Price ŵr cadarn yn yr Ysgrythyrau i gydweithredu âg ef. Yr oedd yr ardalwyr cyn hyn wedi cyfodi tŷ yma at gadw ysgolion dyddiol a Sabbothol. Wedi i Mr. Protheroe gael ei urddo yn Llangynnidr, derbyniwyd amryw o breswylwyr y Dyffryn yn aelodau yno. Wrth weled pethau yn myned yn mlaen yn llwyddianus, a nifer y proffeswyr yn yr ardal wedi lluosogi, cynygiodd Thomas Powell, ar ddiwedd un gyfeillach grefyddol, yr hon a gedwid yn ei dŷ ef, fod capel i gael ei adeiladu yn yr ardal. Cydunodd pawb a hyny, a chafwyd cymorth a chydweithrediad Mr. Williams o'r Neuadd, yr hwn er ei fod yn eglwyswr, a wnaeth fwy na neb arall tuag at adeiladu y capel. Ffurfiwyd yr eglwys, ac agorwyd y capel yma yn 1842, ac yr oedd ychydig arian mewn llaw dros ben talu treuliau yr adeiladaeth ar ddiwedd cyfarfod yr agoriad. Bu Mr. Protheroe yma yn llwyddianus a pharchus iawn hyd nes y darfu ei gysylltiad a'r fam eglwys yn Llangynnidr, yna rhoddodd ofal y lle hwn i fyny hefyd. Dilynwyd ef yn Llangynnidr ac yma, gan Mr. Sem Phillips, ond bu Mr. Phillips yma am ychydig amser wedi iddo ymadael a Llangynnidr. Mae y Dyffryn a Llangynnidr er y flwyddyn 1856, dan ofal gweinidogaethol Mr. David Thomas. Bu yma ddiwygiad grymus iawn yn 1859—60, pryd yr ychwanegwyd amryw at yr eglwys, ac y mae y rhan fwyaf o'r cyfryw yn dal eu ffordd hyd heddyw. Yn 1871, ail adeiladwyd y capel. Y mae yn awr yn addoldy hardd a chyfleus iawn, agorwyd ef Mai 29ain a'r 30ain, yn yr un flwyddyn, pryd y preg-

ethodd y Meistri J. Stephens, Brychgoed; S. Evans, Hebron; L. Jones, Ty'nycoed; W. J. Evans, Tre'castell; P. G. Thomas, Pennorth; R. S. Williams, Aberhonddu; D. Richards, Cae'rphili, ac eraill. Yr oedd traul yr adeiladaeth agos oll mewn llaw erbyn diwedd cyfarfodydd yr agoriad. Teimla yr eglwys a'r gweinidog eu rhwymau neillduol i Mr. Williams o'r Neuadd, a Mr. Morris, Tycanol, am eu hymdrechion gwerthfawr gydag adeiladaeth y capel. Bu yma ddiwygiad grymus iawn yn nechreu y flwyddyn hon (1874), pryd y derbyniwyd y gwrandawyr agos bob un. Gan nad yw poblogaeth yr ardal ond bechan, nis gellir disgwyl y bydd yma byth eglwys luosog iawn ei haelodau, ond nid oes un gynnulleidfa fwy siriol a llewyrchus yn y Dywysogaeth na hon. Yn 1873, cafodd yr achos hwn golled fawr yn marwolaeth annisgwyliadwy Mr. Morris, Tycanol, Hydref 27ain, ac ar yr 22ain o'r mis canlynol, bu farw James Price, y diacon henaf yma. Mae yr awrlais hardd sydd yn y capel yn anrheg oddiwrth eglwys Hebron, sir Benfro, mam eglwys Mr Thomas, y gweinidog. Pe byddai o ryw bwys gellid crybwyll mai *Sardis* y gelwir capel Llangynnidr, a *Zoar* y gelwir capel y Dyffryn. Prin yr ydym ni yn hoffi yr arferiad sydd mor gyffredin yn Nghymru o roddi enwau Iuddewig ar yr addoldai.

## YR ABER.

Mae plwyf Llanfigan, lle y saif y capel hwn, a'r plwyfydd cylchynol, wedi bod yn gartrefle Ymneillduaeth er amser teyrnasiad Siarl I. Mae yn debygol mai trwy weinidogaeth Mr. Jenkin Jones, yr hwn a anwyd ac a fagwyd yn y Tymawr, Llanddetty, y cafodd ei thaenu yma gyntaf, ac fe gafwyd yma ugeiniau o ffyddloniaid i ddal at eu hegwyddorion trwy holl dymor yr erledigaeth, o adferiad Siarl II. hyd esgyniad William III. i'r orsedd. Yn y flwyddyn 1673, yr oedd 75 o Ymneillduwyr proffesedig yn mhlwyf Llanfigan, 54 yn mhlwyf Llanddetty, 42 yn mhlwyf Llangynnidr, ac ychydig yn mhob un o'r plwyfydd cymydogaethol eraill. Fel y nodasom yn hanes Llangynnidr, yr oedd yno gynnulleidfa Ymneillduol o gant o bobl yn 1715. Nid oes genym hanes fod un gynnulleidfa yn Llanfigan, na Llanddetty, yn y cyfnod hwnw, ond y mae yn sicr fod yma lawer o deuluoedd Ymneillduol, a'u bod yn myned i gymuno rhai i Langynnidr, rhai i Aberhonddu, rhai i Dredwstan, a rhai o bosibl i Ferthyr Tydfil. Pan aeth Howell Harries allan yn ysbryd a nerth Elias i gynhyrfu yr holl wlad yn 1735, cafodd dir wedi ei arloesi gan Ymneillduaeth yn ardal yr Aber, ac yn dra buan ffurfiwyd yma gymdeithas grefyddol. Parhaodd y gymdeithas hon, fel amryw o rai cyffelyb, i fod dan weinidogaeth Harries a'i gynorthwywyr, hyd nes i'w gysylltiad ef a'r offeiriaid Methodistaidd ei wneyd yn fwy cul ac eglwysyddol yn ei ysbryd nag yr ydoedd ar gychwyniad ei fywyd cyhoeddus. Pan y cynygiwyd eu gwneyd yn fath o eglwyswyr, cafwyd allan fod gormod o'r elfen Ymneillduol ynddynt i hyny, ac felly, yr un modd a phobl y New Inn, Mynyddislwyn, a'r Groeswen, edrychasant allan am weinidog iddynt eu hunain, ac yn mhen ychydig darfu eu cysylltiad a'r Methodistiaid yn hollol. Mewn lle a elwir Tanywenallt yr oedd y cyfarfodydd yn cael eu cynal yn benaf, oddiar sefydliad cyntaf y gymdeithas grefyddol yn yr ardal, hyd y pryd yr adeiladwyd capel yr Aber. Morgan John Lewis,

Abraham Williams, a William Williams, pregethwyr yn y New Inn, sir Fynwy, a ddeuent yma yn benaf i bregethu, a phan ddarfu i bobl y New Inn ddewis y gwyr hyn yn weinidogion i weinyddu yr ordinhadau iddynt, yn lle myned i'r eglwysi plwyfol i gymuno, fel y mynai Harries, Rowlands, ac eraill iddynt wneyd, darfu i'r gymdeithas yn Tanywenallt wneyd yr un modd. Gweinidogion y New Inn fyddent yn dyfod i dori bara, ac i bregethu iddynt. Tua y flwyddyn 1760, os nad dair neu bedair blynedd cyn hyny, ffurfiwyd y brodyr a'r chwiorydd a berthynent i'r gymdeithas yn Tanywenallt yn eglwys Annibynol, ac anfonasant gais at eglwys y New Inn i ddeisyf arnynt roddi *benthyg* William Williams i fod yn weinidog iddynt. Cydsyniwyd a'u cais, ond ni ddarfu iddynt byth dalu y benthyg yn ol. Yma y treuliodd W. Williams weddill ei oes yn barchus, defnyddiol, a dylanwadol iawn fel gweinidog, ac ysgolfeistr. Yn y flwyddyn 1762, gorphenwyd adeiladu capel cyfleus yn mhentref yr Aber. Howell Williams, Yswain, o'r Berthlwydfawr, yr hwn oedd yn aelod o'r eglwys, roddodd y tir at adeiladu y capel. Cyn fod y capel wedi ei gwbl orphen, bu farw plentyn ieuangc i Mr. H. Williams, ac aeth ag ef i'w gladdu i feddrod y teulu yn mynwent Llanfigan, ond pan gyrhaeddodd yr angladd borth y fynwent, cafwyd allan na ddarllenai yr offeiriad y gwasanaeth, o herwydd mai gweinidog yr Aber oedd wedi bedyddio y baban. Yn wyneb hyny cymerwyd y corff bychan yn ol i'r ty, a phenderfynodd y rhieni ei gladdu dranoeth wrth y capel newydd. Mewn canlyniad i hyn rhoddwyd darn helaethach o dir nag a fwriedid roddi ar y cyntaf i wneyd mynwent. Y baban hwn oedd y cyntaf a gladdwyd wrth gapel yr Aber, ond y mae yno ganoedd, os nad miloedd erbyn hyn yn cydorwedd ag ef. Nid oedd nifer yr eglwys dros ugain pan yr adeiladwyd y capel, ond trwy eu ffyddlondeb, a charedigrwydd y cymydogion, casglwyd digon i dalu traul yr adeiladaeth heb fyned allan o'r ardal i ofyn cymhorth neb. Mr. Howell Williams, perchenog y tir ar ba un yr adeiladwyd y capel, a John D. Abraham, o Danywenallt, oedd y ddau ddiacon cyntaf yn yr eglwys hon, ac un o'r enw William Davies, oedd blaenor y canu. Mewn adeg diweddarach sefydlwyd yma ysgol gân dan lywyddiad un Shon o'r Hendrefawr, a bu ysgol gân yr Aber am oesau yn sefydliad enwog iawn. Yn fuan wedi ei sefydliad yn yr Aber, cymerodd Mr. W. Williams ofal gweinid[illegible]hol y Plough, Aberhonddu, a bu yn gwasanaethu y ddau le cyhyd ag y parhaodd ei nerth. Wedi iddo ef ddechreu llesgau gan henaint, rhoddwyd galwad i Mr. Evan Davies, aelod o eglwys Pencadair, sir Gaerfyrddin, i ddyfod yn gynorthwywr iddo. Urddwyd ef yma tua y flwyddyn 1791, a bu yntau yn weinidog i'r ddwy eglwys, fel ei ragflaenydd, hyd ei farwolaeth yn 1811. Er nad oedd Mr. Davies mor ddoniol fel pregethwr a Mr. Williams, cyfododd trwy ei ddysgeidiaeth, ei gallineb, ei foneddigeiddrwydd, ei weithgarwch, a'i dduwioldeb, i barch a dylanwad mawr yn yr eglwysi oedd dan ei ofal, ac o fewn holl gylch ei adnabyddiaeth. Wedi marwolaeth Mr. Davies, penderfynodd eglwys yr Aber edrych allan am weinidog iddi ei hun, heb fod mewn cysylltiad a'r Plough, fel yr oedd wedi bod am tua haner can' mlynedd. Yn 1813, rhoddwyd galwad i Mr. David Lewis, o athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef yma yn y flwyddyn hono. Daeth Mr. Lewis yn lled fuan i fod yn boblogaidd ac enwog iawn, a thrwy ei enwogrwydd ef fel pregethwr yn mhrif gyfarfodydd yr enwad trwy Frycheiniog, Mynwy, a Morganwg, daeth yr Aber yn lle mwy adnabyddus nag erioed.

Gwasanaethodd Mr. Lewis yr eglwys hon yn effeithiol hyd ddiwedd y flwyddyn 1831, pryd y derbyniodd alwad o Abergavenny, ac y symudodd yno. Colled ddirfawr i'r Aber, ac i sir Frycheiniog, oedd ei symudiad ef, oblegid yr oedd pawb yn edrych arno fel dyn o ddylanwad a gwerth mawr. Yn nhymor ei weinidogaeth yma, derbyniodd o aelodau newyddion, a thrwy lythyrau 157, ac yn y flwyddyn ddiweddaf y bu yma adeiladwyd y capel. Yn y flwyddyn 1832, rhoddwyd galwad i Mr. Evan Davies, o athrofa Neuaddlwyd, ac urddwyd ef yr wythnos gyntaf yn Medi y flwyddyn hono. Bu Mr. Davies yma am dair blynedd a haner, ac yn ystod yr amser hwnw derbyniodd bedwar-ar-hugain o aelodau i'r eglwys. Yn ngwanwyn y flwyddyn 1835, darfu ei gysylltiad ef a'r eglwys, ac ar yr adeg hono methodd y brodyr gydweled a'u gilydd ar bwngc o ddysgyblaeth, a'r canlyniad fu i'r eglwys gael ei rhwygo. Ymadawodd pedwar neu bump-ar-hugain o'r aelodau, ac adeiladasant gapel yn Nhalybont. Bu hyn ar y pryd yn gryn wanychiad i'r fam eglwys, gan nad oedd poblogaeth yr ardal ond cymharol deneu. Yn yr amser cythryblus hwn rhoddodd yr eglwys yn yr Aber alwad i Mr. Daniel Jones, Hermon, sir Gaerfyrddin. Gan fod Mr. Jones y pryd hwnw yn hen weinidog profiadol, a'i fod yn ddyn nodedig o ddengar, yn bregethwr poblogaidd, ac yn llawn o synwyr cyffredin, ni bu ef yn hir cyn llwyddo i iachau yr hen archollion a roddwyd i'r achos gan y rhwygiad. Bu Mr. Jones yn llafurus iawn yma gyda gwaith y weinidogaeth yn ei holl ranau, yn enwedig mewn pregethu yn y capel ac mewn anedd-dai yn mhob cwr o'r ardal, ac mewn ymdrechion parhaus i wneyd yr ysgol Sabbothol yn effeithiol. O Hydref 1836, hyd Hydref 1849, derbyniodd 153 o aelodau i'r eglwys, ac o'r pryd hwnw hyd derfyniad ei weinidogaeth yn 1861, derbyniodd dros haner cant yn ychwaneg. Dichon mai y flwyddyn 1842, oedd y flwyddyn fwyaf llwyddianus yn hanes yr eglwys hon, ychwanegwyd ati yn y flwyddyn hono rai ugeiniau. Ni bu aelodau yr eglwys yma ar un cyfnod o'i hanes dros gant a haner o rif, canys fel y nodwyd, nid yw y boblogaeth ond cymharol deneu, ac y mae y bobl ieuaingc o flwyddyn i flwyddyn trwy yr oesau yn symud o'r ardal i'r gweithfaoedd wrth y degau, ond ar yr un pryd pe buasai crefydd wedi cymeryd gafael mor gyffredinol yn y boblogaeth yma, ag y mae wedi wneyd mewn rhai ardaloedd yn Nghymru, gallesid disgwyl fod yr aelodau yn ddau neu dri chant o rif. Yn nechreu y flwyddyn 1861, derbyniwyd Mr. Jones ar Drysorfa yr Hen Weinidogion, a rhoddodd ei weinidogaeth i fyny, ac yn fuan ar ol hyny rhoddwyd galwad i Mr. John Hughes, o Hanley, yn swydd Stafford. Dechreuodd ei weinidogaeth yma yn Mehefin y flwyddyn hono; a llafuriodd yma yn barchus hyd ei symudiad i Langadog, sir Gaerfyrddin, yn Ebrill, 1870; ac yn ystod y naw mlynedd y bu yn llafurio yma, derbyniwyd rhai ugeiniau i'r eglwys. Yr haf cyntaf wedi ymadawiad Mr. Hughes, rhoddwyd galwad i Mr. David Prosser, aelod o Bentre-estyll, gerllaw Abertawy, ac urddwyd ef Tachwedd 3ydd, 1870. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri J. Stephens, Brychgoed; W. Jenkins, Pentre; D. A. Jones, Cefn; R. S. Williams, Aberhonddu; J. Hughes, Llangadog; E. Watkins, Llangattwg; D. Thomas, Llangynnidr; T. Evans, Talgarth; P. G. Thomas, Pennorth, ac H. Davies, Llanelli. Parha Mr. Prosser i lafurio yma gyda graddau o lwyddiant, ac y mae yr achos yn ei holl ranau mewn agwedd ddymunol.

Nid oes genym sicrwydd am neb a godwyd yma i bregethu, ond

Thomas Williams, mab yr hen weinidog William Williams. Ganwyd ef yn Trefilan, yn agos i Gasnewydd-ar-Wysg, yn y flwyddyn 1755, cyn i'w dad symud o'r New Inn. Derbyniwyd ef yn aelod yn yr Aber pan yn 16eg oed, a'r flwyddyn ganlynol dechreuodd bregethu. Bu am saith mlynedd dan addysg Dr. B. Davies, yn Abergavenny. Urddwyd ef yn *Pump-street*, Worcester, ac wedi gweinidogaethu yno am ddwy flynedd, symudodd i *Eign Brook*, yn Henffordd, a bu yno yn weinidog ffyddlon am bedair-a-deugain mlynedd. Bu farw Chwefror 3ydd, 1826, a chladdwyd ef yn *All Saint's Burial Ground*. Pregethodd Mr. Lewis, o'r Aber, ei bregeth angladdol, yn nghapel *Eign Brook*, i dorf luosog a galarus. Y flwyddyn wedi ei farwolaeth, cyhoeddwyd hanes ei fywyd llafurus a ffyddlon gydag ychydig o'i bregethau.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

WILLIAM WILLIAMS. Ganwyd ef mewn amaethdy a elwir Pontyfelin, yn mhlwyf y Pantteg, Mynwy, yn y flwyddyn 1717. Yr oedd yn frawd i Mr. Abraham Williams, gweinidog y New Inn. Darfu i'r ddau frawd ymuno a'r gymdeithas yn y New Inn, ar ei ffurfiad cyntaf, ac urddwyd hwy yno gan yr aelodau yn gynorthwywyr, neu gydweinidogion a Morgan John Lewis, tua y flwyddyn 1758, ond mae yn ymddan os fod pob un o honynt yn pregethu ddeunaw neu ugain mlynedd cyn hyny. Tua y flwyddyn 1760, neu yn fuan ar ol hyny, aeth pedwar o aelodau y gymdeithas haner Methodistaidd, a gyfarfyddai yn Nhanywenallt, yn agos i'r Aber, i'r New Inn, i ofyn am fenthyg W. Williams, ac aeth yno, ac yno fel y gwelsom y treuliodd ei oes. Bu farw yn y flwyddyn 1800, yn 83 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent yr Aber. Mae yn ymddangos fod Mr. Williams yn ysgolhaig da, a bu am flynyddau lawer yn cadw ysgol lwyddianus iawn yn yr Aber. Yr oedd hefyd yn bregethwr gwresog, efengylaidd, a derbyniol iawn, ond ni chawsom le i ddeall fod unrhyw fawredd nodedig yn perthyn iddo fel pregethwr. Bu o wasanaeth mawr i achos crefydd yn ei oes, ac y mae son parchus am dano wedi cael ei drosglwyddo i'r oes bresenol, trwy yr holl wlad o'r Aber i Aberhonddu.

EVAN DAVIES. Ganwyd ef yn ardal Pencadair, sir Gaerfyrddin. Nid ydym wedi cael allan flwyddyn ei enedigaeth. Bwriadai ei rieni iddo fod yn offeiriad yn yr Eglwys Sefydledig. Wedi iddo fod mewn gwahanol ysgolion, anfonwyd ef i ysgol un Mr. Baker, yn Nghaerfyrddin, i orphen ei addysg. Yn yr ysgol hono y byddai y rhan fwyaf o offeiriaid Cymru y pryd hwnw yn cael eu parotoi i dderbyn urddau. Tuag amser terfyniad ei dymor yn yr ysgol, aeth Mr. Davies adref, ac ar y pryd yr oedd D. Davies, wedi hyny o Abertawy, a Christmas Evans, wedi dyfod i gryn sylw yn ei ardal enedigol ef, fel pregethwyr nodedig o boblogaidd, ac effeithiol, yr oedd D. Davies yn aelod ar y pryd yn Mhencadair, a'i bregethu poblogaidd yn tynu sylw cyffredinol. Rhoddodd y cyffroad crefyddol a gynhyrfai yr ardal gyfeiriad newydd i feddwl Evan Davies, ac er fod ei frawd eisoes yn offeiriad Bangor, sir Aberteifi, a bod ei rieni wedi myned i'r draul o'i addysgu yntau i'r offeiriadaeth, gwrthododd dderbyn urddau esgobol, a bwriodd ei goelbren yn mysg yr Ymneillduwyr. Derbyniwyd ef yn aelod yn Mhencadair, ac yn fuan wedi hyny dechreuodd bregethu. Nid ymddengys iddo fod yn pregethu am nemawr o amser cyn iddo dder-

byn galwadau o'r Aber ac Aberhonddu, i ddyfod yn gynorthwywr i'r hen weinidog Mr. Williams yno. Urddwyd ef yn y flwyddyn 1791. Yn mhen ychydig amser ar ol ei urddiad, priododd un o ferched Mr. Williams. Bu yno yn gysurus am naw mlynedd yn cydweinidogaethu a'i dad-yn-nghyfraith, ac am un-mlynedd-ar-ddeg ar ol ei farwolaeth, bu gofal y ddwy eglwys, yr Aber a'r Plough, yn unig arno ef. Rhyw yspaid cyn terfyn ei oes, ymaflodd y ddarfodedigaeth ynddo, ac wedi nychu am rai misoedd, bu farw Hydref 29ain, 1811, a chladdwyd ef yn mynwent yr Aber. Nis gallasai fod dros o bedair i bump-a-deugain oed pan y bu farw. Dywedir iddo ef ymadael a'r byd mewn teimlad nodedig o orfoleddus a nefolaidd. Y Sabboth ar ol ei gladdedigaeth, traddododd Mr. Lewis, Tredwstan, ei bregeth angladdol yn yr Aber a'r Plough, oddiwrth 2 Cor. v. 1.

Yr oedd Evan Davies yn ddyn dysgedig iawn. Clywsom Mr. Hughes, Groeswen, yn dyweyd y gallasai, ac iddo ef ei glywed, yn darllen darnau o *Pool's Synopsis* yn Gymraeg, mor rhwydd ag y gallai unrhyw ysgolhaig cyffredin gyfieithu rhyw hanesyn eglur wrth ei ddarllen. Er nad oedd yn bregethwr hyawdl, yr oedd ei synwyr cyffredin cryf, ei dduwioldeb amlwg, a'i ymroddiad llwyr i wasanaeth ei Arglwydd, yn ei wneyd yn barchus a phoblogaidd o fewn holl gylch ei gydnabyddiaeth. Yr oedd galar dirfawr ar ei ol yn amser ei farwolaeth, nid yn unig yn mysg pobl ei ofal, ond hefyd trwy yr holl wlad. Yr oedd Mr. Davies yn gefnder i Dr. Phillips, Neuaddlwyd, a Mr. John Phillip Davies, Tredegar, gweinidog enwog yn mysg y Bedyddwyr.

Daniel Jones, oedd fab i Shon Dafydd Mathew, aelod a phregethwr cynorthwyol am fwy na haner can' mlynedd yn Ffaldybrenin, Crugybar, &c. Ganwyd Daniel Jones mewn lle a elwir Ywen-yr-allt, yn mhlwyf Caio, sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1779. Cafodd ychydig o ysgol pan yn blentyn yn ei ardal enedigol. Pan yr oedd rhwng deg a phymtheg oed, gosododd ei dad ef yn egwyddorwas i ddysgu y gelfyddyd o ddilledydd, gyda Simon Thomas Morris, yn Abergorlech. Yn y flwyddyn 1798, derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys Annibynol yn Abergorlech, ac yn y flwyddyn ganlynol, anogodd yr eglwys ef i ddechreu pregethu. Yn fuan ar ol hyny aeth [illegible]sgol Mr. Griffiths, Glandwr, sir Benfro, lle y bu am ddwy flynedd, [illegible] ychwaneg. Yn mhen ychydig wedi iddo ddychwelyd o Glandwr, derbyniodd alwad o eglwys Crugybar, ac urddwyd ef yno Mawrth, 8fed, 1805. Yr oedd y gweinidogion canlynol yn wyddfodol ar yr achlysur, ac amryw o honynt yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth: T. Davies, Pantteg; D. Peter, Caerfyrddin; M. Jones, Trelech; J. Bowen, a T. Jones, Saron; Jonathan Jones, Rhydybont; D. Morgan, Esgairdawe; P. Morris, Ebenezer; T. Skeel, Trefgarn; P. Jenkins, Brychgoed; D. Davies, Sardis; a D. Williams, Troedrhiwdalar. Cyfododd Mr. Jones yn ddioed i enwogrwydd a phoblogrwydd anghyffredin fel pregethwr. Lluosogodd yr eglwys a'r gynnulleidfa yn Nghrugybar yn fawr dan ei weinidogaeth. Derbyniodd 127 o aelodau yno yn y tair blynedd gyntaf ar ol ei urddiad. A'r ddechreuad ei weinidogaeth hefyd cymerodd ofal yr eglwys fechan yn Tabor, Llanwrda. Nid oedd yr eglwys hono pan y cymerodd ef ei gofal yn cynwys dim ond pedwar o aelodau, ond cyn pen nemawr o flynyddau, yr oeddynt wedi lluosogi i gynifer a hyny o ugeiniau. Yn 1806, cymerodd ofal hen eglwys Capel Isaac, mewn cysylltiad a Chrugybar a Thabor, a bu yn myned yno yn fisol am saith mlynedd. Yn

ystod y saith mlynedd hyny, ychwanegwyd chwechugain o aelodau at yr eglwys. Cyn iddo ef gymeryd ei gofal, yr oedd yr hen eglwys hono wedi myned i gyflwr isel a digalon iawn, o herwydd anfoesoldeb y gweinidogion, W. Gibbon a David Jones, y rhai a ddilynasent eu gilydd yno, ac a syrthiasant y naill ar ol y llall i bechodau gwaradwyddus. Yn fuan wedi i Mr. Jones fyned i gyrchu yno, dechreuodd y gwrandawyr a'r aelodau luosogi; ac ni bu nemawr o dymor mwy llewyrchus yn hanes yr hen eglwys hono na'r tymor y bu dan ei ofal ef. Bu am ddwy flynedd yn gofalu am yr eglwys yn Siloam, Pontargothi, ac ychwanegwyd ati gant o aelodau yn ystod yr amser hwnw. Ychwanegwyd hefyd at yr eglwys yn Llangadog, tua thriugain yn ystod y ddwy flynedd y bu ef yn gweinidogaethu iddi. Trwy ei lafur ef y dechreuwyd yr achos blodeuog yn Hermon, Cefnglasfryn, ac efe fu y gweinidog yno agos trwy yr holl yspaid o ddechreuad yr achos hyd ei symudiad i'r Aber. Trwyddo ef hefyd yn benaf, mewn cysylltiad a theulu Bryndyfan, y dechreuwyd yr achos yn Ebenezer, Llansadwrn, a bu llawer a fynai ef a dechreuad yr achos yn Llanfaircludogau, sir Aberteifi. Yr oedd ei gysylltiad a Chrugybar wedi darfod rai blynyddau cyn iddo symud o sir Gaerfyrddin. Yn y flwyddyn 1835, derbyniodd alwad o'r Aber, ac yno, fel y gwelsom, y treuliodd weddill ei oes Derbyniodd yno yn ystod tymor ei weinidogaeth dros ddau gant o aelodau. Wrth deimlo ei hun yn cael ei analluogi gan henaint i gyflawni ei waith fel cynt, anfonodd gais am gael ei dderbyn ar Drysorfa yr Hen Weinidogion, yr hyn a ganiatawyd. Rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny yn nechreu y flwyddyn 1861, ond parhaodd i bregethu hyd o fewn wythnos neu ddwy i'w farwolaeth. Gorphenodd ei fywyd llafurus Ionawr 18fed, 1863, yn agos i 84 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent yr Aber. Rhyw dair neu bedair blynedd y bu Mr. Jones yn briod yn more ei fywyd. Wedi iddo gladdu gwraig ei ieuengctyd, bu yn ŵr gweddw hyd derfyn ei ees. Cafodd fab a merch, y rhai a fuont feirw rai blynyddau o'i flaen ef.

Yr oedd "Daniel Jones, Crugybar," haner can' mlynedd yn ol, mor adnabyddus, parchus, defnyddiol, a phoblogaidd, ag un gweinidog yn Neheudir Cymru, a dichon na fu un gweinidog mwy llafurus a llwyddianus nag ef am rai blynyddau yn yr holl Dywysogaeth. O ran corff yr oedd yn un o'r dynion harddaf, a mwyaf boneddigaidd, a welwyd erioed yn sefyll ger bron cynnulleidfa. Dyn nodedig o luniaidd, o faintioli canolig, ydoedd, ac yn dra bywiog yn ei ysgogiadau. Yr oedd ganddo lais tyner, eglur, a pherseiniol, ac yr oedd yn ymadroddwr rhwydd a difloesgni. Er nad oedd unrhyw fawredd a dyfnder yn ei bregethau, yr oeddynt yn wastad yn llawn o wirioneddau yr efengyl, ac yn cael eu traddodi mewn "geiriau cymeradwy," hawdd i bawb eu deall, a chyda y fath deimlad a thlysni, fel nas gallasai y cynnulleidfaoedd lai na'i theimlo. Dyn siriol, cyfeillgar iawn oedd Mr. Jones. a dichon i'w duedd gyfeillgar ei arwain yn fynych i brofedigaeth. Nid gwiw celu iddo fod amryw weithiau yn ystod ei fywyd cyhoeddus dan ddysgyblaeth, am yfed diodydd meddwol i ormodedd, ond cam ag ef fyddai dyweyd iddo fod ar un adeg o'i oes yn *feddwyn*, ac ni fu erioed yn un cryf i yfed gwin a diod gadarn. Ychydig iawn o'r gwlybwr meddwol a fuasai yn troi ei ben, ac o herwydd hyny dylasai fod yn fwy gwyliadwrus. Pe buasai ganddo ef ryw arweinydd dylanwadol i'w ddenu i dir llwyrymwrthodiad ar gychwyniad ei fywyd cyhoeddus, mae yn ddiameu y buasai yn un o'r gweinidogion mwyaf

enwog am ei ddefnyddioldeb a'i boblogrwydd yn Nghymru, trwy ei holl oes. Er ei lithriadau, bu o wasanaeth dirfawr i achos crefydd, ac i'r enwad Annibynol, yn enwedig yn sir Gaerfyrddin. Yr oedd pawb a'i hadwaenai yn ei garu, ac yn ei ystyried yn ddyn da a duwiol, er ei golliadau achlysurol. Pan y cyhuddid ef o'i fai, yr oedd yn un o'r dynion mwyaf tyner ac edifeiriol. Tosturio wrtho fel dyn gwan ac anwyliadwrus y byddai pawb o'i gydnabod, ac nid edrychai neb arno fel hen greadur blysig ac anhawddgar. O na ellid perswadio holl grefyddwyr a phregethwyr ieuaingc y byd i ochelyd y profedigaethau fuont yn ofid, niwed, a dinystr mawr i gysuron a defnyddioldeb llawer o'r tadau gynt. Nid oes unrhyw bechod y mae mwy o alwad i ddynion ieuaingc, yn enwedig rhai o dymer gyfeillgar, i fod ar eu gocheliad rhagddo na chyfeddach. Mae y pechod hwn wedi arwain miloedd i ddinystr anadferadwy, ac wedi rhoddi archollion tost i gymeriadau a defnyddioldeb rhai o'r dynion mwyaf anwyl a goreu yn mhob oes.

## TALYBONT.

Y mae hen eglwys barchus yr Aber wedi bod yn fam i amryw eglwysi yn yr ardaloedd sydd o gwmpas, ac fel y dangoswyd eisoes, ei phlant hi a gychwynodd yr achos yn mhentref prydferth Talybont. Y brodyr mwyaf blaenllaw yn sefydliad yr achos yn y lle uchod, oeddynt y rhai canlynol: Meistri Morgan Evans, Henry Powell, Thomas Evans, William Evans, Evan Phillips, Thomas James, &c. Buont yn ymgynnull at eu gilydd i addoli mewn amaethdy o'r enw Tanywenallt, yr hwn a breswylid gan un o'r brodyr mwyaf blaenllaw, o'r enw Morgan Evans. Buont yn ymgynnull yn gyson a rheolaidd at eu gilydd i'r lle hwn am tua blwyddyn, neu ychwaneg o amser. Yn y cyfamser, cafwyd darn o dir, yn rhad, gan y boneddwr haelionus Gwynne Holford, Ysw.; ac yn y flwyddyn 1836, adeiladwyd y capel cyntaf. Nid ydym yn alluog i ddyweyd beth a gostiodd yr adeilad cyntaf, oblegid rhoddodd llawer eu llafur yn rhad, ac yn enwedig un hen frawd selog a gwresog iawn, o'r enw Thomas Evans, yr hwn oedd yn amaethwr cyfrifol—rhoddodd hwn gymaint o goed ag oedd yn eisieu, pa rai a dyfent ar ei dir ei hun. Wedi gorphen y capel, galwyd ef yn "Benaiah," ac heb fod yn faith, rhoddodd yr eglwys alwad unfrydol i Mr. D. Price, ŵyr i Mr. Isaac Price, Llanwrtyd, yr hwn a fuasai yn weinidog yn Salem, Llanbedr, Arfon. Enillodd Mr. Price barch a dylanwad mawr yn y lle, ac aeth yn ddwfn iawn i serchiadau pobl ei ofal. Dywedir ei fod yn ddigyffelyb fel gweddiwr, ac mai mawr oedd y dylanwad a gynyrchai pan yn anerch gorseddfaingc y gras. Ond yn fuan iawn canfyddwyd yn ei wedd arwyddion amlwg a sicr o ddadfeiliad; ymdrechai yn egniol iawn am amser yn erbyn gwendid a llesgedd, ond gorfu iddo o'r diwedd roddi i fyny, ac ymostwng i ewyllys ei Arglwydd, sef cael ei symud oddiwrth ei waith at ei wobr, yr hyn fu yn achos o alar mawr i bobl ei ofal. Dilynwyd Mr. Price gan Mr. E. Pritchard, Pennorth, (yn awr Sciwen.) Bu y gŵr parchus hwn yn gofalu am Pennorth a Benaiah, am lawer o flynyddoedd, ac fel ei rhagflaenydd, aeth yntau yn ddwfn i serchiadau pobl ei ofal, ac nid pobl ei ofal yn unig, ond hefyd yr holl ardalwyr yn gyffredinol, fel mai da gan bawb, cyfoethog a thlawd, am Mr. Pritchard hyd y dydd hwn. Anghyfleus iawn ydoedd hi i Mr. Pritchard

i ofalu am y ddwy eglwys yr amser hwnw; oblegid nid oedd un bont ar afon Wysg; a chan fod Pennorth a Talybont o bob tu i'r afon, cafodd lawer o anhawsderau i ddilyn ei gyhoeddiadau, yn enwedig pan y buasai llifogydd yn yr afon. Bu Mr. Pritchard yma hyd ei symudiad i Cwmrhos. Wedi ei ymadawiad ef, ymunodd yr eglwys hon a'r Aber o dan weinidogaeth Mr. Daniel Jones; ac er hyny y mae y ddwy eglwys wedi bod mewn cysylltiad a'u gilydd, a than ofal yr un gweinidogion. Yn y flwyddyn 1858, adnewyddwyd a helaethwyd y capel fel y mae yn awr yn dŷ cyfleus a phrydferth. Aeth y draul yn 221p. 6s., ac yr oedd 100p yn aros ar sefydliad y gweinidog presenol, ond cyn pen y flwyddyn yr oedd y cwbl wedi ei dalu. Mae yr achos yma mewn agwedd gysurus, a mesur o lwyddiant ar y gwaith.*

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

David Price. Yr oedd ef yn fab i David Price, Penherwern, plwyf Llangamarch, yn wyr i Mr. Isaac Price, Llanwrtyd, ac yn frawd i Mr. Samuel Price, Llanedi. Ganwyd ef yn Mhenherwern, yn y flwyddyn 1796. Derbyniwyd ef yn dra ieuangc i'r eglwys yn Llanwrtyd, gan Mr. Williams, a thua y flwyddyn 1822, dechreuodd bregethu. Ni chafodd addysg athrofaol, ond yr oedd yn ysgolhaig da, ac wedi bod cyn iddo ddechreu pregethu am rai blynyddau yn ngwasanaeth *Draper* yn Nghaerfyrddin. Wedi iddo ddechreu pregethu, bu yn Llanbadarnfawr, ac o bosibl mewn rhai manau eraill, yn cadw ysgol. Yn Hydref, 1830, urddwyd ef yn weinidog yn Salem, Llanbedr, sir Gaernarfon. Tua y flwyddyn 1836, symudodd i Dalybont, Brycheiniog, a bu yno nes iddo glafychu o'r clefyd y bu yn angau iddo. Yr oedd ei wraig a'i deulu yn byw yn Aberystwyth, ac heb symud ato i Dalybont, pryd yr analluogwyd ef gan gystudd. Wrth deimlo ei hun yn gwaelu yn gyflym, penderfynodd fyned i Aberystwyth at ei deulu. Aeth cyfaill o Dalybont i'w hebrwng tuag yno. Yn Llanfairmuallt, pan ar ei daith tuag Aberystwyth, cyfarfyddodd a'i hen weinidog, Mr. Williams, Llanwrtyd. Wrth ei weled mor wael, ac yn ol pob ymddangosiad yn agos i angau, gofynodd Mr. Williams iddo pa fodd yr oedd yn teimlo gyda golwg ar fyd arall. Atebodd, ei bod mor oleu a'r haul ar ei brofiad. Aeth rhagddo o Llanfairmuallt y prydnawn hwnw cyn belled a Rhaiadr, a bu farw yno y dydd canlynol. Yn y flwyddyn 1838 y cymerodd ei farwolaeth le, ond nid ydym wedi gallu cael allan yn mha fis o'r flwyddyn hono. Dygwyd ei gorff o Raiadr i Lanbadarnfawr, i'w gladdu yn meddrod teulu ei wraig. Mae ei weddw yr hon sydd yn ddynes grefyddol iawn, yn fyw etto yn Aberystwyth.

Gwanaidd iawn y bu iechyd Mr. Price trwy ei oes, yr oedd hefyd yn lled gloff. Cyfrifid ef gan bawb o'i gydnabod yn ddyn da a duwiol iawn. Er nad oedd yn enwog iawn fel pregethwr, yr oedd yn felus ac adeiladol; a choffeir am dano yn barchus gan yr ychydig yn fyw sydd yn ei gofio. Dywedir y byddai dwysder a thynerwch yn ei holl bregethau, ac ar amserau byddai yn cael oedfaon nodedig o effeithiol.

* Ysgrif Mr. Prosser.

## PENNORTH, GYNT Y SCETHROG.

Dechreuwyd yr achos yn y gymydogaeth hon tua y flwyddyn 1813. Yr oedd Mr. William Havard, o'r Neuadd, Scethrog, a'i deulu yn wrandawyr cyson yn yr Aber, a Mrs. Havard yn aelod gweithgar yno. Gan fod yr afon Wysg rhyngddynt a'r Aber, a bod ganddynt amryw filldiroedd i fyned yno pan y buasai gormod o ddwfr yn yr afon i geffylau i fyned trwyddi, penderfynasant osod gwasanaeth crefyddol i fyny yn eu tŷ eu hunain, a chawsant gymhorth i hyny gan y Meistri T. Powell o'r Plough, Aberhonddu, a J. Jones, Talgarth, y rhai am dymor a ddeuant yma i roddi pregeth bob yn ail Sabboth. Buwyd yn cynal y gwasanaeth yn y Neuadd am flwyddyn a haner. Yn yr amser hwnw rhentiodd Mr. Havard anedd-dy yn mhentref y Scethrog, a chyfaddasodd ef i fod yn addoldy. Aeth trwy yr ardal i gasglu at y draul, ac yn mysg eraill galwodd gyda Mr. Williams, Manest, yr hwn a'i derbyniodd yn garedig, ac a ddywedodd wrtho, "Y mae yr Arglwydd wedi rhoddi llawer i mi, ac yr wyf yn credu ei bod yn ddyledswydd arnaf finau i roddi rhyw beth iddo yntau; rhoddwch fy enw i i lawr am ddau gini yn y flwyddyn." Parhaodd y gŵr caredig i dalu y ddau gini bob blwyddyn tra y bu fyw, a bu ei weddw am flynyddau wedi ei gladdu ef yn talu un gini yn flynyddol. Dau aelod yn unig oedd yma ar y cychwyniad, sef Mrs. Havard, a hen ŵr o'r enw Dafydd Morgan, ond yr oedd yr holl ardalwyr yn garedig iawn i'r achos. Wedi cael y capel yn barod, daeth amryw yn mlaen i wneyd proffes o grefydd, yn mysg y rhai yr oedd Miss Catherine Havard, David Jones, Pennorth; William Williams, Pentunel, a Thomas Prys a'i wraig. Unodd Mr. Pritchard, Brynllici, hefyd a'r eglwys fechan. Yr oedd ef yn aelod cyn hyn, yn Nhredwstan, fel y tybiwn. Wedi cael cartrefle cyfleus i'r arch, aeth yr achos rhagddo yn raddol a dymunol iawn. Mr. J. Jones, Talgarth, fu yn gweinidogaethu yma hyd nes y lluddiwyd ef gan gystudd. Bu yr achos wedi hyny am ychydig amser dan ofal Mr. W. Williams, Tredwstan, yn awr o Hirwaen. Wedi i Mr. Williams amlygu ei bod yn anghyfleus iddo barhau i wasanaethu yr eglwys, rhoddwyd galwad unfrydol i Mr. Evan Pritchard, Glynnedd, a chynaliwyd cyfarfodydd ei urddiad ef yma Medi 28ain a'r 29ain, 1836. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Meistri D. Williams, Llanwrtyd; E. Jones, Brychgoed; W. Williams, Tredwstan; J. Jones, Talgarth; D. Davies, New Inn; T. Evans, Aberhonddu; E. Watkins, Llanelli, &c. Bu Mr. Pritchard yma yn llafurus, llwyddianus, a pharchus iawn am ugain mlynedd. Gan fod yr hen addoldy yn y Scethrog yn rhy fychan i gynwys y gynnulleidfa, ac hefyd am nad oedd ar fan digon canolog o'r ardal i fod yn gyfleus i'r boblogaeth, penderfynwyd adeiladu capel newydd ar Bennorth. Cafwyd y tir am 99 o flynyddau am un byburen yn y flwyddyn, gan Gwynne Holford, Yswain, Buckland. Agorwyd yr addoldy newydd, yr hwn a gyfenwyd y Tabernacl, Mehefin 6ed a'r 7fed, 1841. Yn y flwyddyn 1856 derbyniodd Mr. Pritchard alwad oddiwrth yr eglwysi yn Nghwmrhos a Thretwr, a symudodd yno. Wedi ei ymadawiad ef bu yr eglwys am yn agos i ddwy flynedd yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol. Yna rhoddasant alwad i Mr. Phillip G. Thomas, gweinidog yr eglwysi yn Beulah a Llanfair, gerllaw Pontmenai, a dechreuodd ef ei weinidogaeth yma Hydref 4ydd, 1858, ac yma y mae hyd yn bresenol,

mewn parch cyffredinol gan fyd ac eglwys. Mae Mr. Thomas wedi claddu y rhan fwyaf oll o'r aelodau oedd yn rhoddi galwad iddo ef, ond y mae yr Arglwydd wedi llwyddo ei weinidogaeth, fel y mae yma eraill wedi dyfod i lenwi lleoedd yr hen ffyddloniaid. Mae yr achos yma mewn agwedd siriol iawn. Er nad yw, ac na fu ar un cyfnod o'i hanes yn eglwys luosog ei haelodau, y mae yn nodedig o wresog a chariadus.

Ni chyfodwyd yma ond un pregethwr sef Mr. D. P. Davies, yr hwn sydd yn weinidog yn Llanfairmuallt, er's 25 o flynyddau bellach.

Yr unig un sydd yn awr yn fyw o aelodau cyntaf yr eglwys hon yw Mrs. Gunter, yr hon a grybwyllasom uchod, dan yr enw Miss Catherine Havard. Bu hi o wasanaeth mawr i'r achos ar ei gychwyniad. Er ei bod yn ferch i ŵr cyfoethog, bu am amser yn glanhau y capel. Bu hefyd am yspaid, pan yr oedd yr achos yn ei wendid, yn blaenori y canu. Yr oedd yn foneddiges ieuangc ryfeddol o dalentog, selog, a duwiol. Yn 1822, priododd a Mr. William Gunter, Cathedin Farm, a symudodd yno, ond bu am amryw flynyddau ar ol iddi briodi yn dyfod yn gyson i'r Scethrog, ond o herwydd pellder y ffordd, a bod eglwys y Methodistiaid yn Llangors yn agos i'w phreswylfod, y mae er's blynyddau bellach wedi ymuno yno. Ond y mae hyd y dydd hwn yn parhau yn ei serch at yr Annibynwyr, ac yn wastad yn barod i estyn iddynt gymorth arianol at unrhyw achos fyddo yn galw am gymorth. Caniataed yr Arglwydd iddi gael prydnawn bywyd teg, a mynediad helaeth i'r dragywyddol deyrnas, pa bryd bynag y gwelo Ef yn dda ei galw o'r bywyd hwn.*

## TY'NYCOED.

Mae y capel hwn yn Nglyntawy, yn mhlwyf Ystradgynlais. Mae yn anhysbys pa bryd y dechreuodd yr Ymneillduwyr osod i fyny wasanaeth crefyddol cyson yn yr ardal hon. Mae yn ddigon tebygol fod yma bregethu achlysurol mewn anedd-dai oddiar amser y werin-lywodraeth, a bod rhai o'r trigolion yn Ymneillduwyr trwy holl dymor yr erledigaeth o 1660 hyd 1688. Yr ydym yn cael yn llawysgrifau Mr. Henry Davies, Blaengwrach, fod rhai o'r aelodau perthynol i'r eglwys hono yn 1734, yn byw yn Nglyntawy, megys Thomas Lewis, o'r Ongyr; Margaret Rees, Blaenglyntawy; Catherine Owen, Ynyscedwyn, &c. Mae yn dra sicr hefyd fod amryw o aelodau Cwmllynfell yn byw yma, ac nid yw yn anhebyg fod rhai o aelodau y Brychgoed yn cyfaneddu yn mlaen y Cwm. Bernir mai tua y flwyddyn 1756, y dechreuwyd gweinyddu yr ordinhad o swper yr Arglwydd yma, gan Mr. William Evans, Cwmllynfell. Tua dwy flynedd cyn hyn yr urddwyd Mr. Evans, a bu am y rhan fwyaf o'i oes yn gweinidogaethu yn Rhydymardy, y Brychgoed, Glyntawy, a'r Alltwen, ac yn agos i derfyn ei oes cymerodd ofal ei fam eglwys, Cwmllynfell. Yr oedd Mr. Evans yn enedigol o'r ardal hon, a'r rhan fwyaf o'r trigolion yn berthynasau iddo. Mae yn dra thebygol mai efe ddarfu ffurfio cynifer o aelodau Blaengwrach, Cwmllynfell, a'r Brychgoed, ag a breswylient yn yr ardal yn eglwys Annibynol, ac iddo wneuthur hyny tua y flwyddyn 1756. Wedi iddo ef gymeryd gofal Cwmllynfell, gan fod maes ei lafur mor helaeth, bu raid iddo roddi gofal y Brychgoed a Glyn-

* Llythyr Mr. Thomas.

tawy i fyny, a dilynwyd ef yma gan Mr. Thomas Lewis, Blaengwrach. Mewn anedd-dai y byddid yn cadw y cyfarfodydd hyd 1770, pryd yr adeiladwyd capel Ty'nycoed. Cafwyd y tir at ei adeiladu gan Mr. W. Gwynne, Castellnedd, taid Mr. Howell Gwynne, o'r Dyffryn, am bunt y flwyddyn o ardreth, ond pan helaethwyd y fynwent yn 1857, cyfodwyd yr ardreth i ddwy bunt y flwyddyn, ac estynwyd hyd y les i 999 o flynyddau. Bu Mr. T. Lewis yn ymdrechgar iawn i gasglu at draul adeiladaeth y capel. Yr ydym yn cael ei enw, a'r symiau a gasglodd, yn nghofnodion yr hen eglwysi yn y Cwmmawr, Rhydymardy, Pentretygwyn, &c. Wedi adeiladu y capel, a thalu am dano, o herwydd rhyw resymau anhysbys i ni, gwnaeth Mr. Lewis ei feddwl i fyny yn 1774, er ei fod yn awr mewn gwth o oedran, i roddi ei ofal gweinidogaethol yn Blaengwrach a Thy'nycoed i fyny, a symud i Lanharan, lle y bu farw yn 1783, yn 77 mlwydd oed. Yn y flwyddyn 1775, rhoddodd yr eglwys yn Nhy'nycoed, mewn cysylltiad a Godrerhos, alwad i Mr. Morris Williams o blwyf Llanllwni, ac urddwyd ef yma yn y flwyddyn hono. Parhaodd i weinidogaethu yma ac yn Nghodrerhos hyd y flwyddyn 1798, pryd y cyfyngodd ei lafur i Odrerhos yn unig, ond bu farw yn Mai 1799. Mae yn ymddangos mai Mr. Thomas Edwards, Castellnedd, fu y gweinidog nesaf yma, ond nis gwyddom pa un ai yma ai yn rhyw le arall yr urddwyd ef. Efe oedd y gweinidog yma yn 1800, ac yr ydym yn lled dybied mai yma y cafodd ei urddo. Nid ydym yn barnu i Mr. Edwards fod yma dros o dair i bedair blynedd. Dilynwyd ef yma gan Mr. Morgan Lewis mewn cysylltiad a Godrerhos. Bu ef yma o saith i wyth mlynedd. Tua y flwyddyn 1810, neu y flwyddyn ganlynol cyfododd rhyw deimlad anhyfryd tuag at y gweinidog yn yr eglwys, yr hwn a arweiniodd i'w ymddeoliad o'r weinidogaeth yn y lle, ond glynodd rhai o'r aelodau wrtho, ac aethant gydag ef i ddechreu achos a'r Banwenbyrddin, yr hwn wedi hyny a symudwyd i Glynnedd, ac felly yr anghydfod hwn yn Nhy'nycoed fu yn arweiniol i gychwyniad yr achos blodeuog sydd yn awr yn addoldy Glynnedd. Wedi ymadawiad Mr. Morgan Lewis, bu yr eglwys heb un gweinidog sefydlog hyd ddechreu y flwyddyn 1814. Yn Chwefror y flwyddyn hono urddwyd Mr. James Williams, o athrofa Gwrecsam yma, ac yma y bu am ddeunawmlynedd-ar-hugain, sef hyd derfyn ei oes. Derbyniwyd yma ganoedd lawer o aelodau yn nhymor gweinidogaeth Mr. Williams, a chyfododd nifer o'r rhai a dderbyniwyd yma i bregethu, fel y cawn nodi etto. Yn 1828, ail adeiladwyd y capel, yr hwn a gostiodd wyth cant o bunau, Agorwyd ef yn 1829, ar adeg boethaf y diwygiad mawr. Yr oedd y torfeydd ar ddydd yr agoriad yn y capel ac yn y fynwent yn moliannu am oriau. Rhai blynyddau cyn dyfodiad Mr. Williams yma, gwnaed cynygiad gan Mr. Watkins, Tymawr; Thomas Griffiths, Llwynllafrod; a William Rees, Heolgwyddau-fach, i sefydlu ysgol Gymraeg yn yr ardal. Cyn hyny nid oedd ond ychydig o'r aelodau yn alluog i ddarllen y Bibl yn eu hiaith eu hunain. Cynaliwyd yr ysgol hon bob nos Fercher o dy i dy. Parhaodd felly am dymor, ond tua y flwyddyn 1810, rhoddwyd hi i fyny. Yn y flwyddyn 1812, ail gychwynwyd hi fel ysgol Sabbothol. Mewn anedd-dai y cedwid hi etto, am fod rhai o'r hen bobl yn amheu y priodoldeb o gadw y fath sefydliad yn y capel. Yn raddol ennillodd gymeriad fel sefydliad crefyddol pwysig, a chaniatawyd iddi gael ei chadw yn y capel; ac yno y mae yn sefydliad effeithiol hyd y dydd hwn. Wrth weled y llwyddiant a'r daioni a gynyrchai, barnwyd yn angenrheidiol, er

mwyn cyfleusdra y gynnulleidfa, i sefydlu cangenau o ysgolion yn y Tymawr, dan arolygiad Mr. Watkins, ar ochr y Garth, dan arolygiad Mr. Morgans, Penrhiwllwythau, ar Benrhos, ac ar Banwenbyrddin. Bu yr ysgolion hyn am flynyddau o wasanaeth dirfawr i grefydd, ac felly y maent yn parhau, ond fod cysylltiad rhai o honynt a Tny'nycoed wedi darfod er pan y sefydlwyd achosion yn Bethlehem, ac ar yr Onllwyn. Dywedir fod Mr. Williams yn mlynyddau cyntaf ei weinidogaeth yn nodedig o enwog fel holwr ysgolion. Byddai ysgol Ty'nycoed, a'i changenau, yn fynych gynt yn myned dros y mynyddau i'r Brychgoed, Cwmllynfell, Godrerhos, a Glynnedd, i "adrodd y pwnge."

Cyn dyfodiad Mr. Williams i'r lle, yr oedd cangenau o'r fam eglwys yn Nhy'nycoed, wedi ymsefydlu yn eglwysi yn Hermon, Ystradfellte, a Glynnedd, ac wedi ei sefydliad ef yma ffurfiwyd y cangenau yn Ystradgynlais ac Onllwyn yn eglwysi. Bu Mr. Williams farw ar ol ychydig ddyddiau o gystudd, yn Awst, 1852. Yn 1853, rhoddwyd galwad i Mr. Robert Lewis, o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Mehefin 28ain, y flwyddyn hono. Traddodwyd y gynaraeth gan Mr. Stephens, Brychgoed; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. Griffiths, Alltwen; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. Pryse, Cwmllynfell; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. Davies, athraw athrofa Aberhonddu, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. Williams, Troedrhiwdalar. Bu Mr. Lewis yma yn llafurus a phoblogaidd iawn hyd derfyn ei oes yn ngwanwyn y flwyddyn 1867. Yn nhymor gweinidogaeth Mr. Lewis, yr adeiladwyd y capel, ac y ffurfiwyd yr eglwys yn Bethlehem. Bu yr eglwys yn Bethlehem dan ei weinidogaeth ef mewn cysylltiad a'r fam eglwys tra y bu fyw, ac felly y mae etto dan weinidogaeth ei ganlyniedydd. Yn fuan wedi marwolaeth Mr. Lewis, rhoddodd yr eglwysi yn Ty'nycoed a Bethlehem alwad i Mr. Lewis Jones, o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Awst 22ain, 1867. Pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. J. Griffiths, Llanwrtyd; ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. M. D. Jones, Bala; ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. J. Stephens, Brychgoed. Mae Mr. Jones yn parhau i lafurio yma hyd yn bresenol, a phob argoelion fod gwenau Duw a dynion arno ef a'i lafur. Y flwyddyn hon (1874), y mae capel Ty'nycoed yn cael ei adeiladu oll o'r newydd, a bwriedir iddo fod yn un o'r addoldai prydferthaf yn yr holl ddyffryn.

Cafodd amryw o aelodau yr eglwys hon eu cyfodi i bregethu o bryd i bryd, y cyntaf y mae genym hanes am dano a gyfodwyd yma yw, Thomas Lewis, o'r Ongyruchaf. Yr oedd yn foneddwr o ran ei amgylchiadau. Pregethai yn achlysurol yn Nh'ynycoed, Blaengwrach, a'r Brychgoed, ac yn ei ewyllys gadawodd ddeugain punt at bob un o'r lleoedd hyn. Y llog i gael ei dalu yn flynyddol at gynaliaeth y weinidogaeth. Tua deng mlynedd yn ol daliodd ei etifeddion ar ryw wall yn yr ewyllys, a gwrthodasant dalu ychwaneg, er fod yr arian wedi cael eu talu yn flynyddol er's mwy na phedwar-ugain-mlynedd.

William Benjamin. Yn ol tystiolaeth llawysgrif sydd ger ein bron, yr oedd ef yn byw yn Heolygwyddfach tuag amser agoriad y capel cyntaf yma. Dywedir i ryw anghydfod gyfodi rhyngddo a rhai o'r aelodau, ac iddo symud i ardal Pontypridd. Dyna y cwbl a wyddom o'i hanes.

William Thomas. Daeth ef i'r ardal hon i gadw ysgol, ac yma y dechreuodd bregethu, ond aelod gwreiddiol o Grugybar ydoedd. Gwelir ei hanes yn nglyn a hanes eglwys y Bala, lle y bu ddiweddaf yn weinidog.

William Gethin. Rhoddwyd ei hanes ef yn nglyn a Chaerlleon-ar-Wysg, Mynwy, cyf. I. tudalen 169.

Llewellyn Powell. Addysgwyd ef yn y Neuaddlwyd a'r Drefnewydd. Urddwyd ef yn America. Dychwelodd i'r wlad hon, a bu am rai blynyddau yn weinidog yn Hanover, Mynwy. Dychwelodd drachefn i'r America, lle y mae yn bresenol.

William Watkins. Dechreuodd ef bregethu yn 1830. Gweler ei fywgraphiad yn nglyn a hanes y Dyffryn, Maesteg.

David Davies, brawd i Mr. Llewellyn Powell, o'r un fam. Dechreuodd ef bregethu yr un amser a W. Watkins. Ymfudodd i'r America tua y flwyddyn 1837, ac urddwyd ef yn Sugar Creek, ac yno y mae hyd yn bresenol.

John Powell, o'r Ongyrisaf. Yn fuan wedi iddo ddechreu pregethu, tuag ugain mlynedd yn ol, ymfudodd gyda ei rieni i California. Nid ydym yn gwybod ychwaneg o'i hanes.

John Williams. Dechreuodd ef bregethu tua'r flwyddyn 1858, ac yn fuan wedi hyny ymfudodd i'r America.

Thomas Morgan Lewis. Bu am tua dwy flynedd yn athrofa y Bala. Daeth adref oddiyno yn wael ei iechyd, a bu farw Rhagfyr 5ed, 1871, yn 32 mlwydd oed. Yr oedd yn wr ieuangc gobeithiol iawn.

Heblaw y pregethwyr a godwyd yma, bu yn yr eglwys hon nifer o swyddogion ac aelodau nodedig am eu rhagoriaethau. Yr oedd Thomas Watkins, Gwaryscwd, taid Mr. Watkins o'r Llwyni, yn ddyn diwyd a gwasanaethgar iawn i'r achos yn ei oes. Trwy ei ddylanwad a'i ymdrechion ef y cafwyd y tir at adeiladu y capel cyntaf yn 1770. Bu farw Medi 15fed, 1827, yn 90 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent Ty'nycoed. Bu am flynyddau lawer yn "henuriad llywodraethol" yn yr eglwys. Henuriad, a chymeriad nodedig arall, oedd Shon Rhys, o Heolygwyddaufach. Yr oedd ef yn ddyn tal a lluniaidd iawn, ac yn ei henaint yr oedd yr olwg arno yn nodedig o urddasol a phatriarchaidd. Yr oedd yn wrandawr toddedig dros ben, a byddai ei ddagrau a'i amenau yn ddigon i danio y gynnulleidfa oeraf. Bu farw mewn cyflawn fwynhad o gysuron crefydd Mai 18fed, 1840, yn 92 mlwydd oed. Yr oedd John Williams, Yswain, o Donyfildre, yr hwn hefyd a fu yn henuriad llywodraethol, ac a fu farw yn 1862, yn cael ei ystyried yn ddyn da iawn. Yn mysg y rhai a wasanaethasant swydd diaconiaid yn dda yma, gellir enwi Dafydd Williams, o'r Cefncoed, yr hwn a fu farw Mai 26ain, 1826, yn 74 mlwydd oed, a John Williams, Glanygwenws, yr hwn a fu farw Medi 10fed, 1845, yn 81 mlwydd oed. Yr oedd William Watkins, Yswain, o'r Tymawr, mab y rhag-grybwylledig Thomas Watkins, Gwaryscwd, yn gymeriad nodedig iawn. Cyfododd trwy ei dalent o fod yn weithiwr cyffredin, i fod yn brif arolygydd gwaith Abercraf, a daeth yn hir cyn terfyn ei oes i feddiant o gyfoeth dirfawr. Dyn *odd* iawn ydoedd o ran ei ddull o feddwl a gweithredu, ond yr oedd ynddo gronfa o ragoriaethau naturiol a moesol. Ni ddarfu iddo wneyd proffes gyhoeddus o grefydd hyd yn agos i derfyn ei oes, ond bu trwy ei holl fywyd yn dwyn sel neillduol dros yr achos, yn gyfranwr haelionus tuag at ei gynaliaeth, a bu ei dy am lawer o flynyddoedd yn gartref cysurus i bregethwyr o bob enwad a ddeuant trwy yr ardal. Bu yn ymdrechgar iawn i gychwyn ysgol Sabbothol yn yr ardal, a bu ysgol Sul yn cael ei chadw yn ei dy, a than ei arolygiad ef am flynyddau meithion. Yn ei ewyllys gadawodd lôg pedwar cant o bunau at

gynaliaeth y weinidogaeth yn Nhy'nycoed, llôg dau gant i'r un perwyl yn Bethlehem, a llôg dau gant at achos y Bedyddwyr yn Nantyffin. Gadawodd hefyd ddau gant at Gymdeithas Genhadol Llundain, a chant at y Fibl Gymdeithas. Bu farw Ebrill 29ain, 1863, yn 81 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent Ty'nycoed.

Amgylchynir capel Ty'nycoed gan fynwent helaeth a nodedig o brydferth, yn yr hon y gorwedda lluaws dirfawr o feirw, ac yn eu mysg James Williams a Robert Lewis, dau o weinidogion yr eglwys.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Yr ydym eisoes yn nglyn a hanes eglwysi Cwmllynfell, Llanharan, Godrerhos, a Glynnedd, wedi rhoddi cymaint ag a wyddom o hanes gweinidogion cyntaf yr eglwys hon, fel nad oes genym i'w gofnodi yma ond hanes y ddau ganlynol.

James Williams. Yr oedd ef yn fab i Rees Williams, o'r Felin, Llanwrtyd, ac yn frawd i'r diweddar enwog David Williams, Troedrhiwdalar. Ganwyd ef Ionawr 24ain, 1786, mewn tŷ o'r enw Penygors, yn mhlwyf Llanwrtyd. Pan yn lled ieuangc gosodwyd ef yn egwyddorwas gyda Gwehydd o'r gymydogaeth i ddysgu yr alwedigaeth hono. Er iddo gael ei eni a'i fagu mewn teulu ac ardal nodedig o grefyddol, treuliodd y deunaw mlynedd cyntaf o'i oes yn wyllt ac anystyriol iawn. Pan yr oedd yn ddeunaw mlwydd oed yr oedd digrifwch annuwiol, a elwid "Gwylmabsant," i gael ei gynal mewn rhyw ran o'r gymydogaeth, a phenderfynai yntau fyned yno i gymeryd rhan yn y digrifwch. Ymbiliai ei fam yn daer arno am beidio myned, ac wrth ei weled yn benderfynol i fŷnu ei ffordd, dywedai wrtho gyda dagrau "O Jemmy, Jemmy, a fegais i blentyn mor annuwiol i fyned at gythreuliaid byth?" Ond er ei holl apeliadau tyner, myned a wnaeth. Yn ei frys i fyned gadawodd rywbeth yn anghof yn y tŷ, ac wedi myned ychydig o ffordd cofiodd am dano, a dychwelodd yn ei ol i'w ymofyn. Pan ddychwelodd yn ol i'r tŷ, ni welai neb yno, ond clywai ryw swn distaw. Deallodd yn fuan mai ei fam oedd yn yr ystafell wely yn gweddio drosto ef. Ond er hyny allan yr aeth drachefn, ond yr oedd yr amgylchiad wedi terfysgu cymaint ar ei feddwl, fel na chafodd unrhyw foddhad yn y Gwylmabsant. Bu ei feddwl mewn terfysg mawr am dymor ar ol hyny, ond methai ddyfod i benderfyniad i ymuno a'r eglwys. Yr amser hwnw daeth rhyw bregethwr heibio, a dywedodd yn ei bregeth. "fod pob un oedd dan argyhoeddiad iawn yn cael sicrwydd ei fod yn blentyn i Dduw." Taflodd hyny ei feddwl i fwy o iselder drachefn. Yn mhen ychydig amser ar ol hyn, wrth wrandaw ei frawd yn pregethu yn hen gapel y Gelynos, Llanwrtyd, cafodd ei ryddhau o'i gadwynau, a methodd ymatal rhag wylo o orfoledd. Y prydnawn hwnw dywedai yr holl gymydogion wrth eu gilydd, "Yr oedd Jemmy o'r Felin yn wylo yn anghyffredin yn y capel heddyw!" Aeth rhai cyfeillion crefyddol heibio iddo i'w gymhell gyda hwynt i gyfarfod pregethu a gedwid yr hwyr hwnw mewn ty anedd, ond gwrthododd fyned gyda hwynt, rhag y buasai ei hen gyfeillion yn ei weled yn cydgerdded a'r crefyddwyr, ac yn ei wawdio. Pa fodd bynag aeth yno yn mhen ychydig ar eu hol, a cheisiodd ymwthio i le dirgel yn y ty, fel na chawsai neb ei weled, os cawsai ei gynhyrfu i wylo yno drachefn, ond cyn diwedd yr oedfa yr oedd ef wedi anghofio pawb, a phob peth, ac

wedi tori allan i folianu. Mr. E. Evans, Penygraig, oedd yn pregethu yno y noson hono. Yn fuan ar ol hyn aeth i'r gyfeillach, a derbyniwyd ef yn aelod gan yr hen weinidog, Mr. Isaac Price. Ni bu yn hir ar ol ei dderbyn yn aelod, cyn i'w wresogrwydd a'i ddoniau mewn gweddi beri i'r eglwys ei anog i ddechreu pregethu. Ar ol bod yn pregethu gartref ac yn yr eglwysi cymydogaethol am tua blwyddyn, derbyniwyd ef yn fyfyriwr i'r athrofa yn Ngwrecsam, lle y bu am bedair blynedd. Ar derfyniad ei amser yn yr athrofa, cafodd alwad o Rosylan, sir Gaernarfon, lle y bu yn llafurio gyda gradd helaeth o lwyddiant am flwyddyn, ond gan nas gallai wneyd i fyny ei feddwl i aros yn y lle hwnw, gwrthododd gymeryd ei urddo yno. Wedi iddo ddychwelyd i'r Deheudir, aeth am daith trwy y rhanau deheuol o Frycheiniog, a'r rhanau gogleddol o Forganwg. Derbyniodd alwadau ar y daith hono o Langynwyd, Cymerglyncorwg, a Thy'nycoed, a dewisodd ymsefydlu yn y lle olaf. Urddwyd ef fel y nodwyd yn Nhy'nycoed, yn mis Chwefror, 1814. Yn nghyfarfod yr urddiad traddodwyd y gynaraeth gan Mr. P. Jenkins, Brychgoed; derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. T. Bowen, Castellnedd; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. D. Evans, Mynyddbach; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. D. Davies, Abertawy; ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. J. Davies, Alltwen. Yr oedd yr achos yn Nhy'nycoed y pryd hwn mewn agwedd dra isel, o herwydd yr ymryson a fuasai yno ychydig cyn hyny yn nglyn ag ymadawiad Mr. Morgan Lewis. Ond yn raddol trwy ei sirioldeb, ei fywiogrwydd, a'i weithgarwch ef, daeth pethau yn mlaen yn hyfryd iawn. Gan nad oedd nemawr o eglwys yn Nghymru yr amser hwnw yn disgwyl i'w gweinidogion fod gyda hwynt bob Sabboth, bu Mr. Williams am tuag wyth mlynedd yn myned un Sabboth o'r mis i'r Brychgoed, a Sabboth arall i Gwmllynfell, a pharhaodd i fyned yno hyd yn agos i derfyn ei oes. Bu yn gofalu am eglwys Godrerhos hefyd am dymor. Gwnaeth ddaioni mawr yn ei ddydd, gartref ac oddicartref. Yn y flwyddyn 1818, ymunodd mewn priodas a Miss Jane Powell, merch Mr. William Powell, Blaentwyni. Cawsant nifer luosog o blant, a magasant un mab a thair merch i'w maintioli, bu y lleill feirw yn eu mabandod. Cafodd Mr. Williams y fraint o fod yn y gwaith hyd derfyn ei oes. Pregethodd a gweinyddodd y cymundeb yn Nhy'nycoed y Sabboth olaf y bu fyw, a dywedir na chlywyd ef nemawr erioed yn fwy hwylus nag yr oedd y boreu hwnw. Ar ol yr oedfa teimlai ei hun yn dra anhwylus, ond er ei anhwyldeb, aeth at ei gyhoeddiad, a phregethodd drachefn am chwech yn yr hwyr, yna dychwelodd adref yn dra chlaf, a gwaeth waeth yr aeth hyd y dydd Iau canlynol, Awst 26ain, 1852, pryd y bu farw yn 67 mlwydd oed. Parodd y newydd am ei farwolaeth, syndod trwy yr holl ardal, oblegid nid oedd nemawr yn gwybod ei fod yn glaf, na neb o'r rhai a wyddent yn meddwl fod ei glefyd i farwolaeth. Y dydd Llun canlynol ymgasglodd lluaws i'w hebrwng i'w fedd yn mynwent Ty'nycoed. Cyn cychwyn o'r ty darllenodd a gweddiodd Mr. W. Watkins, Llwyni. Yn y capel, ar ol darllen a gweddio, gan Mr. J. Stephens, Brychgoed; pregethodd Mr. J. Thomas, Glynnedd, (yn awr o Liverpool), a Mr. P. Griffiths, Alltwen; ac ar lan y bedd, areithiodd a gweddiodd Mr. J. Davies, Cwmamman.

Yr oedd James Williams ychydig yn dalach na'i frawd, o Droedrhiwdalar, ac yn harddach o wynebpryd, ond nid oedd o wneuthuriad mor gadarn ag ef, er ei fod i raddau yn deneuach yn ei flynyddau diweddaf. Yr oedd, fel ei frawd, yn siriol ac yn fywiog iawn yn ei ysgogiadau.

Cyfrifid ef gan bawb a'i hadwaenai yn gristion didwyll, ac yn weinidog da i Iesu Grist, ond ni bu yn ddigon gwyliadwrus ar bob adeg o'i fywyd cyhoeddus gydag yfed, yr hyn oedd yn brofedigaeth i lawer yn ei oes. Ond gwyr pawb o'i gydnabod ei fod yn mhell o fod yn ddiotwr blysig, ac yr oedd am lawer o flynyddau cyn terfyn ei oes yn llwyrymwrthodwr pur. Fel pregethwr yr oedd yn fywiog, toddedig, eglur, ac efengylaidd. Yr oedd rhywbeth yn ei barabliad yn debyg i'w frawd, ond yr oedd yn mhell o ddyfod i fyny ag ef fel pregethwr, etto, yr oedd mwy o'i frodyr yn y weinidogaeth yn is nag ydoedd, yn uwch nag ef. Traethai wirioneddau yr efengyl yn wresog a blasus iawn, ac yn achlysurol cynyrchai deimlad dwys a chyffrous iawn yn ei wrandawyr. Fel cyfaill yr oedd yn hynod am ei ddidwylledd a'i ffyddlondeb, ac fel dyn yr oedd yn orlawn o garedigrwydd a natur dda. Bydd ei goffadwriaeth yn barchus ac anwyl gan ei holl gydnabod tra byddo y diweddaf o honynt yn fyw.

Robert Lewis. Ganwyd ef yn Llanfaircaereinion, Hydref 11eg, 1827, o rieni isel eu hamgylchiadau bydol, ond rhagorol iawn am eu duwioldeb. Er nas goddefai amgylchiadau ei rieni iddo gael nemawr o fanteision addysg yn ei febyd, cafodd ei freintio a'r addysg grefyddol oreu. Cyn gynted ag y daeth i allu cerdded a pharablu geiriau, arweiniwyd ef i'r ysgol Sabbothol, yn llaw ei dad, a dysgodd ddarllen ei Fibl yn blentyn bychan, a gellir dyweyd am dano, fel am Timotheus, ei fod er yn fachgen yn gwybod yr Ysgrythyr Lan. Yn hir cyn cyrhaedd ei ddeng mlwydd oed, adroddodd ddegau o benodau meithion ar ddechreu yr oedfaon. Yr oedd hefyd yn gampwr i "adrodd y pwngc" yn ei ddosbarth yn yr ysgol. Yn 1841, derbyniwyd ef i gyflawn aelodaeth yr eglwys yn Llanfair, gan Mr. James Davies y gweinidog. Barnai pawb o'i gydnabod, cyn iddo gael ei dderbyn i'r eglwys mai pregethwr doniol fuasai ryw bryd. Pan yn ddwy-ar-bymtheg oed, ar gais yr eglwys a'r gweinidog, dechreuodd bregethu. Yn y flwyddyn 1847, derbyniwyd ef yn fyfyriwr i athrofa y Bala, ac wedi bod yno am dair blynedd, symudodd i athrofa Aberhonddu, lle y bu drachefn am dair blynedd. Aeth rhagddo yn dda fel myfyriwr tra yn yr athrofeydd, ond pregethu, yn fwy na dysgu ieithoedd, oedd yn myned a'i fryd ef yn benaf. Cyn fod ei amser i fyny yn yr athrofa, yr oedd amryw eglwysi gweigion a'u llygaid arno, o herwydd yr oedd y son am dano fel pregethwr rhyfeddol o ddoniol wedi myned yn mhell ac agos. Gwnaeth ei feddwl i fyny i dderbyn galwad o Ty'nycoed, a chynaliwyd cyfarfodydd ei urddiad yno, fel y nodasom, Mehefin 27ain, a'r 28ain, 1853. Cyn gynted ag y dechreuodd ei weinidogaeth, ymroddodd a'i holl egni i'w chyflawni. Mewn ychwanegiad at Dy'nycoed, a'r gangen sydd yn awr yn Bethlehem, yn 1855, cymerodd ofal yr eglwys fechan yn Onllwyn, a bu hyd derfyn ei oes yn gwasanaethu y tri lle. Pregethai fynychaf trwy y flwyddyn dair gwaith bob Sabboth, a chan ei fod yn bregethwr mor boblogaidd, yr oedd galwadau beunyddiol am ei wasanaeth mewn cymanfaoedd, agoriad addoldai, urddiadau, &c. Gan nad oedd ei gorff ond gwan, a'i fod yn gorfod teithio llawer ar bob tywydd, ac yn pregethu ar gyfartaledd chwech neu saith o weithiau bob wythnos, rhoddodd ei gyfansoddiad ffordd, ac ymaflodd y darfodedigaeth ynddo. Wedi dihoeni am tua blwyddyn, bu farw Mawrth 11eg, 1867. Ymgasglodd tyrfa lliosog i'w gladdedigaeth. Cyn cychwyn o'r ty darllenodd a gweddiodd Mr. B. Thomas,

Gurnos. Wedi cyrhaedd Ty'nycoed, gweddiodd Mr. J. Jones, Carmel, a phregethodd Dr. Rees, Abertawy, oddiwrth Heb. xi. 35. Wrth y bedd areithiodd a gweddiodd Mr. J. Stephens, Brychgoed. Yn fuan wedi ymsefydlu yn Nhy'nycoed, ymunodd Mr. Lewis mewn priodas ag ail ferch Mr. R. Jones, Talgarth, yr hon, yn nghyd a phedwar o blant bychain, a adawyd yn weddw ac amddifad ar ei ol.

Dyn bychan, teneu, a lled eiddil o gorph oedd Mr. Lewis; yn hytrach yn dywyll ei liw, ag ol y frech wen yn ysgafn yn ei wyneb. Yr oedd yn hawdd i bob un ganfod wrth edrych ar ffurf ei gorph, ei fod yn un tebyg iawn o gael ei gymeryd ymaith gan y ddarfodedigaeth. Dichon, pe buasai ei goelbren yn syrthio mewn tref, neu ryw ardal a llai o waith teithio ar bob math o dywydd ynddi, y gallasai fyw rai blynyddau yn hwy. Ond yn yr ardal hon y disgynodd ei goelbren, a chyflawnodd ei waith yn effeithiol yma cyhyd ag y gwelodd ei Arglwydd yn dda i'w adael ar y maes. Fel dyn yr oedd yn un nodedig o siriol, hynaws, a chyfeillgar; ac fel pregethwr nid oedd un gweinidog o'i oed yn rhagori arno. Yr oedd yn ymresymwr eglur a grymus; meddai gyflawnder o iaith i osod allan ei feddyliau tlysion, ond ni byddai un amser yn arfer geiriau a brawddegau coegaidd a chwyddedig; yr oedd ei lais yn gryf, hyglyw, a nodedig o berseiniol. Mewn gair yr oedd yn bregethwr rhagorol, mewn materion, iaith, traddodiad, a llais. Byddai ei faterion yn wastad yn dangos ol llafur ac ymroddiad—ei iaith yn bur a dilwgr, ac etto heb fod yn chwyddedig, a'i draddodiad yn rymus ac effeithiol, ond a dynerid yn fawr gan swyn a phereiddiwch ei lais clir a chlochaidd. Ond cafodd ei symud yn fuan iawn i lewyrchu mewn ffurfafen uwch.

## BETHLEHEM.

Saif y capel hwn mewn man prydferth yn Nghwmtawy, tua haner y ffordd o Dy'nycoed i bentref Ystradgynlais, a thua dwy filldir o bob un o'r ddau le. Yr oedd cangen o ysgol Sabbothol Ty'nycoed wedi cael ei sefydlu yn yr ardal hon er's llawer o flynyddau. Rai blynyddau cyn marw Mr. Williams, Ty'nycoed, yr oeddid wedi rhentu ystafell o'r Castle Inn, at gynal oedfaon bob nos Sabboth, a chyfarfodydd gweddio, a chyfeillachau ar nosweithiau o'r wythnos. Gan fod y cyfarfodydd hyn yn lluosog iawn, a phoblogaeth yr ardal yn cynyddu beunydd, penderfynwyd o'r diwedd adeiladu capel yma, yr hyn a wnaed yn 1864. Mae hwn yn addoldy helaeth a phrydferth iawn, costiodd naw cant o bunau. Mae yma hefyd eglwys lewyrchus, a phobl weithgar yn perthyn iddi. Dyoddefodd yr achos yn fawr ymhen rai blynyddau ar ol adeiladu y capel, o herwydd marweidd-dra y gweithfeydd yn y gymydogaeth, ond y mae pethau yn adfywio yn yr ystyr hyny er's blynyddau bellach yma. Gan mai achos ieuangc yw hwn, ac mai dan yr un weinidogaeth a Thy'nycoed y mae wedi bod o'r dechreuad hyd yn bresenol, nid oes genym unrhyw hanes helaeth i'w roddi am dano. Edward Williams a William Alexander oedd y ddau ddiacon a ddewiswyd yma ar ffurfiad yr eglwys.

Cyfodwyd yma ddau i bregethu, sef Henry Jones, yr hwn a drodd at y Methodistiaid, ac sydd yn pregethu yn eu mysg hwy yn awr, a John Jones, yr hwn sydd yma yn pregethu yn achlysurol, ac yn ddiacon ffyddlon yn yr eglwys.

## BRYCHGOED.

Mae y capel hwn yn mhlwyf y Defynog, ac o fewn wyth neu naw milldir i'r de-orllewin o Aberhonddu. Nid ydym yn feddianol ar nemawr o fanylion gyda golwg ar ddechreuad yr achos yn y lle hwn. Mae yn ymddangos fod nifer o Ymneillduwyr yn wasgaredig ar hyd y plwyf hwn, a'r plwyfydd cymydogaethol er amser y werin-lywodraeth, ac iddynt barhau i gynal gwasanaeth crefyddol yn achlysurol mewn anedd-dai yma hyd yr amser yr adeiladwyd capel y Brychgoed. Mae yn sicr fod rhai o aelodau Cefnarthen, Tredwstan, Aberhonddu, a Blaengwrach, yn cyfaneddu mewn gwahanol ranau o blwyfydd eang y Defynog a Llywel, trwy yr holl dymor o 1660 hyd 1740, a'u bod yn achlysurol yn cael eu gweinidogion i ddyfod i'w tai i bregethu. Yn fuan ar ol y flwyddyn 1735, daeth Mr. Howell Harries i'r Defynog i bregethu, a pharodd ei weinidogaeth gyffrous gynwrf nid bychan trwy yr holl gymydogaeth. Yn fuan ffurfiwyd yno gymdeithas grefyddol fel y gwnelsid agos yn mhob ardal lle yr oedd gweinidogaeth Mr. Harries wedi bod yn foddion i adfywio y rhai oeddent o'r blaen yn proffesu crefydd, ac i ennill rhai dibroffes i'w harddel. Nid oedd un bwriad gan Harries ar ddechreuad ei fywyd cyhoeddus i ffurfio sect newydd; ei unig amcan oedd adfywio yr Eglwyswyr a'r Ymneillduwyr, a'u gadael i lynu wrth y sectau yr arddelent berthynas a hwynt yn flaenorol. Wedi ffurfio cyfeillachau crefyddol mewn gwahanol ardaloedd, penodwyd dynion a fernid yn gymhwys i ymweled yn fisol, neu fynychach, a'r cymdeithasau hyn, er eu haddysgu a'u hadeiladu mewn crefydd bersonol a gwybodaeth grefyddol. Ar gais Mr. Harries, ymgymerodd Mr. Edmund Jones, Pontypool, ag ymweled ag amryw o'r cymdeithasau mewn cyrau o Fynwy, Morganwg, a Brycheiniog, a bu yn gwneyd hyny am ddwy neu dair blynedd. Ond wedi i Mr. Rowlands, Llangeitho, ac offeiriaid eraill, fyned i gydweithredu a Harries, amcanasant wneyd yr holl gymdeithasau hyn yn fath o eglwyswyr Methodistaidd. Cymhellid yr aelodau i fyned i'r eglwysi plwyfol i gymuno, pa mor anfoesol bynag fuasai cymeriad yr offeiriaid. Yn wyneb hyn methodd llawer o aelodau y cymdeithasau a blasu y peth, yn enwedig y rhai hyny o honynt a fagesid yn mysg yr Ymneillduwyr. Yn mysg eraill gwrthwynebodd y gymdeithas yn y Defynog y peth, ac ar eu cais ffurfiwyd hwy yn eglwys Annibynol gan Mr. Edmund Jones, tua gwanwyn y flwyddyn 1742. Yr oedd y cam hwn yn groes iawn i feddwl Mr. Harries. Ysgrifenodd lythyr maith, ond mewn iaith garedig a chrefyddol iawn, at Mr. Jones i'w feio am yr hyn a wnaethai yn y Defynog, a rhai manau eraill. Dyddiad y llythyr Awst, 14eg, 1742. Dywed mai ei ddychweledigion ef a Mr. Rowlands, oedd y rhan fwyaf o'r bobl yn y Defynog a gorpholasai Mr. Jones yn eglwys Annibynol. Ond mae yn dra sicr fod y rhan fwyaf o honynt wedi cael eu dwyn i fyny dan addysg a gweinidogaeth yr Ymneillduwyr, cyn y buasent yn anfon cais at Mr. Jones i'w corpholi yn eglwys Annibynol. Yr oedd yn mysg y bobl hyn un gwr cyfrifol o ran ei dalent, ei dduwioldeb, a'i amgylchiadau bydol, sef Mr. John Watkins, perchenog y fferm a elwir y Brychgoed. Mae yn ymddangos ei fod ef wedi bod yn pregethu er's rhai blynyddau cyn hyn, oblegid y mae Mr. Edmund Jones mewn llythyr dyddiedig Hydref 26ain, 1742, yn ei restru yn mysg pregethwyr gwresocaf yr Ymneillduwyr yn sir Frycheiniog, ond, fel y cawn weled etto, nid

oedd yn weinidog urddedig am rai blynyddau ar ol hyn. Wedi ffurfio y gymdeithas yn eglwys, y peth nesaf oedd myned i adeiladu addoldy iddynt at gynal eu gwasanaeth crefyddol ynddo. Rhoddodd Mr. John Watkins dir at gapel a mynwent ar ran o fferm y Brychgoed, ac yr oedd y traddodiad yn mysg yr hen bobl flynyddau yn ol, mai dan yr amgylchiadau canlynol y penderfynwyd ar y fan i adeiladu. Gofynwyd barn Mr. E. Jones un noson am y man a farnai efe yn fwyaf cyfaddas. Dywedodd fod yn rhaid iddo gael noswaith i ymgynghori a'r Arglwydd ar y mater cyn ateb. Mae yn debygol mai yn nhŷ Mr. Watkins, yn y Brychgoed, yr oedd yn llettya y noson hono. Boreu dranoeth, gofynodd i Mr. Watkins, "A oes genych chwi gae ar eich tir a llyn o ddwfr yndo?" Atebwyd ei fod. "Yn y fan hono," ebe Mr. Jones, "y mae y capel i fod, canys gwelais i mewn breuddwyd neithiwr lyn o ddwfr, a deuddeg o bysgod ynddo, ac un o honynt yn fwy na'r lleill, a'r rhai lleiaf oll yn edrych ar yr un mwyaf," ac ebe efe wrth Mr. Watkins, "Chwi yw y pysgodyn mawr, ac yr ydych i fod yn weinidog i'r gynnulleidfa fydd yn y capel a adeiledir yn y fan hono. Adeiladwyd y capel ar y llecyn dewisedig yn y flwyddyn 1742, neu y flwyddyn ganlynol. Awst 15fed, 1744, cafodd Mr. John Watkins ei urddo yn weinidog i'r eglwys yn nghapel newydd y Brychgoed. Yr oedd pedwar-ar-ddeg o weinidogion, heblaw myfyrwyr, yn yr urddiad. Yn unol a'r drefn arferol y pryd hwnw, pregethodd Mr. Watkins y prydnawn blaenorol oddiwrth Mat. xvi. 24, yn nghlyw yr holl weinidogion, mewn trefn iddynt gael cyfle i farnu ei gymwysder fel pregethwr. Wedi ei wrandaw, penderfynasant yn unfrydol ei fod i gael ei urddo boreu dranoeth. Gweddiwyd gan Mr. Lewis Rees, Llanbrynmair, a Mr. David Williams, Caerdydd, ar ddechreu y gwasanaeth. Traddodwyd pregeth yr urddiad, fel ei gelwid, gan Mr. Lewis Jones, Penybontarogwy, oddiwrth 1 Tim. vi. 20. Derbyniwyd y gyffes ffydd gan Mr. Edmund Jones, Pontypool. Gweddiwyd yr urddweddi gan Mr. James Davies, Merthyr, a thraddodwyd y siars i'r gweinidog a'r bobl gan Mr. Phillip Pugh, Blaenpennal, oddiwrth 2 Tim. iv. 5. Ni pharhaodd gweinidogaeth Mr. Watkins ond pedair blynedd yma. Bu farw yn 1748. Wedi ei farwolaeth ef, bu yr eglwys am bedair blynedd heb un gweinidog sefydlog. Ar yr 28ain o Fedi, 1752, urddwyd Mr. Evan Williams, o athrofa Caerfyrddin yma. Bu ef yma hyd 1758, pryd y symudodd i Lanuwchllyn. O amser ei ymadawiad ef hyd 1765, bu Mr. William Evans, Cwmllynfell, yn dyfod yma ddau Sabbath o bob mis. Pan y cymerodd ef ofal ei fam eglwys yn Nghwmllynfell, bu raid iddo roddi gofal y Brychgoed a Glyntawy i fyny. Wedi i Mr. Evans roddi gofal y lle i fyny, bu amryw o'r eglwys am roddi galwad i Mr. John Thomas, o athrofa Abergavenny, ond gwrthwynebodd ereill, a'r gwrthwynebwyr gafodd y trechaf. Dywed Mr. Thomas, yn hanes ei fywyd, iddo fod yma ac yn Nglyntawy am haner blwyddyn, fod eiddeliad mawr ar ei weinidogaeth, ac y buasai yn ymsefydlu yma oni buasai i ddau neu dri o ddynion cyfeiliornus eu barn sefyll yn ei erbyn. Mae yn hysbys fod yn eglwys y Brychgoed yn nechreu y ganrif bresenol, ac o bosibl yn hir cyn hyny, ddau neu dri o ddynion galluog a siaradus megis William Walter, William Thomas, o'r Neuadd, &c., yn Arminiaid, ond ni fu y weinidogaeth erioed yn Arminaidd yma, ac nid oes genym un hanes fod y rhai a ddalient olygiadau Arminaidd, er eu bod yn ddynion ffraeth iawn, erioed wedi aflonyddu ar heddwch yr eglwys.

Mae yn ymddangos i'r eglwys hon fod heb un gweinidog sefydlog ynddi o'r flwyddyn 1765, pryd yr ymadawodd Mr. William Evans, hyd yr amser yr urddwyd Mr. Peter Jenkins. Yr ydym wedi methu cael allan pa flwyddyn yr urddwyd Mr. Jenkins yma, ond yr ydym yn lled sier mai rywbryd rhwng 1777 a 1780 y cymerodd ei urddiad le. Parhaodd ef i wasanaethu yr eglwys hon am dri [illegible] yn y mis o amser ei urddiad hyd ei farwolaeth yn Awst, 1821. Yr oedd ei barch a'i ddylanwad yn fawr yn yr eglwys a'r ardal, a bu yma [illegible] nodd ychwaneg o ddiwygiadau grymus iawn yn nhymor ei weinidogaeth. Yn fuan wedi marwolaeth Mr. Peter Jenkins, rhoddwyd galwad i Mr. David Jenkins, aelod o eglwys Trewyddel, sir Benfro, ac urddwyd ef yma Mai 22ain, 1822, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri L. Powell, Capel Isaac; Lewis, o'r Aber; Davies, Aberteifi; Rees, Trewyddel, &c. Ni bu tymor gweinidogaeth Mr. Jenkins yma dros bum' mlynedd. Aeth yn wallgofus, a bu raid ei symud at ei berthynasau i ardal Aberteifi.

Yn y flwyddyn 1829, rhoddwyd galwad i Mr. Evan Jones, o athrofa y Neuaddlwyd, ac urddwyd ef ar yr [illegible] 12ed o Dachwedd, yn y flwyddyn hono. Dechreuodd Mr. Jones ei weinidogaeth yma ar amser dymunol iawn, pan yr oedd agos pob eglwys trwy Ddeheudir Cymru ar dân gan ddiwygiad crefyddol grymus iawn. Yn mysg eraill cafodd eglwys y Brychgoed ran dda o'r gawod fendithiol. Derbyniwyd yma rai ugeiniau, a pharhaodd yr achos mewn agwedd dra dymunol trwy holl dymor gweinidogaeth Mr. Jones. O herwydd ei gysylltiadau teuluol, bu am flynyddau yn byw yn mhell oddiwrth[illegible], ond deuthai yma bob bythefnos, neu fynychach,—mwy [illegible] [illegible], yr hyn oedd yn gryn anfantais iddo ef a'r eglwys. Gan hyny [illegible] y cafodd alwad o Grugybar, yn ymyl ei breswylfod, penderfynodd roddi ei ofal gweinidogaethol yn y Brychgoed i fyny. Yn 1837 y cymerodd hyny le. Cyn diwedd y flwyddyn hono daeth Mr. John Stephens, yr hwn oedd ar y pryd yn cadw ysgol yn Ngwynfe, i'r Brychgoed ar brawf, a [illegible]wyd i roddi iddo alwad unfrydol. Urddwyd ef dydd Mawrth y Pasc, yn y flwyddyn 1838. Pryd y gweinyddwyd gan y gweinidogion canlynol: D. Jones, Gwynfe; D. Williams, Llanwrtyd; J. Davies, Aberhonddu; W. Williams, Llandilo; E. Jones, Pentretygwyn; T. Rees, [illegible]; E. Jones, Crugybar, &c. Cafodd pobl y Brychgoed a'r holl gymydogaeth gylchynol yn fuan wybod fod prophwyd i'r Arglwydd yn eu mysg. Cyn pen dwy flynedd wedi ei urddiad, cafodd Mr. Stephens a phobl ei ofal eu bendithio a diwygiad crefyddol effeithiol iawn. Aeth capel y Brychgoed yn fuan yn rhy fychan i gynwys y gwrandawyr, fel y bu raid adeiladu capel yn Nghwmcamlais, a ffurfio yr aelodau a breswylient yn yr ardal hono yn eglwys Annibynol. Yn mhen pedair blynedd ar ol adeiladu capel Cwmcamlais, sef yn y flwyddyn 1844, ail adeiladwyd hen gapel y Brychgoed. Nid oedd parodrwydd mawr yn yr eglwys i ymgymeryd a'r gorchwyl. Teimlai yr hen bobl serch mawr at yr hen dŷ, er gwaeled yr olwg arno, o herwydd mai yno yr oeddent hwy a'u henafiaid wedi bod yn addoli er's mwy na chan' mlynedd, ac yr oeddent oll, yn hen ac ieuainc, yn hwyrfrydig i fyned i'r draul o adeiladu tŷ newydd. Pa fodd bynag, trwy gallineb Mr. Stephens, yn nghyda hyawdledd Mr. Williams, Tredwstan[illegible], yr hwn a ddaethai yno ar gais Mr. Stephens, i geisio dylanwadu ar y bobl, llwyddwyd i gael pawb yn foddlon. Gweithiwyd yn egniol, ac erbyn dydd yr agoriad, yr oedd yr holl ddyled wedi ei thalu. Tua chwe' mlynedd cyn ei farwolaeth,

cafodd Mr. Stephens yr hyfrydwch o weled capel hardd wedi ei adeiladu yn mhentref y Defynog, a changen o'r Brychgoed wedi ei ffurfio yn eglwys yno. Gydag ail adeiladu y Brychgoed, ac adeiladu capeli yn Nghwmcamlais a'r Defynog, bu y gweinidog llafurus hwn hefyd yn foddion i adgyfodi yr achos yn Libanus megis o farw i fyw. Yr oedd ei gylch gweinidogaethol yn hir cyn terfynu ei oes yn cynwys pedair o eglwysi, yr oedd ei lafur gan hyny yn fawr iawn, ond cyflawnodd ef yn effeithiol, hyd nes i angau osod terfyn lled ddisymwth ar ei fywyd defnyddiol yn nechreu Mai 1872.

Yn 1873, rhoddodd yr eglwysi yn y Brychgoed a'r Defynog, alwad i Mr. Evan Powell, a fu yn athrofa Aberhonddu, a chynaliwyd cyfarfodydd ei urddiad Gorphenaf 7fed a'r 8fed, yn y flwyddyn hono, pryd y gweinyddwyd gan y Meistriaid D. Williams, Troedrhiwdalar; T. Evans, Talgarth; W. G. Evans, Trecastell; R. Evans, a W. Edwards, Aberdare; D. M. Davies, Cerrigcadarn, a D. Prosser, Aber. Yr ydym yn hyderu y disgyna deubarth ysbryd ei ragflaenydd defnyddiol a synwyrol ar Mr. Powell, a bod tymor hir a llwyddianus o'i flaen yma.

Cafodd y personau canlynol, ac o bosibl eraill nad ydym ni wedi gallu dyfod o hyd i'w henwau, eu cyfodi i bregethu yn yr eglwys hon.

Howell Powell. Gweler ei fywgraphiad ef yn nglyn a hanes eglwys Heolyfelin, Casnewydd.

Jonathan Powell, brawd Howell Powell. Yr ydym yn barnu mai yma y dechreuodd yntau bregethu, cyn iddo symud i ardal Godrerhos. Gweler ei hanes yn nglyn a Rhosymeirch, Môn.

Lewis Powell, Caerdydd. Mae ei enw a'i hanes ef yn ddigon adnabyddus i'r rhan fwyaf o grefyddwyr Cymru. Dechreuodd bregethu yma Rhagfyr 21ain, 1807. Gweler hanes Ebenezer, Caerdydd.

Rees Powell. Ganwyd ef yn y Beiligwern, yn Nghwmdreweren, yn agos i'r Brychgoed, Gorphenaf 29ain, 1785. Tyfodd i fyny yn ddyn ieuangc gwyllt ac anystyriol, ond tua y flwyddyn 1808, gorchfygodd Ysbryd Duw ei gyndynrwydd. Ymunodd a'r eglwys yn y Brychgoed, a chan ei fod yn ddyn ieuangc bywiog, ac o wybodaeth, galluoedd, a doniau tu hwnt i'r rhan fwyaf o'i gyfoedion, anogodd yr eglwys ef i ddechreu pregethu. Saer oedd wrth ei alwedigaeth, ac wrth yr alwedigaeth hono y bu trwy ei oes. Bu yn bregethwr cynorthwyol llafurus a derbyniol iawn, am fwy na haner can' mlynedd. Bu o wasanaeth mawr i'r achosion yn Nghwmwysg, Glynnedd, Hirwaen, Aberdare, a manau eraill yn eu mabandod, pan yr oedd pregethwyr yn anaml iawn yn y wlad. Yn agos i ddeugain mlynedd yn ol, symudodd o ardal y Brychgoed i Forganwg, a gorphenodd ei yrfa yn Mhontypridd, Medi 17eg, 1868, a chladdwyd ef wrth hen gapel yr Annibynwyr yn Llantrisant. Gweinyddwyd yn ei angladd gan Mr. W. I. Morris, Pontypridd. Yr oedd Rees Powell yn ddyn o alluoedd rhagorol, ac yn un o'r pregethwyr cynorthwyol galluocaf a wrandawsom erioed. Pe buasai amgylchiadau ei deulu yn goddef iddo ar gychwyniad ei fywyd cyhoeddus i roddi ei alwedigaeth fydol i fyny, a chysegru ei holl amser at bregethu, mae yn sicr y gallasai fod yn weinidog cyfrifol.

John Davies. Pe na buasai Mr. Stephens ac eglwys y Brychgoed yn gwneyd dim mewn ffordd o wasanaeth i grefydd yn y deugain mlynedd diweddaf ond cyfodi y gweinidog enwog a rhagorol hwn, buasent wedi gwasanaethu eu cenedlaeth yn dda. Gwelir cofiant helaeth i Mr. Davies yn nglyn a hanes eglwys Siloam, Llanelli, Brycheiniog.

John David Williams. Dechreuodd ef bregethu yr un amser a John Davies, ac yr oedd yn un o alluoedd ardderchog. Gweler ei fywgraphiad yn nglyn a hanes Ebenezer, Caerdydd.

Mae eglwys y Brychgoed o oes i oes wedi bod yn enwog iawn am dalent, doniau, a rhagoriaethau ei swyddogion, a'i haelodau. Driugain a phedwar-ugain mlynedd yn ol, yr oedd pregethwyr ieuaingc o alluoedd cyffredin yn arswydo myned yn agos i'r Brychgoed, oherwydd fod y son wedi myned allan trwy yr holl wlad y fath dduwinyddion dyfnion oedd y bobl. Yn mysg y dynion nodedig am eu duwioldeb a'u defnyddioldeb yma, gellid enwi Lewis Powell, taid y diweddar Mr. Powell, Caerdydd; a'i fab Benjamin Powell, Morgan Watkin, David Nicholas, yr hwn fu farw yn 1839, a llawer eraill na oddefa ein terfynau i ni eu crybwyll. Cyfoded yr Arglwydd lawer etto o rai cyffelyb iddynt yn yr hen eglwys barchus hon.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

John Watkins. Nid oes genym un wybodaeth am y gŵr da hwn, ond ei fod yn bregethwr enwog yn 1742, iddo gael ei urddo yn 1744, ac iddo farw Rhagfyr 9fed, 1748, yn 32 mlwydd oed, a chael ei gladdu wrth gapel y Brychgoed. Efe oedd perchenog fferm y Brychgoed, ac mae yn debygol mai ar ei draul ef yn benaf yr adeiladwyd y capel yno. Mae yn rhaid ei fod yn ddyn o bwysigrwydd mawr, cyn i bedwar-ar-ddeg o weinidogion ddyfod i'w urddiad, mewn oes pan yr oedd gweinidogion mor anaml, a chymaint o bellder rhwng lleoedd eu preswylfeydd.

Evan Williams. Gweler ei gofiant ef yn nglyn a hanes yr eglwys yn y Bala.

William Evans. Gweler hanes Cwmllynfell.

Peter Jenkins. Ail fab Peter a Jane Jenkins, o Benrhiw, Rhandirisaf, plwyf Llanfairarybryn, oedd ef. Yr oedd ei rieni yn aelodau ffyddlon yn Mhentretygwyn. Bu ei dad farw yn [illegible] mlwydd oed, Ionawr 6ed, 17[illegible], a ganwyd yntau yn nechreu y Mai canlynol, yn mhen pedwar mis ar ol marwolaeth ei dad. Bedyddiwyd ef yn fuan ar ol ei eni gan Mr. Owen Rees, gweinidog Pentretygwyn. Mae ei hanes o'r pryd hwnw hyd y pryd y derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yn gwbl anhysbys i ni, ond gan mai efe oedd etifedd fferm Penrhiw, ar ol ei henafiaid, ac iddo gadw meddiant o'r lle hyd derfyn ei oes, yr ydym yn casglu iddo, yn wahanol i blant tlodion, gael manteision addysg da yn more ei oes. Mai 23ain, 1775, pan yr oedd yn bedair-ar-hugain oed y derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys a ymgynnullai yn Nghefnarthen a Phentretygwyn.* Yr ydym yn barnu iddo ddechreu pregethu yn y flwyddyn 1776, ac iddo gael ei urddo yn y Brychgoed yn mhen dwy neu dair blynedd ar ol hyny. Er na chafodd addysg athrofaol, yr oedd yn ysgolhaig da. Cymerodd ofal yr eglwys yn Ngwynfe, mewn cysylltiad a'r Brychgoed, a bu yn myned yno un Sabboth yn y mis hyd derfyn ei oes. Yn Mhenrhiw, yn agos i Gefnarthen, lle ei enedigaeth, y bu yn cyfaneddu dros ei holl fywyd. Yr oedd ganddo tua deng milldir i fyned i'r Brychgoed, a'r un faint neu ychwaneg i fyned i Gwynfe, yr hyn oedd yn anfantais fawr iddo ef a'r eglwysi; ond parhaodd i wasanaethu y ddwy eglwys yn ffyddlon dros ei holl fywyd er pob an-

* Llawysgrifau Mr. Morgan Williams.

fantais. Byddai fynychaf yn cerdded yr holl filldiroedd hyn ar foreuau y Sabbothau, ac wedi hyny yn pregethu ddwy neu dair gwaith ar ol yr holl deithio. Wedi bywyd o lafur dibaid bu farw Gorphenaf 29ain, 1821, yn 72 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Cefnarthen. Yn ol pob peth a glywsom am dano gan ei gydnabod, nid ydym yn barnu fod Peter Jenkins yn bregethwr poblogaidd, ond yr oedd yn bregethwr adeiladol iawn, ac ni fynai pobl ei ofal fod unrhyw bregethwr gwell nag ef yn y byd. Dywedir ei fod yn egluro pob pwngc a driniai yn darawiadol a goleu iawn. Yr oedd hefyd yn ddyn llawn iawn o synwyr cyffredin, ac yn ddyn o ddylanwad dirfawr yn mysg ei holl gydnabod. Caiff y sylwadau canlynol o eiddo Mr. Powell, Caerdydd, am ei hen weinidog ddiweddu y bywgraphiad byr hwn:—"Yn mhlith holl rinweddau y Parch. Peter Jenkins, yn 1. Yr oedd am beidio rhoddi dim trafferth os buasai yn bosibl i neb. 2. Yr oedd am fod yn mor lleied o draul ag oedd yn bosibl i bawb. Clywais ef yn dyweyd mewn teuluoedd, 'Mae arnaf ofn eich bod wedi myned i gostau yn fy achos i.' 3. Peidio dyweyd dim un gair, na haner gair, i anmharchu neb. 4. Peidio cario newyddion drwg am neb. 5. Peidio ymyraeth dim a materion rhai eraill. 6. Peidio bod yn falch. 7. Peidio gadael neb i aros dim munud iddo ddyfod at ei gyhoeddiad. Gwr boneddig oedd ef tuag at ei addewidion. Nid oedd Mr. Jenkins yn rhoddi un sail i'r *clockiau* i ganu eu clychau i dori ei *garitor* ef na'i addewidion. 8. Peidio fy ngadael i i wasanaethu drosto ef, na'i gynorthwyo ef, heb fy nhalu yn dda bob amser."

DAVID JENKINS. Y cwbl a wyddom am foreu ei oes ef yw, iddo gael ei eni a'i fagu yn ardal Trewyddel, iddo gael ei dderbyn yn aelod o'r eglwys Annibynol yno, ac mai yno y dechreuodd bregethu. Yr ydym yn barnu iddo fod am ychydig amser yn athrofa y Neuaddlwyd. Urddwyd ef yn y Brychgoed yn Mai 1822, a thua diwedd 1826 neu ddechreu 1827 aeth yn wallgofus. Clywsom rai a ddylasent wybod, yn dyweyd mai gwaith dynes ieuangc, yr hon oedd am iddo ei phriodi, ac er dial arno am beidio, yn dwyn cyhuddiad disail o anfoesoldeb yn ei erbyn, a effeithiodd ar ei feddwl nes dymchwelyd ei reswm. Ni chafodd y ferch hono fyned o'r byd heb arwyddion amlwg o ddig yr Arglwydd. Priododd ac ymadawodd a'i gwr, aeth yn butain gyhoeddus, a bu farw yn y cymeriad hwnw!! Bu Jenkins druan fyw am rai blynyddau yn ei wallgofrwydd. Yr oedd yn hollol ddiniwed. Elai allan i'r heolydd a phregethai i blant a phawb a safent i'w wrandaw. Dywedir ei fod, pan yn feddianol ar ei reswm, yn bregethwr tra phoblogaidd, a'i fod yn ddyn hynaws ac anwyl iawn. Mor dywyll ac anesboniadwy yw ffyrdd rhagluniaeth.

JOHN STEPHENS. Yn nechreu y flwyddyn 1809, ymunodd Thomas Stephens y crydd mewn priodas a Mary, merch henaf Morgan Morgans o'r Banc, gerllaw capel Isaac. Yr oedd Thomas Stephens yn etifedd tyddyn bychan o'r enw Pantyfeillan, yn mhlwyf Llangathen, ac i'r lle hwnw yr aeth y par ieuangc i ddechreu eu byd. Yn niwedd mis Hydref, neu yn nechreu Tachwedd yr yn un flwyddyn, ganwyd iddynt fab, yr hwn a fedyddiwyd Tachwedd 16eg, 1809, dan yr enw John, gan Mr. William Williams, curad Llanfynydd; a'r John hwnw yw gwrthrych y y cofnodiad hwn. Yr oedd Mary Stephens wedi cael ei dwyn i fyny mewn teulu crefyddol iawn, ac yn un nodedig o dalentog, doniol, a gwybodus mewn pethau crefyddol, ond ar gychwyniad eu bywyd priodasol, ac am flynyddau ar ol hyny, nid oedd hi na'i phriod yn proffesu crefydd, er

eu bod yn wrandawyr cyson yn Nghapel Isaac, ac yn foesol eu hymarweddiad. Gan nad oedd tyddyn Pantyberllan ond lle bychan—digon i gadw buwch neu ddwy, yr oedd Thomas Stephens yn gorfod cynal ei deulu wrth ei alwedigaeth fel crydd. Yn fuan ar ol genedigaeth ei fab John, teimlodd awydd am roddi heibio yr alwedigaeth hono a myned yn amaethwr. Symudodd i fferm fechan a elwid y Gurnos, yn mhlwyf Llanfynydd, ac wedi bod yno wyth mlynedd, a'i blant erbyn hyn yn bedwar o nifer, symudodd i fferm fwy, a elwir yr Heol, yn yr un plwyf. Mewn trefn i gael modd i brynu anifeiliaid a phethau angenrheidiol eraill at y fferm hon, gwerthodd ei dreftadaeth—Pantyberllan. Cyn pen tair blynedd ar ol hyn cafodd allan nad oedd y fferm fawr yn talu ei ffordd, a bu raid iddo werthu y cwbl ond dwy fuwch a cheffyl, a myned i le bychan a elwir Ysgwynfach, ac ail ymaflyd yn ei alwedigaeth fel crydd. Wedi myned yno bu raid i'w fab John a'i ail fab Stephen ddysgu bod yn gryddion. Wedi dysgu ei gelfyddyd yn weddol dda, teimlodd John awydd i fyned oddicartref. Aeth i Dowlais yn niwedd y flwyddyn 1827, a bu yno yn gweithio am dri mis, yna dychwelodd i dŷ ei dad. Yn fuan wedi hyny torodd y diwygiad mawr a bythgofiadwy allan yn Nghapel Isaac. Ar yr 20fed o Orphenaf, 1828, aeth ef a phedwar-ar-bymtheg eraill yr un amser i'r gyfeillach. Yr oedd deg-ar-hugain eraill wedi myned i'r gyfeillach y nos Wener flaenorol. John Stephens oedd y cyntaf o deulu ei dad a aeth i'r gyfeillach. Y dyddiau canlynol dilynwyd ei siampl gan ei frodyr Stephen a Josuah, ei chwaer Maria, a'i dad a'i fam. Yr oedd ef flynyddau cyn hyn wedi dechreu teimlo yn achos ei enaid. Dan yr amgylchiadau canlynol, yn ol ei dystiolaeth ef ei hun, y daeth yr ystyriaeth gyntaf o'r perygl o bechu i'w feddwl:—Pan yr oedd rhwng pump a chwe' mlwydd oed, yr oedd Mr. Powell, wedi hyny o Gaerdydd, i bregethu un prydnawn Sabboth yn nhŷ ei dad. Pan ddaeth y pregethwr i'r tŷ, edrchodd y plentyn arno o'i ben i'w draed, a'r hyn a dynodd fwyaf o'i sylw oedd yr ysbardynau gloewon a welai ar ei sodlau. Wrth ei weled yn craffu mor fanwl arnynt gofynodd Mr. Powell iddo a wyddai ef pa beth oedd y rhai hyny dda. "Na wn i," oedd yr ateb. "Wel," ebe Mr. Powell, "at gosbi y ceffyl pan y byddo yn ddrwg y maent, ond y mae plant drwg i gael llawer gwaeth cosb yn uffern nag a gaiff y ceffyl oddiwrth bigau y rhai hyn." Effeithiodd yr ymddiddan hwn yn ddwys ar ei feddwl, a bu yn foddion i'w arwain i ystyried a meddwl llawer am y perygl o bechu. Wedi iddo dyfu i fyny byddai yn myned yn gyson i'r cyfarfodydd a'r ysgol Sabbothol yn Nghapel Isaac, ond ni wnaeth broffes gyhoeddus o grefydd hyd nes yr oedd yn agos i bedair-ar-bymtheg oed. Wedi myned i'r gyfeillach ar yr amser a nodwyd uchod, cafodd ei dderbyn i gyflawn aelodaeth yn mis Medi, 1828. Yr oedd Thomas Thomas o'r Wern, a Rees Powell, mab henaf Mr. Powell, Cross Inn, y rhai hefyd a gyfodwyd i bregethu, yn cael eu derbyn yr un Sabboth ag ef. Ac yn mhen mis ar ol hyny derbyniwyd W. Williams, wedi hyny o Landilo; T. Rees, yn awr o Abertawy, ac wyth-ar-hugain eraill. Ar gychwyniad y diwygiad hwn cyfodwyd cyfarfodydd gweddio i'r ieuengctyd yn yr ardal, y rhai a lywyddid yn y modd doethaf a thyneraf gan Mr. G. Griffiths, Carmel, yr hwn oedd yn cyfaneddu yn y gymydogaeth. Yn fuan hynododd John Stephens ac amryw eraill eu hunain yn y cyfarfodydd hyn, fel gweddiwyr a rhai

medrus i siarad ar faterion crefyddol. Yn haf y flwyddyn 1830, wedi siarad yn bersonol a hwynt, cynygiodd John Dafydd, mewn cyfarfod eglwysig, fod Thomas Thomas o'r Wern; Rees Powell, Tachloyan; John Stephens, Ysgwynfach, a William Williams o'r Hafod, i gael anogaeth i ddechreu pregethu. Dechreuodd y ddau flaenaf tua mis o flaen y ddau olaf. Yn mis Awst, 1830, mewn cyfarfod eglwysig y traddododd John Stephens ei bregeth gyntaf oddiwrth Act. ix. 6, "Arglwydd, beth a fynni di i mi ei wneuthur?" Daeth yn fuan i sylw a chafodd alwadau i fyned i bregethu i'r Tabernacl, Llandilo, Carmel, Llansadwrn, y Gwernogle, &c. Yn mis Medi, 1831, aeth ef a'i gyfaill William Williams i'r ysgol i Rydybont at Mr. W. Jones, yn awr o Abertawy. Wedi bod yno am ddwy flynedd yn derbyn addysg, gan nad oedd ganddo ef na'i rieni fodd i'w gadw yn hwy yn yr ysgol, yn hytrach na dychwelyd at ei alwedigaeth fel crydd, o'r hon ni bu ganddo erioed hoffder mawr, aeth i Carmel, Llansadwrn, i gadw ysgol ddyddiol. Agorodd ei ysgol yno Medi 16eg, 1833, ac yno y bu yn nodedig o ddefnyddiol fel pregethwr ac ysgolfeistr am dair blynedd a thri mis. Yn ystod yr amser hwnw byddai yn pregethu un Sabboth o bob mis yn Carmel, Capel Isaac, y Gwernogle, a Llansadwrn. Bu o wasanaeth nodedig i achos crefydd yn Carmel a'r ardal. Yn niwedd y flwyddyn 1836 symudodd i Gwynfe i gadw ysgol. Bu yno drachefn am flwyddyn yn ddedwydd a defnyddiol iawn. Yn ystod y flwyddyn hono lletyai yn y Brynchwith. Yn mis Gorphenaf, 1837, aeth am Sabboth i'r Brychgoed i bregethu ar brawf am alwad i'r weinidogaeth. Yr oedd ar y pryd dri neu bedwar eraill dan sylw yr eglwys, ond wedi ei wrandaw ef am ychydig Sabbothau, penderfynwyd yn unfrydol i roddi galwad iddo mewn cyfarfod eglwysig a gynaliwyd Tachwedd 20fed, 1837. Ionawr 1[illegible]eg, 1838, symudodd o Gwynfe i'r Bedlwyn, gerllaw y Brychgoed. Dydd Mawrth y Pasg, sef Ebrill 17eg, 1838, cynaliwyd cyfarfodydd ei urddiad yn y Brychgoed. Ar nos dydd ei urddiad yr oedd cyfarfod dirwestol yn cael ei gynal yn nghapel y Methodistiaid yn y Defynog, lle yr oedd ei gyfeillion W. Williams, Llandilo, ac E. Jones, Pentretygwyn, i areithio, aeth yntau yno ac arwyddodd yr ardystiad dirwestol, yr hwn a gadwodd yn ffyddlon am ddeuddeng mlynedd. Pan farnodd [illegible] sefyllfa ei iechyd yn galw arno i yfed ychydig ddiodydd meddwol yn feddygol rhoddodd i fyny ei ardystiad, ond parhaodd trwy ei oes i arfer y cymedroldeb llymaf. Wedi ymsefydlu yn y Brychgoed ymroddodd a'i holl egni i gyflawni ei weinidogaeth, a daeth ffrwyth ei lafur yn fuan i'r amlwg. Dechreuodd dderbyn aelodau newyddion i'r eglwys yn ddioed wedi ei urddiad, a pharhaodd i dderbyn rhai bob mis trwy y blynyddoedd 1838-39. O herwydd yr ychwanegiadau cyson hyn aeth capel y Brychgoed yn rhy fychan i gynwys y cymunwyr, ac yn gynar yn 1839 dechreuwyd adeiladu capel Cwmcamlais. Yn mis Ebrill, 1840, cafodd Mr. Stephens wahoddiad i fyned am fis i'r Tabernacl, Liverpool. Ar y Sabboth cymundeb yn y mis hwnw derbyniodd 30 o aelodau i'r eglwys. Bu hyn yn foddion i ail enyn tân y diwygiad yn ei ysbryd. Pan ddychwelodd adref taflwyd gwres newydd i eglwys y Brychgoed, ac ychwanegwyd yno ac yn Nghwmcamlais rai ugeiniau cyn diwedd y flwyddyn. Rhagfyr 29ain, 1841, ymunodd Mr. Stephens mewn priodas a Miss Elizabeth Thomas, merch Mr. Jeffrey Thomas o'r Bedlwyn, yn nhŷ yr hwn y lletyasai yn llettya er y pryd y daethai gyntaf i ardal y Brychgoed. Cafodd ynddi hi ymgeledd gymwys yn holl ystyr yr ymadrodd. Bu iddynt dri-ar-ddeg o blant, saith

o feibion a chwech o ferched, claddwyd pump o honynt yn eu mabandod, ac y mae y lleill oll yn fyw ac yn ddilynwyr Duw eu tad. Bu Mr. Stephens a'i briod fyw gyda ei dad a'i fam yn nghyfraith am wyth mlynedd a haner wedi iddynt briodi, a bu yr amser hwnw yn dra manteisiol iddo ef i ymroddi yn hollol i waith y weinidogaeth gan fod yr holl ofal am bethau tymorol ar yr hen bobl a Mrs. Stephens. Yn Mehefin, 1850, symudasant i'r Pantglas, lle y treuliodd ef weddill ei oes. Mae y Pantglas yn fferm lled fawr, ond gan fod Mrs. Stephens mor fedrus gydag amaethyddiaeth, ac i'r plant hynaf yn fuan ddyfod yn alluog i'w chynorthwyo, ni bu ymsefydlu yno yn nemawr o rwystr iddo ef i roddi y rhan fwyaf o'i amser at waith y weinidogaeth. Cafodd gryn ofid am ychydig ddyddiau yn Mawrth, 1851, trwy i gymydog anngharedig dynu goruchwyliwr y foneddiges a berchenogai y tir i roddi rhybudd iddo ymadael er mwyn iddo ef ei gael. Pe buasai yn gorfod ymadael y pryd hwnw buasai ei amgylchiadau yn cael eu dyrysu yn dost, a buasai yn colli y rhan fwyaf o'i eiddo wrth hyny, gan ei fod wedi myned i draul ddirfawr i osod y lle mewn trefn. Ond chwareuodd rhagluniaeth o'i blaid. Aeth ef, ac ysgrifenydd yr hanes hwn, i'r Bath at Mrs. Madocks, perchenog y lle, ac wedi gosod yr amgylchiad mor eglur a thoddedig ag y medrem ger ei bron, wylodd wrth wrandaw yr hyn a ddywedem, a dywedodd wrth Mr. Stephens y cawsai ef gadw y lle tra y buasai hi byw, a bu cystal a'i gair. Nid ydym yn gwybod i unrhyw ofid neillduol ei flino mwyach tra y bu fyw, ond y gofalon a'r pryderon cysylltiedig a dwyn i fyny deulu lluosog o blant, a sefydlu rhai o honynt mewn bywioliaeth. Fel y crybwyllwyd eisioes yn hanes yr eglwys, cafodd capel y Brychgoed ei adeiladu o newydd yn 1844. Yn 1848 cymerodd Mr. Stephens ofal Libanus mewn cysylltiad a'r Brychgoed a Chwmcamlais, ac yn 1866 agorwyd capel a ffurfiwyd eglwys yn y Defynog. Ac felly, yn ei flynyddau diweddaf, yr oedd ganddo ef bedair o eglwysi dan ei ofal, a phob un o honynt yn heddychol a llewyrchus. Yr oedd pregethu dair gwaith bob Sabboth a myned i'r cyfeillachau a'r cyfarfodydd gweddio i gynifer o fanau yn llafur dirfawr iddo, ond yr oedd wedi hir ymgynefino ag ef, a'i galon yn y gwaith, ac felly nid oedd yn un baich iddo.

Wedi tymor lled faith o lafur dibaid daeth galwad lled ddisymwth ar y gwas ffyddlon hwn i fyned oddiwrth ei waith at ei wobr. Ar nos y 10fed o Fai, 1872, ar ddiwedd cyfarfod gweddio mewn anedd-dy yn Nghwmcamlais, pan yn ymddiddan ag ychydig gyfeillion, cafodd ergyd ddisymwth o'r parlys mud, yr hwn ar unwaith a'i hanalluogodd i lefaru, er yr ymddengys ei fod yn ymwybodol o bob peth. Cludwyd ef i'w gartref, a bu yno yn gorwedd mewn rhyw haner cwsg hyd fore y 14eg o'r un mis pryd yr anadlodd allan ei ysbryd i fynwes ei Waredwr. Yn mhen tri diwrnod ar ol hyny ymgasglodd torf luosog a galarus i'w angladd. Claddwyd ef yn mynwent y Brychgoed. Pregethwyd yn yr angladd gan T. Rees, Abertawy, a'r hybarch D. Williams, Troedrhiwdalar. Mae colofn ardderchog wedi cael ei gosod ar ei fedd, ond nid ardderchocach na'i deilyngdod ef. O ran corph, dyn o faintioli canolig, tua phum' troedfedd ac wyth modfedd o daldra oedd John Stephens. Yr oedd yn ymddangos o gyfansoddiad cadarn, ond yr oedd tewder a byrdra ei wddf yn ei wneyd y fath ag y gallesid disgwyl i'r parlys mud ei gymeryd ymaith yn ddisymwth, ac felly y bu. Yr oedd ei wyneb yn grwn, ei edrychiad yn siriol, a lliw ei groen a'i wallt yn oleu. Yr oedd yn mhob ystyr yn ddyn pryd-

ferth yr olwg arno. Fel pregethwr yr oedd ynddo gydgrynhoad o lawer o ragoriaethau. Er nad oedd ei leferydd yn berseiniol, etto nid oedd yn aflafar. Medrai siarad yn dra meistrolgar ac effeithiol, a gwelsom gynnulleidfaoedd mawrion yn fynych yn toddi o dan ei weinidogaeth. Wrth drin materion ymarferol yr amlygai ei allu fel pregethwr yn benaf. Yr oedd y fath fanyldra a chraffder yn ei sylwadau a'i gydmariaethau, yn cael eu cyfodi fynychaf oddiwrth amgylchiadau ac arferion cyffredin bywyd, fel yr oedd yn anmhosibl i'r mwyaf pŵl ei feddwl i beidio eu deall a'u teimlo. Adroddai hefyd fyr hanesion *(anecdotes)* yn nodedig o darawiadol ac effeithiol, a'r hyn a wnelai eu hadroddiad mor effeithiol, ydoedd na byddai ef un amser yn adrodd hanesyn heb ei fod yn ateb i'r dim i'r mater fuasai ganddo mewn llaw, ac yn taflu goleu effeithiol arno. Gyda ei holl ragoriaethau fel pregethwr, yr oedd ynddo un bai y byddai yn dda i bob pregethwr ieuangc ei ochelyd, sef diffyg digon o ofal am iaith deilwng o'r pulpud. Arferai ef iaith yr aelwyd yn y pulpud, ac er nad oedd yn defnyddio geiriau anweddus, etto yr oedd arfer darnau o eiriau megis "hwnco a noco," yn lle *hwn acw* a'r *un acw*, yn disgyn yn ddiflas ar glustiau gwrandawyr chwaethus. Diofalwch am iaith deilwng oedd ei unig fai fel pregethwr, ond yr oedd ei ragoriaethau fel pregethwr eglur, miniog, a gafaelgar yn nghydwybodau ei wrandawyr yn fwy na digon i wneyd i fyny am y diffyg hwn.

Fel gweinidog, yr oedd yn un o'r rhai mwyaf cyflawn a medrus yn ei oes. Yr oedd yn ddigyffelyb am ei graffder a'i synwyr cyffredin, ac yr oedd yn anhawdd taro wrth ei fedrusach i drin achosion dyrus â dynion anhywaith. Gweithiodd ei ffordd yn dawel a digyffroad trwy lawer o amgylchiadau, y rhai fuasent yn sicr o derfynu mewn rhwygiadau eglwysig dan lywyddiad dynion llai medrus. Cyn ei sefydliad ef yn y Brychgoed bu yr eglwys a'r gynnulleidfa am lawer o flynyddau yn cael eu haflonyddu gan bersonau o dymherau afrywiog a therfysglyd, ond ni bu ef yno yn hir cyn i bob creadur o'r fath orfod teimlo fod dyn yn eu plith rhy graffus ei olwg a medrus i drin dynion iddynt hwy allu aflonyddu ychwaneg yno, ac felly nid oes yno ddim aflonyddwch, gwerth son am dano, wedi bod er's deng-mlynedd-ar-hugain neu ychwaneg. Ac nid yn unig yn mysg ei bobl ei hun y teimlid ei werth fel dyn medrus i ddadrus achosion dyrus, ond bu hefyd o wasanaeth dirfawr i'r eglwysi mewn llawer o leoedd eraill trwy y sir. Yr oedd holl eglwysi y sir er's blynyddau lawer yn edrych i fyny ato ef fel eu tad a'u cynghorwr ar bob mater o bwys, a bu ei farwolaeth, ar lawer o gyfrifon, yn llawn cymaint o golled i eglwysi Annibynol sir Frycheiniog yn gyffredinol ag y bu i'r eglwysi oeddent dan ei ofal uniongyrchol ef ei hun. Gallesid dyweyd am dano fel am Paul, fod y gofal dros yr holl eglwysi i raddau pell yn gorphwys arno.

Yr oedd hefyd yn ddyn gwerthfawr iawn, nid yn unig fel cristion a gweinidog da i Iesu Grist, ond fel gwladwr a chynghorwr ei gymydogion a'i gydnabod mewn pethau tymorol. Yr oedd yn anhawdd cael ei ragorach i roddi cynghor a chyfarwyddyd doeth yn mhob amgylchiad, a byddai ei gynghorion yn cael eu gofyn a'u dilyn yn gyffredin, ac ni chlywsom am neb erioed a drodd ato i achwyn ei fod wedi cael ei arwain i ofid wrth ddilyn ei gyfarwyddiadau. Y fath fendith i eglwys ac ardal yw un dyn da cyflawn o graffder a synwyr cyffredin. Pe buasai Mr. Stephens, ar gychwyniad ei fywyd cyhoeddus, yn talu mwy o sylw i'r iaith Saesonig fel ag i allu ei hysgrifenu gyda chywirdeb a'i siarad gyda rhwyddineb, buasai

ei ddylanwad dros bob dosbarth o gymdeithas, a'i ddefnyddioldeb yn llawer mwy nag ydoedd. Ond fel yr oedd, gwnaeth ei ol yn effeithiol yn y byd, a theimlir ei golled yn fawr am flynyddoedd o fewn cylch eang ei adnabyddiaeth. A chymeryd pob peth at eu gilydd, yr oedd yn un o'r gweinidogion gwerthfawrocaf yn ei oes. Gwasanaethodd achos ei Arglwydd yn ffyddlon gartref ac oddicartref am yn agos i ddwy-flynedd-a-deugain, am bedair-ar-ddeg-ar-hugain o ba rai bu yn weinidog defnyddiol yn y Brychgoed a'r canghenau. Bu ysgrifenydd y byr gofiant hwn yn cyfeillachu ac yn cydweithredu ag ef yn ngwaith yr Arglwydd am ugeiniau o flynyddau, ac y mae yn edrych yn mlaen gyda gobaith hyderus am gael ail uno ag ef yn fuan mewn cyfeillach uwch a santeiddiach nag a allasent gael yn y bywyd hwn.

## SARDIS, CWMCAMLAIS.

Yr oedd niferi o aelodau y Brychgoed yn byw yn y cwm prydferth hwn er dechreuad yr achos yno, a buwyd er's blynyddau yn siarad am adeiladu ysgoldy neu gapel bychan yma. Fel canlyniad i'r adfywiad crefyddol, a'r ychwanegiadau cyson a wnaed at eglwys y Brychgoed yn fuan wedi sefydliad Mr. Stephens yno, gwelwyd fod yn rhaid cael capel yn Nghwmcamlais gan fod capel y Brychgoed yn rhy fychan i gynwys y gynnulleidfa. Yn gynar yn y flwyddyn 1839, aeth Mr. Stephens, a Mr. John Jenkins, Cwmcamlais, at yr Yswaen Williams, Penpont, perchenog y rhan fwyaf o'r tiroedd yn Nghwmcamlais, i ofyn iddo am dir at adeiladu capel. Boddlonodd ei roddi ar yr amod na byddai un math o wasanaeth crefyddol i gael ei gynal ynddo ar yr amser y byddai gwasanaeth yn Eglwys y plwyf, yr hon sydd tua thair milldir oddiyno. Gan nas gallesid derbyn y tir ar yr amodau hyn edrychwyd allan am dir gan ryw berchenog arall. Yr oedd tyddyn yn y cwm yn eiddo i feibion Mr. D. Davies, Sardis, swydd Gaerfyrddin. Gofynwyd iddynt hwy am dir i adeiladu capel, a chafwyd ef gyda'r parodrwydd mwyaf, a thir at fynwent hefyd. Galwyd y capel newydd yn Sardis, o barch i Mr. Sardis, cynberchenog y lle. Er nad yw y llecyn hwn mor gyfleus a rhyw fan yn nes i lawr yn y cwm y mae ar y cyfan yn bur gyfaddas. Adeiladwyd y capel ac agorwyd ef Mehefin 2il a'r 3ydd, 1840, pryd y pregethodd y Meistri E. Pritchard, Scethrog; D. Williams, Bethlehem; E. Davies, athrofa Aberhonddu; W. Hopkins, Llangattwg; J. Thomas, Adulam; W. Williams, Llandilo; D. Williams, Llanwrtyd; R. Price, Cwmllynfell; E. Jones, Pentretygwyn; E. Jones, Crugybar, a James Williams, Ty'nycoed. Teimlwyd nerthoedd y dylanwadau dwyfol yn anghyffredin yn y cyfarfodydd hyn, ac mewn canlyniad iddynt ychwanegwyd llawer at yr eglwys ieuangc yn y lle. Yn mysg hen aelodau y Brychgoed, y rhai a gymerasant ran yn nghychwyniad yr achos yn y lle hwn, ni ddylid anghofio Thomas Evans a Henry Stephens, a'u gwragedd. Buont hwy am ugeiniau o flynyddau yn weithwyr ffyddlon yn ngwinllan eu Harglwydd, a disgynasant i'r bedd yn hen ac yn gyflawn o ddyddiau. Yn fuan ar ol agoriad y capel aeth Mr. Stephens, a'i gyfaill ieuangc, Mr. Williams, Llangadog, trwy holl eglwysi sir Frycheiniog, a chasglasant ddigon i dalu y gweddill o'r ddyled a arosai ar y capel. Wrth roddi ei gyfrif i fyny, mewn cyfarfod eglwysig, dywedodd Mr. Stephens fod Mr. Williams ac yntau wedi myned i draul wrth deithio trwy y sir i gasglu, a chan fod yno arian yn ngweddill dros ben talu y ddyled y dylesid

rhoddi iddynt hwy ddigon i ddwyn y treuliau yr aethent iddynt wrth deithio a chasglu. Er cywilydd iddynt yr oedd yno rai yn anfoddlon i hyny. Y synied a ffynai yn lled gyffredin yn mysg y werin yn y blynyddau gynt ydoedd, fod yn iawn i ddynion fod ar eu colled wrth wasanaethu achos crefydd! Fel mae goreu y modd y mae y syniad gwrthun hwnw er's blynyddau bellach yn graddol roddi ffordd i syniadau gwell. Bu yr eglwys hon o'i chychwyniad dan ofal Mr. Stephens hyd derfyn ei oes. Eglwys a chynnulleidfa fechan sydd yma, ac felly y parha, gan nad yw trigolion yr ardal ond ychydig o rif. Cafwyd yma rai tymorau o lwyddiant nodedig. Felly yr oedd yn yr amser yr adeiladwyd y capel, a bu yma lwyddiant nodedig drachefn yn 1860. Wedi marwolaeth Mr. Stephens rhanwyd cylch ei weinidogaeth. Fel y gwelsom, rhoddodd yr eglwysi yn y Brychgoed a'r Defynog alwad i Mr. Evan Powell, ac unodd Cwmcamlais a Libanus i roddi galwad i Mr. John Williams o athrofa Aberhonddu, yr hwn a urddwyd yn weinidog i'r ddau le Awst 19eg a'r 20fed, 1873.

Yr unig bregethwr a gyfodwyd yn yr eglwys hon yw Mr. James C. Evans, gweinidog yr eglwys yn Cana a Llanfair, sir Fon.

## LIBANUS.

Mae y capel hwn o fewn pedair milldir i Aberhonddu, ar ymyl y ffordd sydd yn arwain oddiyno i Ferthyr Tydfil. Dechreuwyd yr achos yn y lle hwn dan yr amgylchiadau canlynol:—Yn y flwyddyn 1820 cafodd dau ŵr ieuangc o'r ardal, o'r enwau David Davies a Morgan Powell, y rhai ni pherthynent i un enwad crefyddol, ar eu meddwl i gychwyn ysgol Sabbothol mewn anedd-dy yn y gymydogaeth. Yn fuan cawsant gymorth David Lewis, un o aelodau y Brychgoed, yr hwn, er na fedrai ddarllen, a ddechreuai ac a ddiweddai yr ysgol trwy weddi. Wedi bod yn cynal yr ysgol o dy i dy am dymor aeth y tai yn rhy fychain i'w chynwys, fel y bu raid iddynt ardrethu ty gwag i'r dyben o'i chadw yn gyson ynddo. Yn niwedd y flwyddyn 1821 clywodd Mr. Thomas Powell, gweinidog y Plough, Aberhonddu, am yr hyn a ddygid yn mlaen yn yr ardal, ac amlygodd ddymuniad am gael dyfod i bregethu i'r ty lle y cedwid yr ysgol. Bu yno, ac yn Twynyneuadd, yn pregethu amryw weithiau. Wedi iddo fod yno rai misoedd yn olynol deallodd fod y weinidogaeth yn cael ei theimlo, a phenderfynwyd ar ddiwedd un oedfa i gyhoeddi cyfeillach grefyddol yno. Arosodd chwech ar ol, ac yn mhen ychydig amser yr oedd deuddeg o'r ardalwyr wedi dyfod yn ymgeiswyr am aelodaeth eglwysig. Derbyniwyd hwy i gymundeb yn y Plough. Parhaodd Mr. Powell i fyned i'r lle i bregethu mor fynych ag y medrai, ac wrth weled yr aelodau a'r gwrandawyr yn lluosogi penderfynwyd edrych allan am le i adeiladu capel. Cafwyd darn o dir cyfleus gan W. Hughes, Ysw., o Aberhonddu, ac adeiladwyd arno gapel bychan a chyfleus, yr hwn a agorwyd Hydref 6ed a'r 7fed, 1823, pryd y pregethodd y Meistri J. Morgan, Pentretygwyn; D. Jones, Maesyronen; R. Jones, Ffaldybrenin; J. Jones, Talgarth, a D. Williams, Llanwrtyd. Nid oedd ond 80p. o ddyled yn aros ar yr addoldy a'r ddiwedd cyfarfodydd yr agoriad. Hyd yma yr oedd pob peth wedi myned yn mlaen yn llewyrchus iawn. Ond yn fuan ar ol agoriad y capel ymwthiodd rhyw greadur haerllug ac anonest i'r eglwys, a goddefwyd iddo fyned yn drysorydd ac ysgrifenydd. Dan ei law ef chwyddodd y

ddyled mewn ychydig amser o bedwarugain punt i chwechugain. Haerai ef mai rhyw dreuliau yr aethai ef iddynt yn nglyn a'r achos oedd y deugain punt ychwanegol. Yn y cyfamser, i wneyd y drwg yn waeth, daeth creadur gwael o'r enw Josuah Davies yma yn weinidog, a rhyngddo ef a'r trysorydd bu yr achos agos a chael ei ladd. Clodd y trysorydd ddrws y capel yn erbyn y gynnulleidfa a bygythiai ei werthu i gael talu y ddyled a honai oedd yn ddyledus iddo ef, a buasai yn gwneyd hyny oni buasai i rai o weinidogion y sir gyfryngu. Wedi cael gwared o'r gweinidog llygredig a'r trysorydd anonest, adferwyd tangnefedd a mesur o drefn yn y lle. Cymerodd Mr. D. Evans, Cwmwysg, ofal yr eglwys, a bu yn gweinidogaethu ynddi am chwe' mlynedd. Pan roddodd ef ei ofal i fyny rhoddwyd galwad i Mr. William Moses, aelod o eglwys Siloam, Pontargothi. Urddwyd ef yma Medi 24ain a'r 25ain, 1833, pryd y gweinyddwyd gan y Mri. Daniel Evans, Nazareth; D. Williams, Llanwrtyd; D. Evans, Cwmwysg; E Jones, Brychgoed; E. Davies, Aber, a J. Williams, Ty'nycoed. Bu Mr. Moses yn llafurio yma hyd 1848, pryd y symudodd i Tabor, Cefncoedycymer, lle y bu farw yn fuan wedi hyny. Gweler ei hanes yn nglyn a'r eglwys hono. Yr oedd yr achos wedi myned yn lled wywedig yma yn mlynyddau diweddaf gweinidogaeth Mr. Moses. Ebrill 16eg, 1848, yn mhen ychydig wythnosau ar ol ymadawiad Mr. Moses, cymerodd Mr. Stephens o'r Brychgoed, ofal yr eglwys. Yr oedd y frawdoliaeth ddigalon wedi suddo i 45p. o ddyled o herwydd peidio casglu yr hyn oedd raid at dreuliau yr achos. Y peth cyntaf a wnaeth Mr Stephens oedd cerdded o dy i dy i gasglu digon i dalu y swm hwn, a llwyddodd yn fuan. Yna, gan fod yr hen bulpud wedi myned yn rhy ddadfeiliedig i fod yn ddiogel gwnaeth gasgliad drachefn i gael pulpud newydd. Yn mhen ychydig amser adfywiodd yr achos, ychwanegwyd niferi at yr eglwys, a daeth pethau i wisgo agwedd lewyrchus a chalonog, ac felly y mae yn parhau hyd y dydd hwn. Cafwyd yma adfywiad grymus iawn yn 1860, pryd yr ychwanegwyd upwardau at yr eglwys. Ac yn ngwres eu cariad cyntaf dechreuasant adeiladu capel newydd, yr hwn, er cael cludiad y defnyddiau, a phethau ereill, yn rhad, a gostiodd 400p. Talwyd tri chant o'r swm hwn erbyn dydd yr agoriad yn Mehefin, 1861, a chyn pen dwy flynedd ar ol hyny talwyd y cant arall. Fel y nodwyd yn hanes Cwmcamlais, urddwyd Mr. John Williams o athrofa Aberhonddu, Awst 19eg a'r 20fed, 1873, i fod yn weinidog yma ac yno, fel canlyniedydd i Mr. Stephens, ac yr ydym yn gobeithio y bydd ef yn mhob ystyr yn ganlyniedydd teilwng o'i ragflaenydd doeth, llafurus, a llwyddianus. Cyn belled ag y gwyddom ni yr unig bregethwr a godwyd yn yr eglwys hon yw Mr. William Morgan, gweinidog yr eglwys yn Bethesda, Brynmawr.

## ABERESCAIR.

Mae y lle hwn ar y tu gogleddol i'r afon Wysg, tua thair milldir uwchlaw Aberhonddu. Yn y flwyddyn 1831 daeth Mr. Timothy Evans, gweinidog y Plough, Aberhonddu, i bregethu yn achlysurol i anedd-dy wrth Bontescair. Yr amser hwnw daeth Thomas Lewis, y crydd, a'i wraig, y rhai oeddent yn aelodau yn y Brychgoed, i fyw i'r ardal hon, ac yr oedd Joseph Davies a'i wraig, y rhai oeddent yn aelodau yn Ebenezer, Merthyr Cynog, yn cyfaneddu yma hefyd. Darfu i'r pedwar hyn gychwyn ysgol

Sabbothol, cyfarfodydd gweddio, a chyfeillachau crefyddol yma. Yn fuan ychwanegwyd dau neu dri eraill o'r ardalwyr atynt a ffurfiwyd hwy yn eglwys gan Mr. Timothy Evans. Tua y flwyddyn 1832 daeth Mr. Thomas Davies, aelod a phregethwr cynorthwyol yn Merthyr Cynog, i gadw ysgol ddyddiol yn y tŷ lle y cynhelid y gwasanaeth crefyddol ynddo. Yn fuan cydunodd y frawdoliaeth fechan i urddo T. Davies yn weinidog iddynt. Cynaliwyd cyfarfodydd ei urddiad Chwefror 21ain a'r 22ain, 1833, ond ni ddilynwyd y sefydliad hwn gan ddim daioni i'r achos. Pregethwr lled fyr ei ddoniau oedd T. Davies, ac yr oedd, mewn ychwanegiad at hyny, yn ddyn lled ddiffygiol o synwyr cyffredin, ac o dymer dra afrywiog. Felly ni bu ei arosiad ef yma dros flwyddyn. Symudodd oddiyma i gadw ysgol i Ddyffryn Crawnon, ac oddiyno i Sirhowy, lle yr ymunodd a'r Bedyddwyr, wedi iddo gael ei ddiarddel oddiwrth yr Annibynwyr am gymeryd rhan mewn derfysg eglwysig. Y mae wedi myned i ffordd yr holl ddaear er's blynyddau bellach. Wedi ymadawiad T. Davies cymerodd Mr. W. Moses ofal y ddeadell fechan yn Aberescair, mewn cysylltiad a Libanus, a than ei ofal ef y bu nes iddo symud o Libanus i Gefncoedycymer yn nechreu 1848. Bu Mr. Moses i fesur yn llwyddianus yma am rai blynyddau. Yn 1838 adeiladwyd yma gapel yn lle yr hen anedd-dy lle y cynhelid y gwasanaeth ar y cyntaf. Tua diwedd tymor Mr. Moses yma yr oedd pethau wedi myned yn lled anghysurus rhyngddo ef a rhai o'r aelodau, ac o herwydd hyny ymadawodd amryw o honynt. Tua y flwyddyn 1851 cymerwyd gofal yr eglwys gan Mr. Morgan Morgans, Merthyr Cynog, a than ei ofal ef y bu hyd ei farwolaeth yn 1862. Aeth pethau yn mlaen yn hyfryd iawn yma trwy holl dymor ei weinidogaeth ef, ac ychwanegwyd niferi at yr eglwys. Yn 1863 rhoddwyd galwad i Mr. P. G. Thomas, ac y mae efe yn parhau i weinidogaethu yma mewn cysylltiad a Phennorth hyd yn bresenol. Mae yr achos mewn agwedd gysurus iawn, a'r eglwys yn mwynhau tangnefedd hyfryd. Ar ddechreu yr achos, Mr. John Powell, Wernygof, a'i deulu, oedd prif gynorthwywyr y lle. Yn ei dy ef y llettyai y pregethwyr yn wastad, a'i deulu ef a flaenorent gyda'r canu, ond erbyn hyn y mae yma dri neu bedwar-ar-ddeg o dai yn agored i dderbyn pregethwyr ac i estyn eu cynorthwy i'r achos. Parhaed y gwaith da i lwyddo nes cael yr holl ardalwyr i gredu yn Mab Duw.

## Y TABERNACL, DEFYNOG.

Yr oedd cryn nifer o aelodau y Brychgoed, er dechreuad yr achos yno, yn cyfaneddu yn ac oddiamgylch pentref y Defynog. Bu yr aelodau hyn am genedlaethau yn cynal cyfarfodydd gweddio, cyfeillachau, ac ysgol Sabbothol o dy i dy yn y Pentref a'r gymydogaeth, a chan fod dros ddwy filldir o ffordd i'r Brychgoed, a llawer o honi yn serth a noeth iawn, teimlid er's blynyddau lawer yr angen o gael capel yn y pentref; ond cyfodai rhyw rwystr neu gilydd o flwyddyn i flwyddyn hyd y flwyddyn 1865. Yn y flwyddyn hono daeth darn cyfleus o dir, a fuasai ychydig cyn hyny yn eiddo offeiriad o'r Eglwys Sefydledig, ar ol ei brynu a'i werthu yn olynol gan wahanol bersonau, yn eiddo i Mr. Stephens o'r Brychgoed. Rhoddodd Mr. Stephens ef ar unwaith at adeiladu capel, ac mewn gwirionedd i'r dyben hwnw y prynodd ef. Wedi sierhau y tir, a chyn dechreu adeiladu daeth Mr. Powell, Caerdydd, heibio, a galwodd yn nhy Margaret Rees,

yr hon gydag un o'r pethau cyntaf, ar ol cyfarch eu gilydd, a ddywedodd wrtho fod tir wedi cael ei brynu yn y pentref, lle genedigaeth Mr. Powell, at adeiladu capel, ac aeth allan i ddangos y lle iddo. Wedi myned i'r fan dywedodd yr hen weinidog mewn teimladau drylliog o orfoledd, "Mae yn rhaid i ni fyned ar ein gliniau i weddio yma am fendith yr Arglwydd ar y lle a'r gwaith sydd i gael ei ddwyn yn mlaen yma," ac felly y gwnaethant. Pwy a wyr nad oes ystôr o fendithion i ddisgyn ar y lle mewn atebiad i'r gweddiau hyny. Ar ol dechreu adeiladu y capel meddyliodd rhai o gynberchenogion y tir y gallasent rwystro y gwaith, ac anfonasant gyfreithiwr at Mr. Stephens, i edrych a allesid cael rhyw wall yn ngweithred y pryniad fel y gallasant wahardd y crefftwyr i fyned a'r gwaith yn mlaen. Hwnw wedi chwilio pob peth a gweled nad oedd ganddo ddim i'w wneyd er rhwystro yr amcan o adeiladu ty i'r Arglwydd yno, a ddywedodd wrth Mr. Stephens, "Chwi ellwch fyned a'r gwaith yn mlaen o'm rhan i." Ar hyny gofynodd Mr. Stephens iddo am rodd at draul yr adeiladaeth. Rhoddodd iddo ddeg swllt yn siriol. Wrth eu derbyn dywedodd Mr. Stephens, "Allan o'r bwytawr y daeth bwyd, ac o'r cryf y daeth allan felusdra." Daeth y capel, yr hwn sydd adeilad hardd a chyfleus, yn barod, ac agorwyd ef Mehefin 13eg a'r 14eg, 1866, pryd y pregethwyd gan y Meistri T. Davies, Llanelli; D. Jones, Hermon; T. Thomas, Glandwr; D. Jones, B.A., Merthyr; E. Jones, Crugybar; J. Morris, athrofa Aberhonddu; T. Rees, Crughowell, (Trefnydd); J. Griffiths, Glantaf; J. Griffiths, Llanwrtyd, a T. Evans, Talgarth. Costiodd y capel 400p., ac y mae agos, os nad yr oll, o'r ddyled wedi ei thalu erbyn hyn. Ffurfiwyd yma eglwys fel cangen o'r Brychgoed, ac y mae yr achos wedi parhau i fyned rhagddo o'i gychwyniad hyd yn awr. Dan yr un weinidogaeth a'r Brychgoed y mae wedi bod o'r dechreuad, ac felly y mae pethau yn debyg o barhau, gan nad yw gofalu am ddwy gynnulleidfa cymharol fychain mewn ardal deneu ei phoblogaeth ddim yn ormod o waith i un gweinidog. Yn mysg y rhai blaenaf gyda chychwyniad yr achos hwn dylid rhoddi lle amlwg i enw *Margaret Rees*. Yr oedd hi yn wraig nodedig iawn am ei duwioldeb, ei ffyddlondeb, ei thalent, a'i defnyddioldeb gyda'r achos. Ymunodd a'r eglwys yn y Brychgoed yn ieuangc, a pharhaodd yn ffyddlon hyd y diwedd. Yr oedd ei gwybodaeth ysgrythyrol yn helaeth iawn, a'i chof a'i doniau yn rhagorol dros ben. Byddai yn fynych yn myned yn mhell i gymanfaoedd, cyfarfodydd chwarterol, &c., ac wedi dychwelyd adroddai sylwedd y pregethau yn y cyfeillachau yn effeithiol nodedig. Byddai yn aml yn gweddio yn gyhoeddus yn y cyfarfodydd, a bu am bum-mlynedd-ar-hugain yn blaenori y canu yn y rhan o gynnulleidfa y Brychgoed yn ardal y Defynog. Bu farw y ddynes ragorol hon Mai 15fed, 1865, yn 73 oed, a chladdwyd hi yn mynwent y Brychgoed. Mab iddi hi yw Mr. Thomas Rees, gynt o Grughowell, yn awr o Ferthyr, gweinidog parchus gyda'r Methodistiaid Calfinaidd. Mewn cysylltiad a'r achos yn y Defynog hefyd y mae enwau Edward Evans, Elizabeth Roberts, Robert Peat, a Daniel Griffiths, yn deilwng o'u coffau. Y mae parch mawr i'w coffadwriaeth fel pobl grefyddol yn yr ardal.*

* Llythyr Mr. E. Powell.

## CWMWYSG.

Mae y capel hwn mewn llanerch dawel a neillduedig yn mhlwyf Llywel, o fewn tua dwy filldir i Drecastell, ac heb fod yn mhell iawn oddiwrth darddle yr afon Wysg. Dechreuwyd pregethu yma yn Tircyd, Aberhenwenfawr, a lleoedd eraill; ond fynychaf wedi cael yma bregethu rheolaidd mewn ty bychan to gwellt, a elwid Heol Bedwar, heb fod yn mhell o'r fan y saif y capel presenol. Pregethid yma fynychaf ar gychwyniad yr achos gan Mr. D. Davies, Sardis, a than ei ofal ef y bu yr eglwys yma am y blynyddoedd cyntaf wedi ei ffurfiaol, yr hyn a gymerodd le tua'r flwyddyn 1824. Daeth Mr. Thomas Davies o Langeler, ond a ddechreuasai bregethu yn Nghrugybar, i'r ardal, a bu yma dros rai blynyddoedd, a gwnaeth ddaioni mawr yn y lle. Efe fu y prif offeryn i sefydlu yr achos, a bwriadwyd ei urddo yn weinidog yma, ond ymddengys nad oedd pawb yma yn cydolygu a hyny, ac felly ymadawodd ef a'r ardal ac aeth i sir Fon ac urddwyd ef yn weinidog yn Mhentraeth, a bu wedi hyny yn Ffestiniog, ond dychwelodd i Fon, a bu farw yn Bodffordd. Yr ydym eisioes wedi crybwyll am dano yn nglyn a Moelfro. Yn yr adeg yma ymwelid a'r ardal gan amryw bregethwyr cynorthwyol, megis John Jones, Saron; Ishmael Thomas, Bethlehem; Griffith Griffiths, Pantycenglau; David Evans, Gwynfe, ac eraill. Rhoddwyd galwad i Mr. David Evans, Gwynfe, i fod yn weinidog yma, ac urddwyd ef o gylch y flwyddyn 1825. Methasom a chael allan y dyddiad. Bu yma yn ddefnyddiol a chymeradwy am ddeugain mlynedd agos. Pregethodd lawer trwy yr holl wlad oddiamgylch, a gwelodd lwyddiant mawr ar ei lafur. Mwynhaodd yr eglwys yn ystod ei weinidogaeth dymhorau o ddiwygiadau grymus, yn y rhai yr ychwanegwyd llawer at yr eglwys. Ail adeiladwyd y capel, a daeth yma eglwys gref a chyfrifol, ac yr oedd y rhan fwyaf o amaethwyr yr ardal mewn cysylltiad a'r achos. Oblegid llesgedd a musgrellni teimlodd Mr. Evans, yn y flwyddyn 1862, fod yn rhaid iddo ymryddhau o'i ofal gweinidogaethol, a dewiswyd Mr. Benjamin Wilks, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, i fod yn olynydd iddo. Urddwyd Mr. Wilks ar yr 2il o Fedi, 1862. Ni bu ei dymor ef ond byr, ond bu yn dra llafurus a gweithgar. Ymaflodd y darfodedigaeth yn ei gyfansoddiad, a dychwelodd at ei berthynasau i ardal Canaan, Abertawy, lle y bu farw Mawrth 25ain, 1867, yn 32 oed. Cyn diwedd y flwyddyn hono rhoddwyd galwad i Mr. William G. Evans, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, a chynhaliwyd cyfarfodydd ei urddiad yn Nghwmwysg a Threcastell, Hydref 16eg a'r 17eg, 1867. Mae Mr. Evans yn parhau i lafurio yma gyda derbyniad a chymeradwyaeth, a mesur helaeth o lwyddiant. Derbyniodd yma i'r eglwys yn ystod llai na blwyddyn, driugain o aelodau newyddion, ac yn eu plith luaws o hen wrandawyr. Mae y capel hefyd wedi ei ad-drefnu, fel y mae yr achos yma yn ei holl ranau mewn agwedd obeithiol.

Mae yma lawer o bersonau nodedig am eu ffyddlondeb wedi bod yn nglyn a'r achos o'i gychwyniad. Crybwyllir yn barchus am y Prices, Dolhywel, hiliogaeth y rhai sydd yn golofnau cryfion o dan yr achos hyd y dydd hwn. Yn y Cyfarfod Chwarterol diweddaf a fu yma crybwyllai y diweddar hybarch Mr. Williams, Troedrhiwdalar, am Esther Tircyd, fel y prif un a fyddai yn llettya y pregethwyr a fyddai yn dyfod i'r ardal driugain mlynedd yn ol. Un o hiliogaeth y Prices oedd yr hen fam garedig

hono yn Israel; ac y mae yma lawer etto yn dilyn ei ffydd a'i hymarweddiad.*

Nid ydym yn cael fod yr un pregethwr wedi codi yma, ond bu amryw bregethwyr cynorthwyol parchus o bryd i bryd mewn cysylltiad a'r eglwys, ac yn gweini yn achlysurol iddi.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

David Evans. Ganwyd ef yn nghymydogaeth Gwynfe, yn y flwyddyn 1787. Derbyniwyd ef yn aelod yn nghapel Gwynfe, ac yno y dechreuodd bregethu. Wedi pregethu yn gynorthwyol dros rai blynyddau, derbyniodd alwad o Cwmwysg, lle y llafuriodd yn ddyfal am yn agos i ddeugain mlynedd. Yr oedd cymhwysder neillduol ynddo o ran corph a meddwl i'r lle. Yr oedd yn wr cadarn nerthol yn ei ddyddiau goreu, wedi ei gynefino a bywyd caled, ac felly yn dra chyfaddas i lafurio mewn gwlad uchel fynyddig. Dyn gwledig, garw ydoedd, heb dderbyn ond ychydig ddiwylliant meddyliol. Maen gweithfawr wedi ei gymeryd o'r gloddfa, ond heb ei gaboli. Dywedai lawer o bethau a barai ysgafnder a digrifwch, ac weithiau disgynai yn lled isel o ran ei chwaeth; ond byddai min yn wastad ar ei eiriau, ac ni ollyngai ei wrandawyr heb gynyg yn union at eu cydwybodau. Yr oedd ei holl gyflawniadau cyhoeddus yn gyffrous a gafaelgar Llafuriodd yn ddiwyd er cyflawni ei weinidogaeth; a gweithiodd yn galed fel tyddynwr bychan er darpar pethau onest yn ngolwg pob dyn. Efe a lafuriodd i gychwyn yr achos yn Nhrecastell, ac i adeiladu capel yno a thalu am dano. Yr oedd llesgedd a chloffni wedi ei analluogi yn ei flynyddau olaf i fyned oddiamgylch fel cynt; ac yn nechreu 1862 ymryddhaodd o'i ofal gweinidogaethol, ond ni bu byw yn hir ar ol hyny. Bu farw yn y flwyddyn 1863, a chladdwyd ef yn mynwent Cwmwysg.

Benjamin Wilks. Ganwyd ef yn nghymydogaeth Abertawy, yn y flwyddyn 1835. Derbyniwyd ef yn aelod yn Canaan, ac yno y dechreuodd bregethu. Cafodd addysg dda pan yn fachgen, ac yn haf 1858 derbyniwyd ef i athrofa Aberhonddu. Gwnaeth yno gynydd mawr mewn dysg, a chyfrifid ef yn ysgolhaig rhagorol. Ar derfyniad ei dymor yn yr athrofa derbyniodd alwad o Gwmwysg a Threcastell, ac wedi ei urddo llafuriodd yno yn ddiwyd am bedair blynedd a haner. Nid oedd ei gyfansoddiad ond gwanaidd, a dichon fod llafurio a theithio mewn gwlad mor uchel wedi bod yn drether rhy drom ar ei natur. Ni chyfrifid ef yn bregethwr poblogaidd, ond yr oedd yn ddyn ieuangc talentog a gwybodus. Ymroddodd yn egniol i egwyddori pobl ieuaingc yr eglwysi dan ei ofal; ac yr oedd yn Ymneillduwr trwyadl a goleuedig; ac ymladdodd frwydrau Ymneillduaeth yn benderfynol a di-ildio er holl ystrywiau y blaid Eglwysig, ac ennillodd fuddugoliaeth anrhydeddus. Erys ysgol Frytanaidd Trecastell yn gofgolofn o'i ymdrechion.

With weled ei iechyd yn gwaelu symudodd at rai o'i berthynasau yn Pentrechwith, heb fod yn mhell o Abertawy, ond yr oedd angau yn y babell, ac ni bu byw ond am dair wythnos wedi ei symudiad. Bu farw Mawrth 25ain, 1867, yn 32 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Bethel, Llansamlet. Daeth tyrfa fawr o'i hen gydnabyddion, a lluaws o'i frodyr

* Llythyr Mr. W. G. Evans, Trecastell.

yn y weinidogaeth i'w hebrwng i dy ei hir gartref. "Ei haul a fachludodd a hi etto yn ddydd!"

## TRECASTELL.

Mae pregethu achlysurol wedi bod gan yr Annibynwyr yn y lle hwn er's haner cant o flynyddoedd; ac am y deng-mlynedd-ar-hugain diweddaf y mae ysgol Sabbothol a chyfarfod gweddi yn cael eu cynal yma yn gyson bob Sabboth. Cynhelid hwy mewn ty a elwid Tygoleu, lle yr oedd y brawd ffyddlon Dafydd James yn byw. Mr. D. Evans, Cwmwysg, a bregethai yma fynychaf, ac arno ef yr oedd gofal yr achos; ac i Gwmwysg yr elai yr aelodau i gymundeb. Yn 1850 adeiladwyd yma gapel, yr hwn a alwyd Soar. Costiodd rhwng pryniad y tir 300p., er cael yr holl gludiad yn rhad. Talwyd yr holl ddyled trwy gydymdrech y gweinidog a'r ardalwyr. Bu Mrs. Evans a Mrs. Nicholas, dwy chwaer oedd yn byw gyda'u gilydd yn Nhrecastell, yn hynod o gefnogol i'r achos. Gellir crybwyll hefyd enwau Enoch Price, Ffynonwygau; Thomas Jones, Bronyddmawr; J. Williams, Panterafog, a W. Price, Tycapel, fel y rhai mwyaf blaenllaw gyda'r achos. Mae yr eglwys yma o'i chychwyniad o dan yr un weinidogaeth a Chwmwysg, ac felly y mae yn awr dan ofal Mr. Evans. Addrefnwyd y capel yma yn ddiweddar, ac y mae yma gryn ychwanegiad wedi bod at yr eglwys, fel y mae yr achos yn ei holl ranau mewn agwedd addawol a chalonogol iawn.

## ABERHONDDU.

Mae yr achos hwn yn un o'r rhai henaf yn yr holl sir, ond o ddiffyg defnyddiau nid oes genym ond ychydig iawn o fanylion ei hanes i'w cofnodi. Yn Aberllynfi, amryw filldiroedd i'r dwyrain o'r dref, yr oedd sylfaenwyr yr eglwys hon yn nghyd a'r eglwysi yn Nhredwstan a Gwenddwr, yn addoli yn benaf hyd nes y cafwyd ychydig o ryddid. Yn y flwyddyn 1687 adeiladwyd capel Tredwstan, ac ymddengys i nifer o'r rhai a ymgynnullent cyn hyny i Aberllynfi ymffurfio yn eglwys yno, ond mae yn ymddangos i'r bobl a ddechreuasent yr achos yn y Plough barhau i ymgynnull yno, neu mewn rhyw anedd-dy cyfagos, am rai blynyddau ar ol hyny, canys yr ydym yn cael i un Richard Williams, yn ei ewyllys, dyddiedig Mawrth 26ain, 1689, adael tyddyn o gan' erw, a elwir Ty Rhydymaen, yn mhlwyf Merthyr Cynog, at gynal y weinidogaeth yn eglwys yr Ymneillduwyr Protestanaidd yn Aberllynfi, ac y mae y tir hwnw hyd heddyw yn meddiant eglwys y Plough. Hefyd y mae Mr. Rees Prytherch yn cael ei grybwyll yn nghofnodion y Trysorfwrdd Henadurol yn Llundain, fel gweinidog i'r eglwys yn Aberllynfi o 1690 hyd 1693, ac y mae yn dra sicr iddo barhau i weinidogaethu iddi hyd ei farwolaeth. Mae yn ymddangos i'r addoliad yn Aberllynfi gael ei roddi i fyny ryw amser yn fuan ar ol 1693, oblegid fod y rhan fwyaf o'r aelodau yn trigianu yn y dref, a rhai ar y tu gorllewinol iddi, ac felly yr oedd y lle hwnw yn annghyfleus iddynt. Buwyd wedi hyny yn cynal y moddion mewn amaethdy a elwir y Gliwdeg, rhwng y dref ac Aberescair, ac hefyd yn y dref mewn anedd-dy yn Heolyllong *(Ship Street)*. Hydref 19eg, 1697, darfu

i Edward Williams, a'i wraig, Anne Williams, werthu darn o dir yn y dref i Edward Havard o'r Tylecrwn, at adeiladu addoldy arno. *Cantercelly* y gelwid y tir. Mae yn ddiameu mai ar y darn tir hwn y safai yr hen dafarndy a elwid y *Plough*, ac oddiwrth enw y tafarndy y cafodd y capel ei enw. Gorphenwyd yr addoldy erbyn Hydref 5ed, 1699, ac ar y dydd cyntaf o'r mis canlynol trwyddedwyd ef fel addoldy Ymneillduol, yn ol darbodaeth Deddf y Goddefiad, gan William Williams, Ysw., Maesllwch, ynad heddwch. Mae yn anhysbys pwy oedd y gweinidog yma yn awr, os oedd yma un. Dywed Mr. Morgan yn *Hanes Ymneillduaeth*, mai dan ofal gweinidogion Tredwstan y bu yr achos hwn o'r dechreuad hyd 1760; ond nis gall hyny fod yn gywir, canys yr ydym yn cael yn llawysgrifau Dr. John Evans mai Mr. James Watkins oedd y gweinidog yma yn 1715, ac mai 70 oedd rhif y gynnulleidfa, o ba rai yr oedd wyth yn dirfeddianwyr. Nid ydym yn gwybod dim o hanes Mr. Watkins—pa bryd y dechreuodd nac y diweddodd ei weinidogaeth yma. Y cwbl a wyddom ydyw, mai efe oedd y gweinidog yn 1715, a bod eglwys fechan yn Nghwmiau, ar derfynau sir Henffordd, dan ei ofal y pryd hwnw mewn cysylltiad a'r Plough. Mae yn ymddangos oddiwrth awgrymiad yn llyfr eglwys y Cilgwyn, i Mr. John Williams, gweinidog Cefnarthen, yr hwn a fu farw yn 1742-43, fod hefyd yn gweinidogaethu yma. Mae yn debygol na fu yma un gweinidog sefydlog ar ol ei farwolaeth ef, nes i Mr. David Jones o Frowyr ymsefydlu yma. Efe, yn ol cofnodion y Trysorfwrdd Henadurol, oedd y gweinidog yma o 1752 hyd 1757, a dichon ei fod yma rai blynyddau cyn 1752 ac iddo fod yma ar ol 1757. Pan ymsefydlodd Mr. William Williams yn yr Aber, tua y flwyddyn 1760, neu y flwyddyn ganlynol, ymgymerodd ef a gofal y Plough mewn cysylltiad a'r Aber, a than ofal gweinidogion yr Aber y bu o hyny allan hyd farwolaeth Mr. Evan Davies yn Hydref, 1811. Wedi hyny dewisodd y Plough a'r Aber weinidogion iddynt eu hunain. Rhoddodd eglwys y Plough alwad i Mr. Thomas Powell o Ddinbych, ac ymsefydlodd ef yma yn 1814, ac yma y bu yn dra defnyddiol hyd ddiwedd 1826 neu ddechreu y flwyddyn ganlynol. Ryw amser yn 1827 rhoddwyd galwad i Mr. Timothy Evans, aelod o'r eglwys yn Nghilcenin, a myfyriwr yn athrofa Caerfyrddin. Bu Mr. Evans yma yn lled boblogaidd am rai blynyddau. Yr oedd yn ddyn hawddgar a diddrwg, ac yn bregethwr doniol, ond mae yn ymddangos ei fod yn rhy ddioglyd i osod ei holl alluoedd ar waith er cyflawni ei weinidogaeth yn effeithiol. Pan ddeallodd fod y coleg Annibynol i gael ei symud o'r Drefnewydd i Aberhonddu, gwelodd y buasai yn rhaid iddo ef o hyny allan weithio yn egniol neu fyned dan warth, ac felly rhoddodd ei weinidogaeth i fyny yma yn 1838, ac enciliodd i'r Eglwys Sefydledig, lle y terfynodd ei oes. Yn Medi, 1840, rhoddwyd galwad i Mr. Griffith Griffiths, Casnewydd, a bu ef yma yn barchus a llwyddianus iawn hyd Ebrill, 1848, pryd y dychwelodd i'r Casnewydd. Yn fuan wedi i Mr. Griffiths ymsefydlu yma aeth yr hen gapel yn rhy fychan i gynwys y gynnulleidfa. Yr oedd yr hen dy hwn wedi bod yn addoldy er 1699, heb un cyfnewidiad, oddieithr ychydig o helaethiad a wnaed yma yn 1817. Yr oedd yn awr wedi myned yn ddadfeiliedig iawn, heblaw ei fod yn rhy fychan. Yn 1841 adeiladwyd y capel prydferth presenol yn ymyl yr hen addoldy, ac agorwyd ef Rhagfyr 29ain a'r 30ain, 1841, pryd y cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan y Meistri E. Jones, Crugybar; J. Griffiths, Tyddewi; D. Evans, Cwmwysg; W. Williams, Llandilo; H. Jones, Tredegar; D.

Davies, New Inn, &c. Mae hwn yn addoldy cadarn, cyfleus, a phrydferth, yn mesur 49 troedfedd wrth 40, y tu fewn i'r muriau. Wedi ymadawiad Mr. Griffiths rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. Caleb Gwion, un o'r myfyrwyr yn yr athrofa, ac urddwyd ef yma yn y flwyddyn 1849. Parhaodd ef i weinidogaethu yma hyd y flwyddyn 1860, pryd y symudodd i Milford lle y mae yn bresenol. Ni hysbyswyd ni am ddim nodedig, er gwell nac er gwaeth, a gymerodd le yma yn nhymor gweinidogaeth Mr. Gwion. Yn mhen tua blwyddyn wedi ymadawiad Mr. Gwion rhoddwyd galwad i Mr. Richard Solomon Williams, myfyriwr yn yr athrofa yma, ac urddwyd ef Mehefin 5ed, 1861. Dechreuwyd cyfarfod yr urddiad trwy weddi gan Mr. D. M. Davies, Cerrigcadarn; pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. T. Rees, Cendl; derbyniwyd y gyffes ffydd a gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. J. Stephens, Brychgoed, a phregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. J. Morris, un o athrawon yr athrofa. Yn y prydnawn, pregethodd Mr. Stephens, Brychgoed, ar ddyledswydd yr eglwys. Bu Mr. Williams yma yn llafurus a thra llwyddianus hyd yn agos i ddiwedd y flwyddyn 1872, pryd y symudodd i Bethesda, sir Gaernarfon, lle y mae yn bresenol. Yn y flwyddyn 1864 adeiladwyd capel bychan, fel cangen o'r eglwys hon, ar y Cantref, tua dwy filldir i'r deheu o'r dref, lle y cedwir ysgol Sabbothol, cyfarfodydd gweddio, a phregethu achlysurol. Yn haf y flwyddyn hon rhoddwyd galwad unfrydol i Mr. John Bowen Jones, B.A., o Benybontarogwy, a chynaliwyd cyfarfodydd ei sefydliad ef yma Medi 9fed a'r 10fed, 1874, pryd y pregethodd y Meistri S. Evans, Hebron; E. H. Evans, Caernarfon; J. Thomas, Liverpool; D. Jones, B.A., Merthyr; Dr. Rees, Abertawy, ac eraill. Mae Mr. Jones yn dechreu ei weinidogaeth yma dan amgylchiadau cysurus a gobeithiol iawn. Yr anfantais fwyaf yma, fel mewn amryw eraill o drefydd Cymru, ydyw fod y plant a enir ac a fegir yma agos oll yn tyfu i fyny mewn anwybodaeth o'r iaith Gymraeg. Mae yn anmhosibl gan hyny i gynnulleidfa Gymreig mewn tref fel hon ddyfod byth yn lluosog iawn.

Yr unig rai a gyfodwyd yma i bregethu, cyn belled ag y gwyddom ni, yw y rhai canlynol.

John Williams. Gweinidog Hawen, yn sir Aberteifi.

David Richards. Gweinidog yr eglwys yn Nghaerphili, Morganwg.

Nid ydym wedi cael allan fod unrhyw derfysg wedi cymeryd lle yn yr eglwys hon trwy holl dymor hirfaith ei hanes, nac ychwaith fod yma adfywiadau grymus wedi cael eu teimlo ar unrhyw adeg. Bu yr achos am flynyddau lawer dan anfantais dost wrth fod mewn cysylltiad gweinidogaethol a'r Aber. Mae yn ddiameu pe buasai rhyw ddyn llafurus a dysgedig yn ymsefydlu yma gant neu ychwaneg o flynyddau yn ol, ac yn cyfyngu ei lafur i'r dref yn unig, y buasai yma achos cryf a chynnulleidfa luosog iawn. Mae yr achos yn awr, ac er's deng-mlynedd-ar-hugain bellach, lawer yn gryfach nag y bu ar un cyfnod blaenorol o'i hanes, ond nid yw etto mor gryf ag y gallasai ac a ddylasai fod pe cawsai ei noddi yn briodol yn yr oesau gynt.

Gan ein bod wedi rhoddi bywgraphiadau gweinidogion yr eglwys hon mewn cysylltiad ag eglwysi eraill lle y buont yn llafurio, nid oes genym unrhyw gofnodion bywgraphyddol i'w gosod i mewn yma. Am Mr. James Watkins, yr hwn oedd yn weinidog yma yn 1715, nid ydym yn gwybod dim. Y cwbl a wyddom am Mr. David Jones ydyw, mai aelod gwreiddiol o Gellionen neu Gwmllynfell ydoedd; iddo gael ei addysgu yn

athrofa Caerfyrddin yn amser Mr. William Evans; iddo fod am tua deg-ar-hugain o flynyddau yn weinidog yn Gellibion yn Mrowyr, a'i fod yn weinidog yn Aberhonddu o 1752 hyd 1757. I'r Eglwyswyr ac nid i ni y perthyn ysgrifenu cofiant Mr. Timothy Evans.

## HEOL MORGANWG, ABERHONDDU.

Achos Saesonig yw hwn, a ddechreuwyd fel y canlyn:—Yn y flwyddyn 1833 daeth Mr. David Blow o Lundain i Aberhonddu, a hoffodd y lle fel lle i fyw ac i wneyd daioni ynddo, ac felly penderfynodd ymsefydlu yma. Gan fod Mr. Blow, yn wahanol i'r gweinidogion Ymneillduol yn gyffredin, yn wr cyfoethog, nid oedd arno eisiau cymorth neb ond yr Arglwydd i weithio allan ei gynlluniau daionus. Bu am dymor yn pregethu mewn ystafell, ac o herwydd rhyw reswm anhysbys i ni, symudodd i ystafell arall. Wedi llwyddo i gasglu cynnulleidfa penderfynodd adeiladu capel. Gan nad oedd modd iddo gael tir at ei adeiladu penderfynodd ei adeiladu yn ngardd ei dŷ ei hun, sef y tŷ a fu wedi hyny yn golegdy hyd nes yr adeiladwyd y colegdy presenol. Agorwyd y capel yn y flwyddyn 1836. Yn 1843 symudodd Mr. Blow oddiyma i Drefynwy. Dilynwyd ef yn y weinidogaeth yma gan Mr. Henry Griffiths, un o athrawon yr Athrofa. Bu yr eglwys dan ofal Mr. Griffiths hyd y flwyddyn 1849, pryd y bu raid iddo o herwydd ei waith mawr yn yr athrofa, a'r galwadau mynych oedd arno i fyned yma a thraw i bregethu, roddi ei ofal gweinidogaethol i fyny. Yn niwedd yr un flwyddyn urddwyd Mr. Henry Griffiths, un o'r myfyrwyr, yn weinidog fel canlyniedydd i'w athraw. Bu Mr. Griffiths yn weinidog llafurus yma am bedair-blynedd-ar-hugain. Yn niwedd y flwyddyn 1873 rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny ar ei waith yn ymgymeryd a bod yn oruchwyliwr i'r Gymdeithas Fiblaidd Frytanaidd a Thramor dros Ddeheubarth Cymru. Nid oes yma neb etto wedi ei ddewis fel canlyniedydd i Mr. Griffiths. Er nad oes yma gynnulleidfa luosog iawn y mae yma achos parchus, ac amryw fasnachwyr cyfrifol yn y dref wedi bod ac etto yn parhau i berthyn iddo.

Cyfodwyd yma dri o bregethwyr oddiar y dechreuad, ond trodd dau o honynt yn fradychwyr i Ymneillduaeth, ac aethant i ymofyn urddau yn yr Eglwys Wladol. Ni welodd ein hysbysydd yn werth rhoddi eu henwau i ni i'w cofnodi. Yr unig un gwerth ei grybwyll o'r tri a godwyd yma yw Mr. Henry More. Ganwyd ef yn y dref hon Mawrth 6ed, 1819. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yma gan Mr. Blow pan yr oedd yn un-ar-hugain oed. Yn mis Medi, 1842, derbyniwyd ef yn fyfyriwr i athrofa Homerton, y pryd hwnw dan lywyddiad yr enwog Dr. Pye Smith. Ar derfyniad ei amser yn yr athrofa ymsefydlodd yn Lowestoft, Norfolk, lle y bu yn nodedig o barchus, llafurus, a llwyddianus hyd y flwyddyn 1858, pryd y bu raid iddo, o herwydd gwaeledd ei iechyd, roddi ei ofal gweinidogaethol i fyny. Dychwelodd i Aberhonddu, ac yno y bu yn gwanychu yn raddol nes i'r darfodedigaeth osod terfyn ar ei fywyd dèfnyddiol Gorphenaf 18fed, 1861. Claddwyd ef yn nghladdfa newydd y dref. Yr oedd Henry More yn un nodedig o dduwiol a thalentog fel pregethwr. Pe cawsai iechyd buasai yn debyg iawn o ddyfod yn un o'r gweinidogion mwyaf enwog a defnyddiol yn Lloegr. Gadawodd wraig a dau o blant ar ei ol.

## BAILIHALOG.

Ystyr yr enw, fel y bernir, yw Buarthheulog. Mae yr achos henafol hwn yn un o'r canghenau o'r eglwys gyffredinol oedd yn wasgaredig trwy yr holl sir, ac a ystyrid yn un eglwys hyd ddyfodiad Deddf y Goddefiad i rym, pryd yr ymffurfiodd yr amrywiol ganghenau yn eglwysi Annibynol. Mewn anedd-dai y byddid yn addoli yn yr ardal hon, fel mewn ardaloedd eraill, am flynyddau. Yn ol y traddodiad, y lle y pregethid ynddo yn benaf cyn adeiladu capel ar dir y Bailihalog, oedd Nanty'ffeirad—amaethdy tua milldir yn nes i'r Mynydd na Bailihalog. Dywedir y byddai y Meistri Henry Maurice a Rees Prytherch yn pregethu yno yn aml. Yr ydym yn barnu i'r capel gael ei adeiladu yn y Bailihalog ryw amser rhwng 1690 a 1700. Mr. Rees Prytherch a ddilynodd Mr. Henry Maurice fel gweinidog yma, yr un fath ag yn y canghenau eraill. Canlyniedydd Mr. Prytherch yma oedd Mr. Howell Powell o Faesyclettwr. Cafodd ef ei urddo yma yn 1700, neu y flwyddyn ganlynol, a bu yma yn ddefnyddiol ac enwog iawn hyd nes iddo, er dirfawr golled i'r eglwys hon a Deheubarth Cymru yn gyffredinol, gael ar ei feddwl tua y flwyddyn 1712 ymfudo i'r America, lle y terfynodd ei oes. Yr oedd yr eglwys hon yn amser Mr. Powell yn dra lluosog, ac yn wasgaredig trwy blwyfydd Gwenddwr, Merthyr Cynog, Maesmynys, Cerrigcadarn, ac amryw blwyfydd cymydogaethol eraill. Y gweinidog nesaf yma oedd Mr. John Davies. Yr oedd ef yma yn ol ystadegau Dr. John Evans, mor foreu a'r flwyddyn 1715, ac ymddengys iddo aros yma hyd ei farwolaeth yn 1751. Yn 1715 yr oedd y gynnulleidfa yn gant a haner o rif, ac amryw dirfeddianwyr yn eu mysg. Thomas Laurence, yn ol cofnodion y Bwrdd Henadurol, oedd y gweinidog yma yn 1758, a chan y dywedir yn y cofnodion hyny ei fod yn *parhau* yno y flwyddyn hono, mae yn amlwg ei fod yno flwyddyn neu flynyddau cyn hyny. Mae yn ymddangos iddo ef farw neu symud oddiyma yn fuan ar ol y flwyddyn 1758, canys yr ydym yn cael fod Mr. David Williams o athrofa Abergavenny wedi ymsefydlu yma tua y flwyddyn 1765, a dilynwyd ef yma gan Mr. William Llewellyn, yr hwn a barhaodd yn ei gysylltiad gweinidogaethol a'r lle hyd 1773. Mae yn ymddangos ei fod ef hefyd yn weinidog yn Maesyronen trwy y rhan fwyaf o'r amser y bu yn weinidog yma, ac yr ydym yn cael ei enw fel y gweinidog yno am ddwy flynedd ar ol i'w gysylltiad a'r lle hwn ddarfod. O'r flwyddyn 1773 hyd 1804 nid ydym yn cael fod un gweinidog sefydlog yn yr eglwys hon. Ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol, fel yr ymddengys, y buwyd trwy yr holl flynyddau hyn, ac mae yn sicr i'r achos ddyoddef yn dost o herwydd hyny. Yn 1804 rhoddwyd galwad i Mr. David Williams, ac urddwyd ef yma yn y flwyddyn hono. Yr oedd yr achos erbyn hyn wedi myned mor wan fel nad oedd yma ond pymtheg o aelodau. Ond yn ddioed ar ol sefydliad Mr. Williams yn y lle daeth pethau i wisgo agwedd dra gwahanol. Ychwanegwyd niferi mawr at yr eglwys, a chafodd canghenau o honi eu ffurfio yn eglwysi gwahanol yn Llanfairmuallt yn 1808, ac yn Cerrigcadarn yn 1812. Parhaodd Mr. Williams i lafurio yma ac yn y canghenau gyda pharch a llwyddiant anghyffredin nes i'w iechyd fethu. Tua y flwyddyn 1826 bu raid iddo roddi gofal y Bailihalog a Cherrigcadarn i fyny, a chyfyngu ei lafur i Lanfairmuallt a Salem. Yn

y flwyddyn 1829 rhoddwyd galwad i Mr. Lewis Lewis o Henryd, Arfon. Bu ef am ychydig amser yn gweinidogaethu yma, yn Cerrigcadarn, ac yn Merthyr Cynog, ond tua y flwyddyn 1832 darfu ei gysylltiad a'r Bailihalog a Cherrigcadarn. Dilynwyd ef yn y ddau le hyn gan Mr. Evan Price o athrofa y Neuaddlwyd. Tua dwy flynedd fu tymor ei arosiad ef yma. A'r 10fed o Fawrth, 1836, urddwyd Mr. William Griffiths o Gwmnedd yma, a bu yma yn dra defnyddiol a pharchus hyd ddechreu y flwyddyn 1847, pryd y symudodd i Lanelli, Brycheiniog. Yn Rhagfyr, 1847, urddwyd Mr. Thomas Rhys Davies, mab yr adnabyddus Rhys Davies, "Y glun bren," fel y gelwid ef, yn weinidog yma ac yn Cerrigcadarn. Yr oedd Thomas Rhys Davies yn ddyn o alluoedd da, ac yn bregethwr tra phoblogaidd, a gallasai fod yn ddefnyddiol mewn unrhyw le pe buasai ei fuchedd yn cyfateb i'w dalent. Ymadawodd oddiyma i'r Ysgetty, Morganwg, yn 1851, ac yn fuan aeth oddiyno at y Bedyddwyr, a bu raid iddynt hwythau yn mhen ychydig amser ymwrthod ag ef. Bu farw yn niwedd 1873 yn Abertawy, yn gymeriad digrefydd a dibarch gan fyd ac eglwys. Yn 1852 rhoddodd yr eglwys hon mewn cysylltiad a Cherrigcadarn, alwad i Mr. David M. Davies, Rhaiadrgwy, ac efe yw y gweinidog yma o'r pryd hwnw hyd yn awr. Y mae ei lafur wedi, ac yn parhau, i fod yn fendithiol iawn yn yr holl gylch. Gan fod hen gapel y Bailihalog i fyny yn lled uchel yn y dyffryn, ac i raddau yn anghyfleus i gorph poblogaeth plwyf Gwenddwr, edrychwyd allan am le i gynal gwasanaeth achlysurol yn fwy yn nghanol y boblogaeth. Yr oedd ysgoldy yn mhentref Gwenddwr, lle y buasai y Bedyddwyr am yspaid yn cynal gwasanaeth crefyddol. Wedi iddynt hwy roddi y lle i fyny prynwyd ef gan yr Annibynwyr yn y flwyddyn 1808, ac oddiar hyny hyd yn awr mae pobl Bailihalog yn cynal ysgol Sabbothol, cyfarfodydd gweddio, pregethu ar nos Sabbothau, a chymundeb yn achlysurol yma. Yn 1862 ail adeiladwyd y ty hwn yn gapel coffadwriaethol am y ddwy fil Annghydffurfwyr. Y mae yn awr yn addoldy cyfleus iawn, a chynnulleidfaoedd lluosog yn gwrandaw pan y byddo yma bregethu, ond cynnulleidfa y Bailihalog yw y rhan fwyaf o honynt. Nid oes yma eglwys wedi ei ffurfio ar wahan oddiwrth y fam eglwys. Nid ydym yn gwybod a gafodd capel y Bailihalog ei ail adeiladu ryw amser yn y ddeunawfed ganrif, ond yr ydym yn tybied na chafodd, ac felly yr oedd yr hen dy, yr hwn oedd tua chant a phedwarugain mlwydd oed, wedi myned yn dra dadfeiliedig. Yn 1872 adeiladwyd yma gapel newydd prydferth a chadarn, ac y mae hwn, yn gystal a'r capel coffadwriaethol yn Ngwenddwr, yn hollol rydd o ddyled.

Nid ydym ni wedi cael allan fod neb ond y tri canlynol wedi eu cyfodi yma i bregethu.

Rees Jones, Ffaldybrenin.

Peter Griffiths, Llanrwst.

Richard Lloyd, Llanbadarnygarreg. Gweler bywgraphiadau y tri yn yn nglyn a'r eglwysi lle y buont yn weinidogion.

Mae yr eglwys hon cyn belled ag y gwyddom ni wedi bod yn nodedig o heddychol o ddechreuad yr achos hyd yn bresenol. Crybwyllir enwau y Penriaid o Faesclettwr; David Williams, Bailihalog, a'i wraig; Mrs. Williams, Gellirydd; Mrs. Williams, Wernddyfwg; John Williams, Ty-

newydd, a'i wraig, a Mr. Powell, Pentwyn, fel rhai a fuont yn nodedig o ffyddlon a defnyddiol gyda'r achos yma. Mae lluaws o'r hen aelodau yn gorwedd yn mynwent y Bailihalog—rhai oddifewn a rhai oddiallan i'r capel.*

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

HOWELL POWELL. Yr ydym yn lled sicr mai un genedigol o'r ardal hon oedd Mr. Powell. Dichon iddo dderbyn y rhan gyntaf o'i addysg yn athrofa Brynllwarch. Yn Chwefror, 1697, aeth i Lundain i fyned dan arholiad i weled a oedd yn gymwys i fyned trwy gwrs o addysg brif athrofaol *(university learning)*. Cafodd ei arholi gan Mr. Nesbitt a Mr. Lobb, dau o weinidogion dysgedicaf yr Annibynwyr yn Llundain, a darfu iddynt ei gymeradwyo i'r Trysorfwrdd Cynnulleidfaol fel un addas i'w anfon i athrofa Mr. Thomas Payne, o Saffron Walden, yn Essex, un o'r athrawon Ymneillduol enwocaf yn ei oes. Aeth Mr. Powell yno Ebrill 5ed, 1697, ar draul y Bwrdd Cynnulleidfaol, ac ymddengys iddo fod yno o ddwy i dair blynedd. Ar orpheniad ei amser yno dychwelodd i Frycheiniog, a dewiswyd ef yn weinidog gan eglwys y Bailihalog—ei fam eglwys yn ddiau. Bu yma fel y gwelsom am un-ar-ddeg neu ddeuddeng mlynedd, ac yna yn 1712 ymfudodd i'r America. Bu yn weinidog yn Cohensey, yn New Jersey, hyd ei farwolaeth yn 1716. Yr oedd mab iddo yn ynad heddwch yn y lle hwnw, yn mhen tua deugain mlynedd ar ol marwolaeth ei dad, ac amryw o'i wyrion hefyd yn bobl gyfrifol a rhagorol iawn.† Mae awdwr *Llyfryddiaeth y Cymry*, yn unig oblegid fod Hanesydd y Bedyddwyr wedi digwydd, yn achlysurol, gofnodi ychydig ffeithiau o hanes Mr. Powell, yn dyweyd mai aelod parchus yn mysg y Bedyddwyr ydoedd. Ni bu erioed gasgliad mwy disail.

Yr oedd Howell Powell yn ddyn galluog, dysgedig, a defnyddiol iawn, a cholled ddirfawr i Gymru oedd colli y fath ddyn yn mlodau ei ddyddiau. Yr oedd y fath olwg gan wyr Llundain arno fel y rhoddent gymaint arall yn flynyddol iddo ef o'r Trysorfwrdd Cynnulleidfaol ag a roddent i weinidogion eraill yn Nghymru, ac y mae Dr. Daniel Williams yn ei enwi ef yn bendant yn ei ewyllys fel un oedd i dderbyn cymunrodd ganddo. Yn 1709 cyhoeddodd Mr. Powell gyfieithiad o lyfr gwerthfawr a elwir *Y Gwrandawr*, gan Dr. John Edwards, Rhydychain, ac yn 1711 cyhoeddodd gyfieithiad o waith Eliseus Cole ar Benarglwyddiaeth. Bu y llyfr hwn mewn bri dirfawr gan hen grefyddwyr Cymru am fwy na chan' mlynedd. Pe na wnelsai Mr. Powell ddim ond cyhoeddi ei gyfieithiad o'r llyfr hwn buasai hyny yn ddigon i anfarwoli ei enw yn mysg hen Ymneillduwyr Calfinaidd y Dywysogaeth. Gresyn i'r Cymru trwy eu cybydd-dod ollwng, neu orfodi, dyn mor werthfawr i adael ei wlad. Nid Howell Powell oedd y cyntaf, ac yn sicr nid efe oedd y diweddaf, o feibion galluog Cymru na welodd eu cydgenedl eu gwerth nes eu colli.

JOHN DAVIES. Nid ydym yn gwybod dim am dano ef amgen na'i fod yn weinidog yma yn 1715, ac iddo farw yn 1751. Crybwyllir ei enw mewn hen lawysgrif fel un o'r gweinidogion a weinyddent yn urddiad Mr. Owen Rees yn Mhentretygwyn yn Mawrth 1742.

* Llythyr Mr. D. M. Davies.

† Hanes y Bedyddwyr gan J. Thomas, tudalen 381.

THOMAS LAWRENCE. Nid oes genym unrhyw wybodaeth am dano ef, ond yn unig iddo gael ei dderbyn i athrofa Caerfyrddin Chwefror 3ydd, 1752, ar draul y Trysorfwrdd Cynnulleidfaol, a'i fod yn y Bailihalog yn weinidog yn 1758. Mae yn dra thebygol mai yn 1756, ar orpheniad ei amser yn Nghaerfyrddin, yr urddwyd ef yno. Nis gwyddom pa beth a ddaeth o hono ar ol 1758.

DAVID WILLIAMS. Un genedigol o Drelech oedd ef. Derbyniwyd ef yn fyfyriwr i athrofa Annibynol Abergavenny Ionawr 8fed, 1759, ac yn 1762 ymsefydlodd yn weinidog yn y Bailihalog. Priododd yno, cafodd ddau o blant, a chladdodd ei wraig yn yr yspaid byr o dair blynedd. Wedi claddu ei wraig gwnaeth ei feddwl i fyny i ymadael o Frycheiniog ac ymsefydlu yn Rhosymeirch, Mon. Pan yn myned i'r Gogledd gadawodd ei ddau blentyn yn ngofal hen bobl dduwiol yn Llanwrtyd, a bwriadai ddychwelyd yn mhen ychydig fisoedd i'w cymeryd gydag ef i'w gartref newydd. Ond dyryswyd ei holl gynlluniau. Wedi iddo fod yn pregethu am ychydig amser yn Mon cymerwyd ef yn glaf a bu farw yno. Claddwyd ef o flaen yr areithfa yn nghapel Rhosymeirch yn niwedd y flwyddyn 1766 neu ddechreu y flwyddyn ganlynol. Magwyd ei blant yn ofalus gan yr hen bobl, y rhai y gadawsai ef hwy yn eu gofal yn Llanwrtyd. Dygwyd y bachgen i fyny yn ddilledydd, ac aeth y ferch i gymydogaeth y Gelli, Brycheiniog, lle y priododd yn gysurus. Bu mab iddi hi yn genhadwr dan Gymdeithas Genhadol Llundain. Cawsom y rhan fwyaf o'r hanes nodedig hwn yn mis Mai, 1874, o enau yr hybarch David Williams, Troedrhiwdalar. Tua thri mis cyn ei farwolaeth methai Mr. Williams a chofio enw y cenhadwr, ond dywedai ei fod yn sicr mai yn yr India Orllewinol yn rhywle yr oedd maes ei lafur.

WILLIAM LLEWELLYN. Yn hanes Maesyronen dywedasom ein bod yn lled dybied mai yr un oedd y gwr hwn a'r William Llewellyn a urddwyd yn y Cwmmawr, Morganwg, yn 1746, ond yn awr yr ydym o farn wahanol, ac yn barnu yn ddisigl mai hwn yw yr hynod William Llewellyn o Lanllieni. Ganwyd ef yn y Coety, Morganwg, yn 1735. Crydd oedd ei dad, ac yr oedd yn lled dlawd ei amgylchiadau, ond yn ddyn crefyddol ac yn aelod yn Mhenybont gyda Mr. Lewis Jones. Aeth William Llewellyn yn lled ieuangc i wasanaeth un Mr. Morgan, Fferyllydd a Bragwr yn Mhenybont. Pan yno elai i ysgol nos a gedwid gan Mr. Jones, y gweinidog, er mwyn addysgu bechgyn tlodion. Canfyddodd ei athraw yn fuan fod y llangc William Llewellyn yn meddu galluoedd anghyffredin. Daeth yn mlaen yn nodedig mewn dysgeidiaeth. Wedi ei dderbyn yn aelod o'r eglwys, cymeradwyodd ei weinidog ef i athrofa Abergavenny, a derbyniwyd ef yno Ionawr 8fed, 1759. Wedi gorphen ei amser yno bwriadai ymsefydlu fel gweinidog yn Henffordd, ond o herwydd i un o'r gynnulleidfa wrthod caniatad i symud ei eisteddle yn y capel, er gwneyd rhyw welliadau yno, digiodd Mr. Llewellyn ac aeth ymaith yn ddirybudd o'r lle ar ddydd Sadwrn, heb ddarparu neb i lenwi ei le ar y Sabboth, ac ni ddychwelodd yno mwyach. Bu wedi hyny am ychydig amser yn Walsall, yn sir Stafford, ac yn Bewdly, yn sir Gaerwrangon, ac yn 1766 yr ydym yn ei gael yn y Bailihalog. Bu yma hyd 1773, ac am ddwy flynedd yn ychwaneg yn Maesyronen. Aeth oddiyno i Llanllieni, lle y priododd wraig gyfoethog, ac yno y treuliodd weddill ei oes. Dywedir ei fod yn ysgolhaig rhagorol, yn bregethwr doniol i'w ryfeddu, ac yn ganwr soniarus. Ond er y cwbl yr oedd yn waeth na bod yn ddiwerth canys yr

yr oedd yn agos a bod yn wallgofddyn. Bernir mai galar gormodol o herwydd marwolaeth ddisymwth ei wraig gyntaf ddarfu effeithio i ysgafnhau ei ben. Ond y mae yn amlwg fod ynddo rywbeth yn ymylu ar wallgofrwydd cyn iddo gael un wraig, fel y tystia ei ymadawiad o Henffordd. Ysgrifenodd beth dirfawr o lyfrau, ond y mae yn eglur i bob un a'u darlleno mai cyfansoddiadau gwallgofddyn talentog ydynt. Bu farw yn dra disymwth trwy gael ergyd o'r parlys, pan newydd orphen pregethu boreu Sabboth, Ionawr 30ain, 1803, yn 68 oed, a chladdwyd ef yn y festri berthynol i'r capel yn yr hwn yr arferai astudio.

## CERRIGCADARN.

Enw plwyf yw Cerrigcadarn. Mae y capel Annibynol yma yn y pentref, yn agos i Eglwys y plwyf. Dechreuwyd yr achos yma trwy lafur Mr. David Williams, Llanfairmuallt, pan yr oedd yn weinidog yn y Bailihalog. Yn 1812 yr adeiladwyd y capel cyntaf yma. Gan fod cryn lawer o drigolion yn y pentref hwn, a phentref cyfagos Erwood, daeth yr eglwys a'r gynnulleidfa yma yn dra buan lawer yn lluosocach na'r fam eglwys yn y Bailihalog. Erbyn y flwyddyn 1853 yr oedd y capel yma wedi myned yn lled ddadfeiliedig, ac yn rhy fychan i gynwys y gynnulleidfa, fel yr oedd galwad uchel am gapel newydd. Buwyd yn gofyn amryw weithiau i oruchwyliwr Mr. Henry Thomas, Llwynmadog, perchenog y tir, am le i helaethu y capel, ond ei ateb bob tro y gofynwyd iddo ydoedd, "Ewch i'r Eglwys, y mae yno ddigon o le i chwi." O'r diwedd barnwyd nad gwiw gofyn iddo ef drachefn, a barnai y brodyr yn unfrydol mai gwell fuasai myned at y boneddwr ei hun. Ond nid oedd un o honynt hwy yn teimlo yn ddigon gwrol i fyned, rhag ofn digio y goruchwyliwr, fe ddichon. Pan nad ymglywai neb o honynt fyned, dywedodd Mr. Davies, y gweinidog, yr elai ef ei hun, ac aeth. Wedi dyweyd ei neges atebodd y boneddwr ef, y buasai yn cymeryd amser i ystyried y mater, gan y gwyddai y buasai yr eglwyswyr yn anfoddlon iddo ganiatau y cais, o herwydd fod y capel mor agos i'r Eglwys. Pa fodd bynag, dywedodd wrth Mr. Davies am alw arno drachefn ar ol iddo gael amser i ystyried y peth. Galwodd yn mhen rhyw yspaid a chafodd fod Mr. Thomas wedi myned i Lundain, lle y bwriadai aros am dymor. Penderfynodd Mr. Davies guro yr haiarn tra y buasai yn boeth, ac felly gwnaeth ei feddwl i fyny i fyned i Lundain ar ei ol. Aeth, a chaniatawyd ei gais iddo. Dywedodd y boneddwr wrtho am fyned adref a thynu *map* o'r tir a'i anfon iddo ef. Gwnaed hyny, ac anfonodd yntau lythyr caredig at Mr. Davies yn dyweyd ei fod yn foddlon iddynt gymeryd ugain perc o dir at gapel a mynwent, ac am iddynt ddechreu adeiladu mor gynted ag y mynent. Dyddiad y llythyr hwn oedd Mehefin 1af, 1853. Dechreuwyd adeiladu yn fuan ar ol hyn. Erbyn Mai, 1854, yr oedd y capel wedi ei orphen, a chynaliwyd cyfarfodydd ei agoriad ar yr 21ain a'r 22ain o'r mis hwnw, pryd y pregethodd y Meistri D. Williams, Troedrhiwdalar; J. Stephens, Brychgoed; D. Jones, Aber; C. Gwion, Aberhonddu; M. Morgans, Merthyr Cynog; D. P. Davies, Llanfair, ac R. Lewis, Ty'nycoed. Mae y capel yn adeilad tlws, cadarn, a chyfleus. Traul yr adeiladaeth oedd 300p., ac y mae yr holl ddyled wedi ei thalu er's blynyddau. Mae yma gynnulleidfa siriol, a'r achos mewn agwedd ddymunol iawn.

Nid yw yn hysbys i ni fod yma neb wedi cael ei gyfodi i bregethu o ddechreuad yr achos hyd yn bresenol. Dan yr un weinidogaeth a'r fam eglwys yn y Bailihalog y mae yr eglwys hon wedi bod o'r dechreuad, ac felly nid oes genym ddim i'w ychwanegu gyda golwg ar y gweinidogion at yr hyn a gofnodwyd yn hanes yr eglwys hono.

## BRECHFA.

Mae y capel hwn yn mhlwyf Llandefally, ac o fewn llai na milldir i bentref prydferth Llyswen. Yr oedd rhai o aelodau Maesyronen a Thredwstan yn cyfaneddu yn yr ardal hon oddiar sefydliad cyntaf yr eglwysi yn y lleoedd hyny. Yr oedd tri-ar-ddeg o Ymneillduwyr proffesedig yn byw yn y plwyf hwn yn 1673, a diau fod rhyw niferi wedi parhau i fyw yma trwy yr holl flynyddau o'r pryd hwnw hyd sefydliad yr achos hwn yn Mrechfa. Mae yn ddiamheuol y buasai yma, fel mewn lluaws o ardaloedd eraill, achos crefyddol flynyddau yn gynt oni buasai y syniad gwrthun a goleddai yr hen grefyddwyr, fod dau addoldy i'r un enwad o fewn llai na chwech neu saith milldir i'w gilydd yn afreolaidd, ac yn tueddu at wanychu yr achos yn lle ei gryfhau. Pa fodd bynag, rhoddodd yr hen syniad hwn yn raddol ffordd i syniad gwell. Yn fuan wedi i Mr. Thomas Bowen ymsefydlu yn Maesyronen, byddai yn dyfod yn achlysurol i bregethu i'r ardal hon mewn anedd-dai, ac arweiniodd yr effeithiau daionus a ddilynent ei weinidogaeth yr ardalwyr i deimlo awydd am gael addoldy yn eu hardal. Yn y flwyddyn 1790 cafodd Mr. Bowen lês am 999 o flynyddau ar tua haner erw o dir ar gwmin Brechfa, gan Syr Edward Williams, Barwnig, o Gastell Lamgoed, at fynwent a lle i adeiladu capel. Adeiladwyd y capel a thrwyddedwyd ef at bregethu ynddo Mehefin 24ain, 1791. Wedi i'r gynnulleidfa fod yn addoli yma am rai blynyddau, ac wedi i rai o'r aelodau gael eu claddu yn y fynwent, aeth etifeddiaeth Sir Edward Williams i ddwylaw bargyfreithiwr Gwyddelig, o'r enw MacHamara, yr hwn oedd wedi ei gwystlo (*mortgaged*) ryw amser cyn i Sir Edward roddi y lês i Mr. Bowen. Gan nad oedd y lês yn gadarn heb fod y tirwystlydd (*mortgagee*) wedi ei harwyddo, yn gystal a'r perchenog, cymerodd Mac Hamara, pan ddaeth yr etifeddiaeth i'w law, feddiant o'r capel a'r fynwent, a throdd y gynnulleidfa allan, gan droi y capel yn ddau anedd-dy, a'r fynwent yn erddi. Erbyn hyn yr oedd Mr. Bowen wedi symud i Gastellnedd, a Mr. David Jones wedi ei ddilyn fel gweinidog yn Maesyronen. Aeth Mr. Jones a'r bobl i edrych allan am dir i adeiladu capel arall. Cawsant dir cyfleus gan William Parry, Ysw., Llyswen, tad-yn-nghyfraith David Thomas, Ysw., Llanymddyfri. Heblaw rhoddi y tir rhoddodd Mr. Parry ugain punt at draul yr adeiladaeth. Adeiladwyd y capel yn 1803. Aeth Mr. Jones, y gweinidog, oddiamgylch yr ardal i gasglu at y capel newydd, ac aeth hefyd at ei berthynasau a'i gydnabod yn sir Benfro, ac yn fuan casglodd ddigon i dalu yr holl draul. Dywedir i MacHamara fyned i deimlo yn annedwydd iawn wedi iddo gymeryd meddiant o'r capel, ac er tawelu ei gydwybod, a distewi y melldithion a bentyrid ar ei ben gan yr holl gymydogaeth, rhoddodd ugain punt at draul adeiladaeth y capel newydd. Rhyw greadur hynod oedd y MacHamara hwn. Yr oedd ganddo geffyl a chi yr ydoedd yn hoff iawn o honynt, a phan y buont feirw gwnaeth feddrod (*vault*) costus iawn iddynt yn y parc, o fewn ychydig i'r

palasdy, ac ar ei wely angau rhoddodd orchymyn caeth i'w gladdu yntau gyda'r ceffyl a'r ci, ac felly y gwnaed. O'r tri a orweddant yn y beddrod hwnw y dyn yw y lleiaf anrhydeddus.

Bu yr achos yn Mrechfa dan ofal Mr. Jones, Maesyronen, nes i lesgedd henaint ei analluogi i fyned yno. Yn 1834, pan ymsefydlodd Mr. William Williams, yn awr o Hirwaen, yn Nhredwstan, cymerodd ef ofal Brechfa mewn cysylltiad a Thredwstan, a than ei ofal ef y bu nes iddo symud i Hirwaen. Bu y lle hwn drachefn mewn cysylltiad gweinidogaethol a Thredwstan hyd farwolaeth Mr. Thomas Havard yn 1863. O'r pryd hwnw hyd yn bresenol Mr. D. M. Davies, Cerrigcadarn, yw y gweinidog yma. Nid yw yr eglwys yn lluosog, ond y mae yma achos bychan cysurus ei agwedd. Yn ddiweddar rhoddodd D. Thomas, Ysw., Llanymddyfri, perchenog y tir cyfagos, dir yn rhodd at helaethu y fynwent.

Cyfodwyd yma ddau i bregethu, sef

Robert Clayton, yr hwn a gladdwyd yn y fynwent a gymerodd Mac Hamara oddiar y gynnulleidfa, a

James Bufton, yr hwn fu am flynyddau lawer yn bregethwr cynorthwyol parchus. Bu farw ryw ddwy neu dair blynedd yn ol. Yn Nhrefecca yr oedd yn cyfaneddu flynyddau cyn ei farwolaeth.

Darfu i ni wneyd camgymeriad yn hanes Tredwstan wrth ddyweyd i Mr. Walter Lewis fod yn gofalu fel gweinidog am Brechfa. Mr. W. Williams oedd y cyntaf o weinidogion Tredwstan a fu yn gweinidogaethu yma.

## LLANFAIR-YN-MUALLT.

Nid oedd un achos gan yr Annibynwyr yn y lle hwn hyd ddechreuad y ganrif bresenol. Byddai rhai personau oddiyma yn cyrchu i Droedrhiwdalar er yn foreu iawn; ond ni wnaed cynyg ar sefydlu achos yma hyd ar ol sefydliad Mr. D. Williams yn Bailihalog. Trwy gysylltiad priodasol daeth ef i fyw i Lanfair yn 1807, a'r flwyddyn ganlynol adeiladwyd yma gapel, yr hwn a alwyd yn Horeb. Casglwyd yma yn fuan gynnulleidfa luosog fel cyn pen ugain mlynedd yr oedd y capel wedi myned yn rhy gyfyng, ac yn y flwyddyn 1829 ail adeiladwyd ef; ond Rhagfyr 7fed y flwyddyn hono, er galar mawr i'r holl eglwys, bu farw Mr. Williams, y gweinidog, yn 52 oed, wedi bod yn nychu am fwy na thair blynedd, Rhoddwyd galwad yn ddioed i Mr. Thomas Lewis, Pwllheli, a dechreuodd ei weinidogaeth yma yn 1830. Yr oedd amgylchiadau yr eglwys yn lled ddyrus, a llawer o'r aelodau yn teimlo yn ddigalon pan dderbyniodd Mr. Lewis eu galwad, trwy fod eu cynweinidog wedi ei gymeryd ymaith pan oeddynt ar ganol ail adeiladu eu capel, a baich y ddyled yn lled drwm; ond ymegniodd Mr. Lewis i symud ymaith y baich trwy gasglu yn ddyfal gartref ac oddicartref. Aeth yr achos yma rhagddo yn llwyddianus hyd farwolaeth annisgwyliadwy Mr. Lewis, yr hyn a gymerodd le Mai 11eg, 1837, yn 41 oed. Rhoddwyd galwad yn 1838 i Mr. Edward Williams, Llansantsior, a bu yma hyd 1848, pryd y symudodd i Cwmbran, sir Fynwy. Hyd derfyn gweinidogaeth Mr. Lewis yr oedd y gwasanaeth yma yn cael ei ddwyn yn mlaen yn gwbl yn Gymraeg, ond trwy fod y Saesneg yn ennill tir bu raid cael Saesneg bob Sabboth; ac erbyn hyn y mae y Saesneg wedi ymlid y Gymraeg ymaith agos yn llwyr. Wedi ymadawiad Mr. Williams rhoddwyd galwad i Mr. David P. Davies, myfyr-

iwr o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Hydref 9fed, 1849. Mae Mr. Davies yn parhau i lafurio yma, a'r achos dan ei ofal mewn gwedd lewyrchus.

Cyfwng pwysig oedd hwn ar yr eglwys, oblegid ei bod mewn sefyllfa o drawsnewidiad o'r Gymraeg i'r Saesneg; ond gwnaed ef yn hollol esmwyth gan fod yr hen bobl yn rhoddi ffordd er mantais yr ieuengctyd. Yn 1869 adeiladwyd y capel presenol trwy draul o 1700p., ac y mae yn un o'r capelau harddaf a mwyaf cyfleus yn y sir, gydag ysgoldy a festri yn perthyn iddo, ac y mae y ddyled erbyn hyn wedi ei thynu i lawr i 250p. Mae yr achos wedi myned rhagddo yn llwyddianus yn ystod y pum-mlynedd-ar-hugain y mae Mr. Davies wedi bod yn llafurio yma, a chanoedd o bryd i bryd wedi eu hychwanegu at yr eglwys.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

David Williams. Ganwyd ef Hydref 8fed, 1779, mewn lle a elwir Closuchaf, yn mhlwyf Llanddarog, sir Gaerfyrddin. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig, a dechreuodd bregethu pan yn 18 oed. Wedi bod am dymor yn derbyn addysg dan ofal Mr. John Abel, Cydweli, derbyniodd alwad o Bailihalog a Cherrigcadarn, sir Frycheiniog, ac urddwyd ef yno yn 1804. Llafuriodd yno yn ddiwyd, a thrwy ei lafur ef ail adeiladwyd capel Cerrigcadarn. Yn mhen tair blynedd wedi ei urddiad priododd a Miss Sarah Meredith, o Landdulais, a daethant i fyw i Lanfair, ac ymroddodd yn ddioed i gychwyn achos Annibynol yno, yr hyn oedd yn hir wedi ei esgeuluso. Ymroddodd yn ddyfal i godi yr achos yn Llanfair, a chasglodd yno gynnulleidfa luosog. Adeiladodd hefyd gapel bychan a elwir Salem, fel cangen o Lanfair. O herwydd gwaeledd ei iechyd rhoddodd i fyny yr eglwysi yn Bailihalog a Cherrigcadarn tua thair blynedd cyn ei farwolaeth, gan gyfyngu ei lafur i Lanfair a'r amgylchoedd. Yr oedd Mr. Williams o ran ei ymddangosiad yn un o'r dynion harddaf, o faintioli canolig, ac yn hoyw a gwisgi yn ei holl symudiadau. Pregethai yn felus a hyawdl, ac yr oedd o ran ei syniadau yn hollol efengylaidd. Safai yn uchel yn marn yr eglwysi a'i frodyr yn y weinidogaeth, ac yr oedd iddo barch dwfn, a chymeriad uchel yn mysg pob dosbarth fel cymydog a gwladwr. Yr oedd ef a'r hybarch D. Williams, Llanwrtyd, agos yn gyfoed, ac yn gyfeillion mynwesol, a theithiasant lawer yn nghyd i wahanol gyfarfodydd. Bu Mr. Williams yn nychu yn raddol am y tair blynedd olaf o'i oes; ond mwynhai ei enaid yn helaeth o dangnefedd yr efengyl. Bu farw Rhagfyr 7fed, 1829, yn 50 oed, a chladdwyd ef yn ymyl yr addoldy a godwyd trwy ei lafur. Pregethwyd ar yr achlysur yn ol ei ddymuniad gan ei hen gyfaill Mr. Williams, Llanwrtyd.

Thomas Lewis. Ganwyd ef mewn lle a elwir Nantgwynfynydd, heb fod yn mhell o'r Neuaddlwyd, rywbryd yn y flwyddyn 1797. Yr oedd ei rieni yn lled gysurus arnynt yn eu hamgylchiadau, a rhoddwyd yntau pan yn ieuangc dan addysg Dr. Phillips, a chyn hir ymunodd a'r eglwys dan ei ofal; ac yn fuan anogwyd ef i ddechreu pregethu, ac yr oedd gan ei weinidog olwg fawr arno. Wedi bod am rai blynyddoedd dan addysg yn y Neuaddlwyd, aeth ar anogaeth Dr. Phillips i Bwllheli, i gynorthwyo Mr. Benjamin Jones, yr hwn erbyn hyn oedd yn dechreu heneiddio. Wedi aros yno dros rai misoedd urddwyd ef yn Hydref, 1819, i gydweini-

dogaethu a Mr. B. Jones, a dechreuodd ar ei waith yn ddioed. Yr oedd capel Pwllheli wedi ei adeiladu ychydig cyn hyny, a baich o ddyled yn aros arno; ac aeth Mr. Lewis oddicartref i Loegr ac i'r Iwerddon i gasglu er talu y ddyled. Dyoddefodd lawer o galedi yn y teithiau hyny, a throai i orphwys dros nos i ysguboriau a mwdwlau gwair rhag gwario yr arian a gasglai. Yr oedd o ysbryd cyhoeddus ac yn dra awyddus i helaethu yr achos, a bu o gynorthwy mawr gyda chodi capelau yn Nefin, Ceidio, Tydweiliog, ac Abererch, ac yr oedd y lle olaf yn gwbl dan ei ofal gyda Phwllheli a'r Capel Newydd. Cyfarfu a llawer o drallodion yn Mhwllheli oddiwrth ddynion uchelfrydig ac awyddus am eu ffordd, ac yr oedd yntau ei hun o ysbryd pur ddidroi yn ol. Barnodd yn ddoethach i ymadael o Bwllheli, ar ol llafurio yno yn ddiwyd a ffyddlon am un-mlynedd-ar-ddeg. Llettyai yr holl amser y bu yn Mhwllheli yn Rhydhir gyda John Francis, ac wedi hyny gyda William Francis, teulu y mae eu coffadwriaeth yn berarogl yn y wlad hyd heddyw. Ymadawodd a Phwllheli yn Ebrill, 1830. Bu yn petruso pa un ai i Grugybar ai i Lanfairmuallt yr âi, oblegid yr oedd y ddwy eglwys wedi anfon gwahoddiad taer iddo; ac yr oedd y rhesymau cryfaf, fel y gallesid tybio, dros iddo fyned i Grugybar, ond o herwydd rhyw resymau hysbys iddo ei hun dewisodd yn hytrach gydsynio a galwad yr eglwys yn Llanfairmuallt. Yr oedd y cyfeillion yno etto newydd adeiladu capel newydd, a hwnw dan faich o ddyled, fel mai un o'r pethau cyntaf a fu raid i Mr. Lewis wneyd oedd troi allan i gasglu. Yn Ionawr, 1834, priododd a Mrs. Williams, gweddw ei ragflaenydd yn y weinidogaeth yn Llanfair, ac er na pharhaodd yr undeb ond dros ychydig bu hi yn ymgeledd gymhwys iddo. Bu farw yn ddisymwth Mai 11eg, 1837. Dywedir ei fod yn addfedu yn fawr yn ei brofiad yn wythnosau diweddaf ei fywyd, ac y mae yr hyn a ganlyn yn dra hynod. Y nos Fawrth cyn ei farwolaeth pregethodd yn Nghefnybedd, yn fwy bywiog a chyffrous nac arferol, oddiwrth Josuah i. 11, "*Parotowch i chwi luniaeth, canys o fewn tridiau y byddwch chwi yn myned dros yr Iorddonen hon, i ddyfod i feddianu y wlad y mae yr Arglwydd eich Duw yn ei rhoddi i chwi i'w meddianu.*" Nos Fercher yr oedd yn y gyfeillach yn y dref, yn felus a nefolaidd ei brofiad; ac ar y diwedd dywedai, "Dywedwch wrth y rhai nad oeddynt yma heno mai da oedd i ni fod yma;" a'r diwrnod canlynol bu farw. Claddwyd ef yn mynwent y capel, a phregethwyd i dorf luosog gan Mr. Williams, Llanwrtyd, a gweinyddwyd wrth y bedd gan Mr. E. Jones, Crugybar.

Ysgrifenwyd Cofiant iddo gan Mr. C. Jones, Dolgellau, yr hwn a gyhoeddwyd yn y *Dysgedydd* am Gorphenaf, 1839, a chymerwn a ganlyn allan o hono ar ei fywyd a'i gymeriad:—

"Yr oedd Mr. Lewis yn meddu ar gymwysderau gweinidogaethol yn mhell uwchlaw y canolrwydd (*mediocrity*), ac yn wir nis gwyddom am un lle yr oeddynt wedi cydgwrdd yn fwy cyflawn nag ynddo ef. Fel dyn, yr oedd yn bwyllog a sefydlog, yr oedd yn mhell o fod yn fyrbwyll neu yn wamal, yr hyn sydd wedi bod yn warth i gymeriad, ac wedi dinystrio defnyddioldeb llawer gydag achos Duw. Mae y weinidogaeth yn galw am i'r rhai fyddo yn ymaflyd ynddi fod yn ddynion, ac nid yn geiliogog y gwynt; ond yr oedd ein cyfaill ymadawedig yn engraifft teilwng o efelychiad yn hyn. Glynai yn wastadol wrth egwyddorion; ac felly nid oedd na gweniaith ar un llaw, nac ofn gwg ar y llaw arall, a'i troai oddiar yr hyn a ymddangosai iddo yn llwybr dyledswydd. Ni

trin pethau mawrion, etto gwnai hwynt yn bethau goleu. Ni fyddai un amser yn arfer geiriau segur a difyr er gyru ei wrandawyr i chwerthin; canys Crist, ac nid ei hunan, a fyddai efe bob amser yn ymdrechu ddangos iddynt Appeliai at gydwybodau ei wrandawyr, a diau fod argraff ei bregethau grymus a melus yn aros ar feddyliau miloedd trwy Ogledd a Deau hyd heddyw. Pregethodd hefyd a'i draed yn gystal ag a'i dafod: yr oedd ei fywyd yn canmol yr athrawiaeth a gyhoeddodd i'r byd. Cadwodd ei ddillad heb eu halogi. Yr oedd yn ei holl ymarweddiad yn siampl i'r praidd. Mewn gair, yr oedd Mr. Lewis yn hollol gyflwynedig i wasanaeth ei Arglwydd. Ni chafodd negesau y bywyd hwn, nac un alwedigaeth fydol, rwystro ei ddefnyddioldeb gyda'r achos goreu; ïe, nid oedd dim yn gydbwys yn ei olwg a chyflawni y weinidogaeth a dderbyniodd gan yr Arglwydd Iesu, a diau i'r Penbugail ddyweyd wrtho pan yn esgyn pyrth gogoniant, 'Da, was da a ffyddlon: buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer: dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd.'

"Yr oedd Mr. Lewis yn meddu mwy na'r cyffredin o ysbryd cyhoeddus. Yr oedd ei amser, ei dalentau, a'i feddianau, yn barod bob amser at wasanaeth pob achos da, heblaw llesâd pobl ei ofal, yr hwn oedd yn agos iawn at ei galon yn wastadol. Yr oedd yn teimlo hefyd fwy na nemawr dros yr achos goreu o fewn y cyfundeb y perthynai iddo, a thrwy y byd; a diau fod ein brodyr yn Mrycheiniog yn ystyried, pan fu efe farw, fod un o'r cedyrn mwyaf defnyddiol yn eu mysg wedi syrthio. Nid oedd neb a ddygai fwy o ofal dros yr achos Cenhadol a'r achos Biblaidd, nag efe. Yr oedd, fel Paul, yn ystyried ei hun yn ddyledwr i'r byd. Cafodd yr Undeb Cyffredinol ei ymdrechiadau mwyaf egniol ef o'i blaid. Teithiodd lawer o Loegr er casglu ato. Nid oedd na thywydd garw, na thraul, a rwystrai iddo deithio broydd a bryniau De a Gogledd Cymru a Lloegr er gwasanaethu achos Mab Duw. Gwneyd daioni oedd ei brif amcan yn mhob ardal yr elai, ac yn mhob teulu y llettyai. Yr oedd yn mhell o fod dan egwyddorion cybyddlyd. Os gwelai frawd mewn cyfyngder, byddai yn wrthrych o'i haelioni ef yn ddioed. Ond er mor ffyddlon, defnyddiol, a haelfrydig ydoedd, gwelodd ei Arglwydd yn dda ei gymeryd ato ei hun yn haner ei ddyddiau, ac o ganol ei ddefnyddioldeb."

## SALEM.

Mae y lle hwn o fewn ychydig gyda dwy filldir o Lanfair, ar derfynau Epynt. Codwyd y capel trwy lafur Mr. D. Williams yn 1825, ac eleni (1874) y mae wedi ei ail adeiladu trwy draul o 200p., ac y mae yr holl ddyled wedi ei thalu. Bu y lle yn hir yn gangen o Lanfair, ond er's blynyddau bellach y mae yma eglwys annibynol wedi ei ffurfio, ond y mae yn parhau o dan yr un weinidogaeth a Llanfair. Llenwir y capel o wrandawyr astud, ac y mae yma eglwys fechan weithgar a heddychol. Dygir y gwasanaeth yma yn mlaen yn Gymraeg.

## CEFNYBEDD.

Gelwir ef Capel Llywelyn, am mae yn y llecyn hwn y syrthiodd y Tywysog Llywelyn yn 1282. Codwyd y capel yma yn y flwyddyn 1835,

yn benaf trwy lafur Mr. T. Lewis, Llanfair; a bu Mr. a Mrs. Jones, Cefnybedd, o help mawr hefyd i'r achos bychan yma. Yn 1861 ail adeiladwyd y capel trwy draul o 120p., yr hyn a dalwyd yn fuan. Ni fwriedid ef ar y cyntaf ond fel lle i bregethu a chynal ysgol Sabbothol, ond yn ddiweddar corpholwyd yr aelodau yn yr ardal yn eglwys, ac y mae yma achos bychan siriol iawn; ac y mae Llanfair, Salem, a Chefnybedd o dan yr un weinidogaeth. Yn y capel hwn fel y crybwyllasom yn hanes ei fywyd y pregethodd Mr. Thomas Lewis ei bregeth olaf; a bydd gan y lle yma ddyddordeb ychwanegol i lawer am mai yma ar nos Sabboth Awst 9fed, 1874, y traddododd yr hybarch Mr. Williams, Troedrhiwdalar, ei bregeth ddiweddaf.

## TAF-FECHAN.

Mae y cwm prydferth hwn tua thair milldir i'r gogledd o dref Merthyr Tydfil, ac yn ymestyn i fyny rhwng y mynyddau am chwech neu saith milldir. Ychydig flynyddau yn ol gwnaed yma lyn mawr o ba un y mae trigolion Merthyr a Dowlais yn cael eu dwfr, ac y mae y ffordd haiarn o Ferthyr i Aberhonddu yn rhedeg am rai milldiroedd ar hyd llechwedd dwyreiniol y cwm. Cyn y cyfnewidiadau hyn nid oedd yma ddim yn tori ar ddistawrydd y fro ond peroriaeth yr adar, cyfarthiadau y cwn defaid, a brefiadau y gwartheg a'r defaid. Yr oedd niferi bychain o aelodau perthynol i'r Aber ac eglwysi Annibynol Merthyr yn cyfaneddu yn y cwm hwn flynyddau cyn dechreu achos yma, a byddai gweinidogion yr eglwysi y perthynent iddynt yn dyfod i roddi pregeth yn achlysurol yn eu tai. Tua y flwyddyn 1826 darfu i Mr. T. B. Evans, Ynysgau, ffurfio rhyw nifer fechan yn eglwys Annibynol mewn anedd-dy yn Mhontsticyll, yn agos i filldir yn nes i odreu y cwm na'r man yr adeiladwyd y capel. Yn fuan wedi hyny edrychwyd allan am dir i adeiladu capel arno. Cafwyd darn o dir prydferth at gapel a mynwent mewn man canolog iawn yn y cwm. Wedi cael y capel yn barod, agorwyd ef Chwefror 4ydd a'r 5ed, 1829, ac ar yr un pryd urddwyd Mr. William Daniel, pregethwr cynorthwyol yn yr Ynysgau, yn weinidog yma. Y gweinidogion a weinyddent ar yr achlysur oeddent W. Lewis, Tredwstan; H. Jones, Tredegar; J. Davies, Rhymni; D. Lewis, Aber; T. B. Evans, Ynysgau; S. Evans, Zoar, a D. Roberts, Dowlais wedi hyny. Yr oedd yma olwg obeithiol iawn ar bethau y pryd hwnw. Er nad oedd yr aelodau ond ychydig o nif yr oedd yr achos yn cael ffafr yn ngolwg yr ardalwyr fel y casglwyd yn eu plith agos digon i dalu am y capel erbyn dydd ei agoriad. Ni bu William Daniel yma yn weinidog dros o ddwy i dair blynedd, ac nid ymddengys i ddim llwydd fod ar ei lafur. Wedi rhoddi y weinidogaeth i fyny yma nid ydym yn deall fod dim mwyach a wnelsai a phregethu. Y mae wedi marw er's llawer o flynyddau. Tachwedd 14eg a'r 15fed, 1832, cynaliwyd yma gyfarfodydd i urddo Mr. Daniel Davies o athrofa y Neuaddlwyd, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri R. Powell, Cross Inn; T. James, Abergorlech; M. Jones, Bethesda; H. Jones, Tredegar; J. Davies, Llantrisant, ac eraill. Bu Mr. Davies yma am o wyth i ddeng mlynedd. Nid oes un cysylltiad rhyngddo a'r weinidogaeth er's mwy na deng-mlynedd-ar-hugain bellach, ond y mae yn parhau yn ei ymlyniad wrth grefydd. Yn y flwyddyn 1843 urddwyd Mr. John Thomas o athrofa Caerfyrddin

yma, ac y mae efe yn parhau yn ei gysylltiad gweinidogaethol a'r lle hyd yn bresenol.

Mae yr achos bychan hwn wedi bod mewn bodolaeth bellach am wyth-mlynedd-a-deugain, ac y mae yma ychydig ffyddloniaid wedi bod yn glynu wrtho o flwyddyn i flwyddyn, ond gwan a dilewyrch y mae wedi bod trwy holl dymor ei hanes. Nid ydym yn deall i'r aelodau ar unrhyw gyfnod o'i hanes fod dros ugain o rif, ac y maent ar lawer adeg wedi bod mor isel a haner hyny. Yr ydym yn hyderu fod amser gwell o'i flaen. Gan nad yw y boblogaeth ond teneu a gwasgaredig iawn nis gellir disgwyl byth gael cynnulleidfa fawr iawn yma, ond byddai yn bosibl iddi fod yn bedwar cymaint ag ydyw.

## HERMON, YSTRADFELLTE.

Y mae yr ardal hon yn hen gartrefle Ymneillduaeth. Mae yn sicr na fu un adeg er amser y werin-lywodraeth hyd yn awr pryd nad oedd un Annibynwr proffesedig yn cyfaneddu yn y plwyf hwn. Mae genym enwau rhai o aelodau Blaengwrach a breswylient yma yn y flwyddyn 1734, pan yr oedd y seraphaidd Henry Davies yn weinidog yno. Wedi i udgorn y weinidogaeth fyned i roddi sain anhynod yn Mlaengwrach elai yr aelodau o syniadau efengylaidd a breswylient yn Ystradfellte i addoli i Dy'nycoed, Glyntawy, ac yno y buont yn aelodau hyd nes yr adeiladwyd Hermon, ac y ffurfiwyd yno eglwys, ond trwy y blynyddau cyn hyny byddai gweinidogion enwocaf yr Annibynwyr yn Neheubarth Cymru yn dyfod yn achlysurol i bregethu mewn gwahanol anedd-dai yn y plwyf hwn. Yr oedd rhai o'r hen aelodau yn fyw ychydig flynyddau yn ol a gofient yn dda fod Mr. Hughes, Groeswen; Mr. Davies, Sardis, ac eraill yn pregethu yma cyn adeiladu Hermon. Y personau fuont a'r llaw flaenaf yn nechreuad yr achos yma oeddynt John Williams, Penllwyneinon; William Williams, Penfathorisaf; Jenkin Williams, Hepste, a Richard Evans, Bryneul. Cawsant les am 999 o flynyddau ar ddarn o dir at gapel a mynwent gan Mr. Thomas Williams, Brynbwch, ac er's amser bellach mae y tir wedi ei brynu i fod yn feddiant hollol i'r gynnulleidfa. Adeiladwyd y capel y waith gyntaf yn 1798. Mr. Morgan Lewis, yr hwn a urddwyd yn Ngodrerhos yn 1801, fu y gweinidog sefydlog cyntaf yma, a pharhaodd ei gysylltiad gweinidogaethol ef a'r lle hwn hyd nes i lesgedd henaint ei analluogi i ddyfod yma, tua y flwyddyn 1840. Yr oedd pobl Hermon a Morgan Lewis mor hoff o'u gilydd ag y bu gweinidog ag eglwys erioed. Gadawodd ef argraff ei ysbryd gwresog yn ddwfn arnynt hwy i'r fath raddau fel nad oedd gwresocach a siriolach cynnulleidfa na hon yn Nghymru. Bu Mr. Powell, Caerdydd, yn fuan wedi iddo ddechreu pregethu yn y Brychgoed tua 1807, yn dyfod yma yn fisol am flwyddyn neu ddwy, ac y mae ei ddarluniad ef o bobl Hermon ac o'r ardal yn werth ei gofnodi. "Mi fu'm ambell nos Sadwrn yn myned i Ddyffrynnedd, ac yr oedd Mr. a Mrs. Jones, a'r plant yn hawddgar iawn; bu'm yn myned weithiau trwy Gwmlliau, dros Gefnperfedd, a thrwy Flaenewmnedd i Benyfathorisaf, nos Sadyrnau; ac yr oedd William Williams, y wraig, a'r plant yn hawddgar iawn. Bu'm yn myned i Gefnucheldre; ac yr oedd Mrs. Powell a'r plant yn hawddgar iawn. Bu'm yn myned i'r Porth; ac yr oedd Mr. a Mrs. Morgans, a'r plant yn hawddgar iawn. Bu'm yn

myned i Benllwyneinon; ac yr oedd John Williams, yr hwn a ennillwyd at yr Arglwydd dan bregeth Mr. Hughes, Groeswen, yn nghyd a'i wraig a'i blant yn hawddgar iawn. Yr oedd odfaon yn aml yn Mhenllwyneinon. Bu'm yn myned i Gefntrosgoed; yr oedd John Price a'i wraig a'i blant yn hawddgar iawn. Byddai cynnulleidfaoedd Hermon yn lluosog, y gwrandawyr yn fywiog, ac arwyddion fod yno gariad at y gwirionedd. Yr oedd yr olwg ar y gynnulleidfa yn gwrandaw yn gynorthwyol iawn i lefaru, yn hytrach nag i dewi. Yr oedd y canu yn [illegible] ac yn dyner iawn; a phan y byddid yn ymadael o'r odfaon yr oedd heol Gwaun Brynbwch yn llawn o bobl, a heol y Rhos yr un fath. Yr oedd serch a hawddgarwch mawr yn ymddangos yn y bobl at yr achos ac at eu gilydd. Yr oedd cylch y weinidogaeth yn helaeth iawn. Yr oeddwn yn myned dros y Rhos, a thrwy Bontnedd Fechan, ar y Sabbothau, i giniaw i Ynysonws, ger Pontwhalby. Yr oedd Howell, a Mary ei wraig yn garedig iawn. Yna yn myned i bregethu am dri o'r gloch i Benstair, Glynneath, neu i Benrhiw, ac yn myned oddiyno i fyny i Riw y Ddinas, a thros Foel Pendewin, tua'r Bryncul, erbyn chwech o'r gloch. Yno yr oedd Richard, a'r wraig, a'r plant yn hawddgar iawn. Bu'm yn Pantycynfarth, yn Cae Howell, ac yn Hepste. Bu'm yn y Creigiau, ty Thomas Bowen; yr oedd ef yn aelod gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, a Rachel ei wraig yn aelod gyda'r Independiaid. Yr oeddynt ill dau am yr hawddgaraf. Bu'm yn myned i'r Ddysgwylfa, a byddai amryw o bobl Hermon yn dyfod gyda mi i bob un o'r manau, yn dra llawen a than siarad am y wlad well. O, yr ymdrechu a'r trafaelu wnaeth pobl Hermon ar y maes eang, i fyned i'r odfaon! O, rhyfedd y gerddasant, y weddiasant, y wrandawsant, y ganasant, ie, ac a ddywedasant o amenau yn fy nglyw i! Ac O, mor garedig oeddynt i mi bob amser." Yn fuan wedi i Mr. M. Lewis fethu dyfod yma rhoddodd yr eglwys ei hun dan ofal Mr. Stephens, Brychgoed, a than ei ofal ef y bu hyd 1847, pryd y cymerwyd ei gofal gan Mr. David Williams, gynt o Dredwstan, yr hwn oedd yn awr yn cadw ysgol yn Nglynnedd. Bu y lle dan ofal Mr. Williams am ddwy neu dair blynedd, ac yna am ychydig amser dan ofal Mr. Williams, Hirwaen. Bu Mr. Thomas, yn awr o Liverpool, hefyd yn gweinidogaethu yma am agos yr holl amser y bu yn weinidog yn Nglynnedd. Wedi symudiad Mr. Thomas i Liverpool, bu Hermon drachefn dan ofal Mr. Stephens, Brychgoed, am o ddwy i dair blynedd. Yn yr amser hwnw, sef yn 1854, ail adeiladwyd y capel. Y mae yn awr yn adeilad cadarn a hardd, a digon mawr i gyfateb i'r boblogaeth. Talwyd am dano yn mhen ychydig amser ar ol ei adeiladu. Yn 1856 rhoddwyd galwad i Mr. John Edwards, yr hwn a fuasai am ychydig amser yn fyfyriwr yn Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Tachwedd 12fed y flwyddyn hono. Gan nad oedd Mr. Edwards a'r bobl yn ateb eu gilydd ymadawsant yn heddychol yn mhen tua blwyddyn ar ol ei urddiad. Wedi hyn bu yr eglwys am tua dwy flynedd yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol. Awst 12fed, 1859, urddwyd Mr. David Thomas o athrofa y Bala yma. Yn uniongyrchol ar ol yr urddiad cafodd Mr. Thomas a'r eglwys eu bendithio a diwygiad grymus iawn. Ychwanegwyd llawer at yr achos, a daeth pethau i agwedd hyfryd iawn yma. Bu Mr. Thomas yn llafurio yma gyda llwyddiant a chymeradwyaeth mawr hyd Mai, 1863, pryd, er galar i'r eglwys a'r gymydogaeth, y symudodd i Abercanaid, Merthyr Tydfil. Buwyd drachefn heb weinidog sefydlog hyd 1866. Ebrill 8fed yn y flwyddyn hono, rhoddwyd galwad i Mr. David Thomas o athrofa Aber-

honddu, ac urddwyd ef yma Mehefin 27ain. Bu Mr. Thomas yma mewn parch mawr hyd Tachwedd, 1869, pryd y darfu iddo yntau, fel ei ragflaenydd, er gofid mawr i'r eglwys, symud i Tonypandy, Ystrad Rhondda. Nid ydym yn ystyried fod yr eglwys na'r gweinidogion i'w beio am y symudiadau mynych hyn. Mae pobl Hermon, ar gyfrif eu serchogrwydd a'u gwres crefyddol, yn deilwng o'r weinidogaeth oreu yn Nghymru, ond gan nad oes yma ddigon o boblogaeth i allu disgwyl y bydd yma byth eglwys luosog iawn, nis gellir disgwyl y bydd i un dyn ieuangc talentog gael ei adael yma yn hir gan eglwysi lluosocach mewn ardaloedd mwy poblog. Chwefror 22ain, 1872, urddwyd Mr. David Morgans, aelod o Gibeah, Brynaman, yn weinidog yma ac yn Onllwyn. Y mae Mr. Morgans yn parhau yma hyd yn bresenol, ac mewn parch mawr gan yr eglwys a'r ardal. Yr ydym yn hyderu fod blynyddau lawer o ddefnyddioldeb a chysur o'i flaen ef yma. Nid ydym yn deall fod un pregethwr wedi cael ei gyfodi yn yr eglwys hon. Cafodd yr eglwys golled fawr yn marwolaeth Mr. John Harries yn 1867. Yr oedd ef yn ddyn defnyddiol a rhagorol iawn.*

## Y GELLI.

Tref fechan, ar lan yr afon Wy, yw y Gelli, yn nghydiad sir Frycheiniog a sir Henffordd, ond y mae y dref oll yn sir Frycheiniog. Cafodd achos Ymneillduol ei gychwyn yma cyn diwedd y ganrif ddiweddaf trwy lafur y myfyrwyr yn athrofa Arglwyddes Huntingdon, pan yr oedd yr athrofa hono yn Nhrefecca. Wedi symudiad yr athrofa o Drefecca i Cheshunt daeth un David Davies, myfyriwr o athrofa Wrecsam, i fod yn weinidog i'r eglwys hon. Bu yma am tua deugain mlynedd, ond ni wnaeth nemawr o ddim daioni yma trwy yr holl amser. Yr oedd yma tuag un-ar-bymtheg o aelodau pan y bu efe farw, ond gan na ddaeth yma un canlyniedydd iddo cauwyd y capel bychan i fyny, yr hwn oedd mewn man anghyfleus y tu allan i'r dref, ac aeth yr ychydig aelodau ar wasgar at y gwahanol enwadau ereill. Yn 1842, yn mhen pedair neu bum' mlynedd wedi gwasgariad y gynnulleidfa, galwyd sylw Mr. David Griffiths, yr hwn oedd newydd ddychwelyd o Madagascar, at y Gelli, fel lle priodol iawn iddo fod o wasanaeth fel cenhadwr cartrefol pryd na oddefai amgylchiadau yr ynys iddo ddychwelyd i Madagascar. Daeth yma a dechreuodd bregethu yn Neuadd y dref. Yn fuan ymgasglodd yr ychydig Annibynwyr a wasgaresid flynyddau cyn hyny oddiamgylch iddo, a chawsant hwy, yn nghyd a rhai na fuasent yn proffesu o'r blaen, eu ffurfio yn eglwys. Wrth weled ei lafur yn llwyddo, edrychodd Mr. Griffiths allan am dir i adeiladu capel. Cafodd ddarn cyfleus o dir yn y dref a sicrhaodd ef trwy bryniad. Adeiladodd gapel cyfleus, yr hwn a agorwyd Tachwedd 19eg, 1846, a thy i'r gweinidog. Costiodd y cwbl tua mil o bunau. Casglodd Mr. Griffiths yr holl swm mewn ychydig amser mewn gwahanol ranau o Loegr a Chymru. Parhaodd ef i lafurio yma hyd ddiwedd y flwyddyn 1852, pryd y galwyd am ei wasanaeth i adolygu y cyfieithiad o'r Bibl i iaith Madagascar. Bu raid iddo symud i Lundain ac oddiyno i Woodbridge er mwyn cyfleusdra i fyned a'r gwaith rhagddo. Torodd hyn i fyny ei gysylltiad a'r achos yn y Gelli. Yn fuan ar ol yma-

* Llythyrau Mr. Williams, Hirwaen, a Mr. Thomas, Tonypandy.

dawiad Mr. Griffiths rhoddwyd galwad i Mr. David Milton Davies o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Hydref 12fed, 1853. Pregethodd Mr. D. Griffiths, y cynweinidog, ar ddyledswydd yr eglwys, yn nghyfarfod yr urddiad, ac ar ddiwedd y gwasanaeth anrhegodd un o'r cyfeillion ef a chwpan arian fel amlygiad o anwyldeb yr eglwys a'u parch diffuant iddo. Ni bu arosiad Mr. Davies yma dros naw mis. Symudodd i'r Wern a Phanycae, sir Aberteifi. Hanes tra anhyfryd yw hanes yr achos hwn am flynyddau ar ol hyn. Dilynwyd Mr. Davies yma gan Mr. John Bleigh, Sais, yr hwn a fu yma am ddwy flynedd. Wedi hyny bu un W. Rowlands yma am tua blwyddyn; yna cafodd un B. P. Raynolds ei urddo yma. Sais o sir Benfro oedd ef. Ymddangosai pethau ar y cyntaf yn dra gobeithiol yma, ond cyn pen dwy flynedd aeth mor anghysurus fel yr ymadawodd y gweinidog ac aeth i America. Dyn hynod o amddifad o synwyr cyffredin, os nad amddifad o ras hefyd, ydoedd. Yn 1861 ymsefydlodd Mr. M. A. Harvey yma. Yr oedd ef wedi bod yn pregethu am flynyddoedd yn nghyfundeb y Trefnyddion Cyntefig. Yr oedd Maesyronen yn gystal a'r Gelli dan ei ofal ef. Bu ef yma hyd 1866, ond ni bu fawr o lwyddiant ar ei lafur. Ar ol ei ymadawiad ef bu y Meistri Morris a Roberts, athrawon yr athrofa yn Aberhonddu, yn gofalu am y lle am ychydig fisoedd. Cyn diwedd y flwyddyn 1867 rhoddwyd galwad i Mr. E. A. Phillips, B.A., ac urddwyd ef yma. Yr oedd Mr. Phillips yn ateb y lle i'r dim. Llanwodd y capel yn ddioed ac ychwanegwyd llawer at yr eglwys. Wyr i'r Arglwyddes Barham a nai fab chwaer i'r enwog Baptist Noel yw Mr. Phillips. Y mae yn ddyn ieuangc hynaws a boneddigaidd iawn, ac yn bregethwr efengylaidd a buddiol. Pe buasai yn aros yma y mae pob tebygolrwydd y buasai yn sefydlu achos cryf a hunangynaliol yma mewn ychydig flynyddau. Ond yn anffodus, syrthiodd Mr. Phillips, fel llawer o ddynion da eraill cryfach yn eu duwioldeb nag yn eu synwyr, i rwydau y *Plymouth Brethren*, ac yn eu plith hwy y mae etto. Ymadawodd o'r Gelli yn 1870, ac yn y flwyddyn 1871 daeth un Thomas Jowett yma. Yr oedd ef wedi bod yn y weinidogaeth dros ugain mlynedd cyn ymsefydlu yma. Wedi bod yma am ychydig gyda dwy flynedd aeth yn anghysurus rhyngddo a'r bobl o herwydd eu bod yn ei gyfrif yn rhy wael o bregethwr i fod o un budd yma. Ymadawodd gan hyny yn Medi 1874. Mae y lle yn awr heb weinidog, a'r achos mewn agwedd dra gwywedig. Mae y Gymdeithas at Gynorthwyo achosion Saesonig yn Nghymru yn cynorthwyo y lle hwn er's blynyddau, ond, oddieithr yn nhymor byr Mr. Phillips, arian wedi eu talu yn ofer ydynt i bob ymddangosiad. Pe gellid cael gweinidog ymroddgar, siriol, efengylaidd, a llawn o synwyr cyffredin, pe na byddai yn ddyn nodedig am ei alluoedd, i ymsefydlu yma, gallai gyda bendith yr Arglwydd gyfodi yma achos cryf.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

David Griffiths. Ganwyd ef mewn amaethdy a elwir Glanmeilwch, yn Gwynfe, sir Gaerfyrddin, Rhagfyr 20fed, 1792. Efe oedd yr hynaf o deulu lluosog o blant. Yr oedd er yn blentyn yn gryf ac iachus o gorph, ac o feddwl gwrol ac anturiaethus. Er fod ei rieni yn bobl grefyddol bu ef yn wyllt a thra anystyriol hyd nes yr oedd yn ddeunaw mlwydd oed. Derbyniwyd ef yn aelod yn Ngwynfe, gan Mr. Peter Jenkins, yn 1810,

Yn 1852 barnwyd fod gobaith am i ddrws gael ei agoryd drachefn i'r efengyl yn Madagascar, felly gosododd y Gymdeithas Mr. Griffiths a Mr. Freeman, yr unig ddau o genhadau Madagascar oedd yn awr yn fyw, ar waith i adolygu a diwygio y cyfieithiad o'r Ysgrythyrau i iaith Madagascar. Bu raid i Mr. Griffiths symud i Woodbridge yn Suffolk, lle yr oedd Mr. Meller, prif arolygydd y cyfieithiadau o'r Bibl dan y Gymdeithas Fiblaidd, yn cyfaneddu. Gyda ei fod yno disgynodd yr holl waith arno ef ei hun gan fod Mr. Freeman erbyn hyn wedi marw. Bu Mr. Griffiths yn y lle hwn am bum' mlynedd yn gweithio yn ddiwyd er perffeithio y cyfieithiad o'r Ysgrythyrau yn iaith y wlad y cafodd ef y fraint o fod yn un o blanwyr Cristionogaeth ynddi. Yn 1858 symudodd o Woodbridge i Machynlleth. Wedi myned yno drachefn bu yn gweithio yn ddiatal hyd o fewn tri mis i'w farwolaeth, yn parotoi i'r wasg Ramadeg ac amryw lyfrau eraill yn iaith Madagascar. Wedi bywyd o lafur caled a chyson gorphenodd y gwas ffyddlon hwn i Grist ei yrfa Mawrth 21ain, 1863, a chladdwyd ei gorph wrth gapel y Graig, Machynlleth.

Er ei holl deithiau a'i lafur yn Madagascar a'r wlad hon gwnaeth Mr. Griffiths fwy o waith fel ysgrifenydd i'r wasg na llawer deg o ddynion nad oedd ganddynt ddim arall i'w wneyd. Ysgrifenodd Hanes Madagascar, yn Gymraeg; Hanes Merthyron Madagascar, yn Saesonig; Gramadeg Malagasaidd, Catecismau, ac Emynlyfr yn yr iaith hono, yn nghyd a naw neu ddeg o draethodau gwreiddiol, heblaw cyfieithiadau o'r Ymofynydd Pryderus, ac amryw draethodau eraill. Darfu iddo hefyd, ar ol i'w gydlafurwyr oll farw, ddiwygio i'r wasg gyfieithiadau o Daith y Pererin, amryw draethodau, yn nghyd a'r holl Fibl. Mae y Geiriaduron Saesonig a Malagasaidd, a Malagasaidd a Saesonig, y rhai a ddygwyd trwy y wasg dan ei arolygiad yn dangos ol llafur dirfawr. Pan y bu farw yr oedd ganddo niferi o draethodau yn barod i'r wasg yn y Malagasaidd. Gweithiwr difefl ydoedd yn ngwasanaeth ei Arglwydd. Er fod Jones a Bevan yn Madagascar ychydig amser o'i flaen ef, efe gafodd yr anrhydedd o ffurfio yr eglwys Gristionogol gyntaf yno, a diau fod ei ysbryd dedwydd ef yn edrych i lawr o'r nef gyda gorfoledd mawr ar y cynhauaf toreithiol sydd yn awr yn cael ei fedi yn Madagascar oddiwrth yr had a hauodd ef a'i frodyr mewn cymaint o ddagrau, ie, yr had a wlychwyd gan waed cynifer o ferthyron.

Er nad oedd Mr. Grffiiths yn bregethwr doniol, etto yr oedd ei dduwioldeb, ei weithgarwch, a phwysigrwydd ei gymeriad yn ei wneyd yn ddyn o nod ac yn ddefnyddiol pa le bynag yr elai. Yr oedd ei fab Ebenezer yn wr ieuangc rhagorol iawn ac yn weinidog tra gobeithiol, ond galwodd yr Arglwydd ef ato ei hun ar gychwyniad ei fywyd cyhoeddus. Bu farw yn nhy ei rieni yn y Gelli, Ebrill 21ain, 1852, yn 25 oed. Heblaw y mab gobeithiol hwn bu farw dwy ferch ieuaingc tuag ugain oed bob un o honynt, ac y mae y tair eraill, sef Mrs. Lewis, Treffynon; Mrs. Jones, priod Mr. Jones, yn awr o Gastellnewydd Emlyn, a Mrs. John, China, oll wedi gorphwys oddiwrth eu llafur. Mae Mrs. Griffiths etto yn fyw, yn iach, ac yn dra bywiog, er ei bod yn bedwarugain oed, ac wedi myned trwy helbulon filoedd, a gweled claddu ei phriod a'i hwyth plentyn. Rhodded y Duw a wasanaethodd mor ffyddlon trwy ei hoes lawer o'i wenau iddi yn hwyr ei bywyd.

## LLANWRTYD.

Barna rhai mai ystyr yr enw yw Llan-wrth-y-rhyd, ac mai yn dra thebygol mai hyn yw ei ystyr. Nid oes angen rhoddi desgrifiad o Lanwrtyd i ddarllenwyr Cymreig gan fod y lle yn ddigon adnabyddus i lawer yn mhob ardal trwy Gymru. Mae y ffynonau rhinweddol sydd yma er's oesau bellach wedi gwneyd y lle mor adnabyddus ag unrhyw le yn y Dywysogaeth. Bernir ar seiliau cedyrn mai yn y Cefnbrith, yn mhlwyf Llangamarch, o fewn pedair milldir i Lanwrtyd y ganwyd ac y magwyd y merthyr enwog John Penry. Dywed ef ei hun wrthym, mai efe oedd y cyntaf oddiar y diwygiad oddiwrth Babyddiaeth a wnaeth ymdrech i hau hadau bendithiol efengyl Crist ar fynyddau llymion gwlad ei enedigaeth. Mae yn dra sicr iddo ef ar adegau ei ymweliadau a'i ardal enedigol, fod yn foddion i daflu rhyw fesur o'i ysbryd selog a phuritanaidd i feddyliau rhai o'i gydwladwyr, ac nid yw yn debygol i effaith ei addysgiadau ef lwyr ddarfod yn yr ardaloedd hyn hyd nes y cyfododd tô o ddiwygwyr eraill i gario yn mlaen y gwaith a ddechreuwyd ganddo ef. Yn amser y werinlywodraeth yr oedd pregethwyr teithiol yn ymweled a phob plwyf, ac yn eu mysg lawer o ddynion doniol a galluog iawn, ac y mae yn sicr i'r plwyf hwn a'r plwyfydd cymydogaethol gael cyfran o'r breintiau a fwynhâai y wlad y pryd hwnw. Dywed Mr. Henry Maurice mai trwy weinidogaeth Mr. Jenkin Jones, Llanddetty, yn y sir hon, y casglwyd eglwys Ymneillduol yn Llanfair-ar-y-bryn—plwyf sydd yn ffinio a Llanwrtyd, mae yn dra thebygol gan hyny fod cynnulleidfa Llanwrtyd hefyd yn rhan o ffrwyth ei lafur ef. Wedi adferu Siarl II. yn 1660, ac mewn gwirionedd hyd ffoedigaeth Iago II. yn 1687, ni chafodd yr Ymneillduwyr fawr o lonyddwch gan eu herlidwyr. Y mae traddodiad y byddai pobl grefyddol o Lanwrtyd, a'r cylchoedd, yn myned yn y nos i gydaddoli a phobl Llanfair-ar-y-bryn yn Nghastell Craigyrwyddon. Mr. Henry Maurice, Mr. Rees Prytherch, a'u cynorthwywyr, fu yn gweinidogaethu i'r bobl hyn trwy y rhan fwyaf o dymor yr erlidigaeth, ac hyd ddiwedd yr ail-ganrif-ar-bymtheg. Nid oes genym hanes pwy fu yn gweinidogaethu yma o amser marwolaeth Mr. Rees Prytherch yn 1698 hyd urddiad Mr. James Davies. Yr ydym yn barnu na urddwyd Mr. Davies yma cyn y flwyddyn 1712. Bu ef yn rhyfeddol o boblogaidd yma hyd ei symudiad i Gwmyglo, Merthyr Tydfil, tua y flwyddyn 1724. Yr oedd y cynnulleidfaoedd yn Llanwrtyd a Throedrhiwdalar yn 1715 yn wyth cant o rif, a deg-ar-hugain o honynt yn dirfeddianwyr. Mae y rhan fwyaf o foneddigion y parthau hyn yn hiliogaeth hen aelodau yr eglwysi yn Llanwrtyd a Throedrhiwdalar, ond eu bod wedi ymwrthod a'r egwyddorion y dyoddefodd eu tadau mor ffyddlon drostynt. Yr oedd John Jones, Cwmcamarch, yn bregethwr yn yr eglwys yn Llanwrtyd. Un o'i ddisgynyddion ef yw Mr. Lloyd o'r Dinas, gerllaw Aberhonddu. Yr oedd ei frawd David Jones o'r Cribart yn bregethwr yn Nhroedrhiwdalar, a disgynyddion oddiwrtho ef yw teulu y Wellfield, gerllaw Llanfairmuallt; ac y mae yn hysbys i lawer fod etifeddes bresenol Llwynmadog yn un o hiliogaeth Mr. Thomas Walters, gweinidog yr Annibynwyr yn Rhaiadrgwy. Mae yn fwy o anrhydedd i'r teuluoedd hyn eu bod wedi disgyn oddiwrth y fath ddynion da nag ydyw o anrhydedd i goffadwriaeth yr

henafiaid fod y fath hiliogaeth anffyddlon i'w hegwyddorion hwy yn awr yn eu cynrychioli ac yn meddianu eu heiddo.

Wedi symudiad Mr. James Davies i Ferthyr, urddwyd Mr. Thomas Morgan o athrofa Caerfyrddin yma yn mis Ebrill, 1725, yn ganlyniedydd iddo. Bu Mr. Morgan yma hyd ei farwolaeth yn Gorphenaf 1755. Yn fuan wedi ei farwolaeth ef, os nad cyn hyny, urddwyd Mr. Isaac Price, aelod o'r eglwys yn Llanwrtyd, yn gynnorthwywr neu ganlyniedydd iddo. Yr oedd Mr. Price yn ddyn ieuangc nodedig o ddoniol a bywiog ei ysbryd, ac adfywiodd yr achos yn fawr dan ei weinidogaeth seraphaidd ef, fel y daeth y ddwy eglwys—Llanwrtyd a Throedrhiwdalar—flynyddau lawer cyn terfyniad tymor ei weinidogaeth ef i fod yn nodedig am wres ac adfywiadau crefyddol. Er od Ymneillduaeth wedi cyfodi a byw yn yr ardal hon fwy na chan' mlynedd cyn dechreuad gweinidogaeth Mr. Price, etto nid ymddengys iddi gael y fath ddylanwad grymus ar foesau y boblogaeth ar un cyfnod o'i hanes ag a gafodd yn ei dymor ef. Ar adeg o adfywiad grymus yr oedd Mr. Price un diwrnod yn myned trwy bentref Llangamarch. Yr oedd yno hen *fiddler* o'r enw Thomas Prees. Pan welodd Mr. Price yn myned heibio gwaeddodd ar ei ol, "Isaac Price, deuwch yma." "I ba beth Thomas," ebe Mr. Price; "I chwi gael y *fiddle* genyf fi, oblegid yr ydych wedi myned a'r bobl oll yn barod," atebai Thomas. Yr oedd agos holl dymor gweinidogaeth Mr. Price yn dymor o adfywiad crefyddol, neu olyniad o adfywiadau grymus heb nemawr o adegau difywyd rhyngddynt. Pan oedd Mr. Price yn heneiddio, a chylch ei weinidogaeth mor eang fel yr oedd yn cyrhaedd o Droedrhiwdalar i Grugybar, daeth galwad am gynorthwywyr iddo. Bu Mr. Daniel Evans, wedi hyny o'r Mynyddbach, yn llafurio yma am dymor fel cynorthwywr, ond ni chafodd ef ei urddo yma. Yn y flwyddyn 1800 symudodd oddiyma i Fangor, lle y bu am rai blynyddau. Awst 18efd, 1803, urddwyd Mr. David Williams, yr hwn a ddechreuasai bregethu yn Medi, 1799, yn Llanwrtyd, yn gynorthwywr a chydweinidog a Mr. Price, ac yn mhen tua blwyddyn a haner wedi hyny bu yr hen weinidog farw, a syrthiodd yr holl ofal ar y gweinidog ieuangc. Os bu gweinidogaeth Mr. Price yn llwyddianus yma bu gweinidogaeth Mr. Williams yn llawer mwy felly. Yr oedd yma ddwy eglwys—Llanwrtyd a Throedrhiwdalar—pan ddechreuodd Mr. Price ei weinidogaeth, a'r un rif oedd yr eglwysi ar ei therfyniad, ond eu bod ychydig yn lluosocach eu haelodau, ac yn llawer mwy gwresog eu hysbryd. Dan weinidogaeth Mr. Williams aeth y ddwy eglwys mewn ychydig flynyddau yn chwech o eglwysi. At Lanwrtyd a Throedrhiwdalar ychwanegwyd Ebenezer, Merthyr Cynog, Beulah, Abergwesyn, a'r Olewydd. Gan y daw nodwedd, llafur, a llwyddiant Mr. Williams etto dan sylw yn ein cofnodiad bywgraphyddol, nid ychwanegwn ragor am dano yma. Gan fod cylch gweinidogaeth Mr. Williams mor eang, ac yntau wedi bod yn llafurio ynddo am ddeugain mlynedd bellach, darfu iddo yn 1842 anog yr eglwysi yn Llanwrtyd ac Abergwesyn i edrych allan am weinidog iddynt eu hunain. Rhoddasant alwad i Mr. Owen Owens, genedigol o Leyn, ond oedd ar y pryd yn aros yn Mhenmynydd, Mon. Urddwyd ef yma Rhagfyr 21ain, 1842. Wedi iddo fod yma am tua phum' mlynedd symudodd i Frynmenyn, Morganwg. Dilynwyd ef gan Mr. John Griffiths o athrofa Aberhonddu, yr hwn a urddwyd yma Ionawr 10fed, 1849. Yr oedd Mr. Griffiths yn taro y lle hwn i'r dim a'r lle yn ei daro yntau mor dda fel na bu gweinidog ac eglwys erioed

yn ddedwyddach yn eu cysylltiad a'u gilydd nag yr oeddent hwy am yr ugain mlynedd y buont mewn cysylltiad a'u gilydd. Bu farw Mr. Griffiths yn 1869, er galar dirfawr i'r eglwysi a'r wlad yn gyffredinol. Yn 1870 rhoddwyd galwad i Mr. Richard James o athrofa Aberhonddu ac urddwyd ef Mehefin 16eg y flwyddyn hono, ac yma y mae hyd yn bresenol yn barchus a llwyddianus iawn.

Yn nhymor yr erlidigaeth yr oedd y gynnulleidfa hon, fel pob cynnulleidfa arall, yn gorfod addoli yn ddirgel mewn anedd-dai. Buwyd am ryw yspaid o amser cyn adeiladu y capel cyntaf yn addoli ac yn cymuno yn Maesygwaelod. Adeiladwyd y capel cyntaf yma ar y man y saif hen gapel y Gelynos yn bresenol. Closrhedynog y gelwid y cae ar ba un yr adeiladwyd ef. Rees Jones o Ddolycoed oedd yn rhoddi y tir, am fil o flynyddau, am yr ardreth o geiniog yn y flwyddyn os gofynid hi, i Thomas Prees, John Prees, William Lloyd, Morgan Evans, a William David, oll o blwyf Llanwrtyd, fel ymddiriedolwyr dros y gynnulleidfa. Dyddiad y weithred yw Ionawr 24ain, 1693, ond gan y sonir ynddi am y capel fel un oedd wedi cael ei adeiladu dichon iddo gael ei adeiladu flwyddyn neu flynyddau cyn ysgrifenu y weithred. Dywedir mai ty lled wael yr olwg arno oedd y ty cyntaf hwn. Brwyn neu redyn oedd ei dô a gwiail plethedig oedd ei ddrws. Er gwaeled lle ydoedd cafodd wasanaethu fel ty addoliad i gynnulleidfa Llanwrtyd o 1693, neu cyn hyny, hyd 1758, pryd trwy ryw ddigwyddiad anhysbys y llosgodd yr hen gapel. Mewn canlyniad i hyny bu raid i'r eglwys adeiladu capel newydd. Wedi cael y ty newydd yn barod hyd at ei dôi digwyddodd i Mr. Gwynne o'r Garth fyned heibio a gweled fod y ty hwn etto i gael ei doi a gwellt, brwyn, neu redyn, yr hyn a ystyriai pob dyn o chwaeth, hyd yn oed yn yr oes hono, yn annheilwng i dy at addoli yr Arglwydd, cynygiodd yn garedig i fyned ei hun i'r draul o'i doi a cherrig. Derbyniwyd ei gynygiad yn ddiolchgar. Gwasanaethodd yr ail gapel hwn i'r gynnulleidfa hyd 1837, pryd yr adeiladwyd ef y drydedd waith yn yr un man ag o'r blaen, o herwydd methu cael tir at ei adeiladu yn y pentref. Yn y blynyddau diweddaf, wedi agoryd y ffordd haiarn trwy y lle, lluosogodd yr ymwelwyr â'r ffynonau yn ddirfawr, fel y bu raid adeiladu llawer o ddegau o dai yn ychwanegol. Gan fod yr hen gapel fwy na haner milldir y tu allan i'r pentref, yr hyn a'i gwnelai yn dra anghyfleus i'r boblogaeth, penderfynwyd drachefn wneyd un ymdrech egniol am dir at adeiladu capel newydd yn y pentref, a llwyddwyd o'r diwedd i'w gael. Bu Mr. Griffiths, y gweinidog, yn ymdrechgar iawn gyda'r gorchwyl pwysig hwn, a llwyddodd i gael capel hardd yn y man prydferthaf yn y pentref. Cafodd y capel newydd ei agor yn 1868, a chyn pen blwyddyn ar ol ei gael yn barod yr oedd Mr. Griffiths yn ei fedd. Mae yr hen gapel etto yn sefyll, ond ni chynhelir un gwasanaeth crefyddol ynddo ond pan fyddis yn claddu y meirw. Hydref 5ed a'r 6ed, 1874, cynaliwyd yma gyfarfod pregethu, a chasglwyd yn rhagorol ar ddiwedd yr oedfaon er gorphen talu y gweddill o'r ddyled oedd yn aros ar y capel newydd. Yr oedd y casgliadau a wnaed at hyny yn gyflawn ddigon.

Dechreuwyd yma ysgol Sabbothol tua y flwyddyn 1805, yn fuan ar ol i'r Methodistiaid Calfinaidd ddechreu ysgol Sabbothol yn yr ardal. Gan fod eglwys yr Annibynwyr yn wasgaredig iawn barnwyd yn ddoeth i sefydlu canghenau o'r ysgol mewn gwahanol gyrau o'r ardal. Dan arolygiaeth William Jones, dilledydd, yr oedd yr ysgol yn y capel, a bu ef

trwy ei fedr a'i ffyddlondeb yn foddion i'w gwneyd yn ysgol effeithiol iawn. Sefydlwyd un arall yn Cae'rcwm, lle y mae capel bychan yn awr, ac un arall yn ardal Llechweddol, dan arolygiaeth David Davies, yr Henbont, a David Price, Ty'nymaes; ac yn y flwyddyn 1817 sefydlwyd cangen yn Abergwesyn. Mae yn ddiau fod yr ysgolion hyn wedi bod o wasanaeth dirfawr i'r achos.

Mae Llanwrtyd er's oesau wedi bod yn nodedig am ei adfywiadau crefyddol. Crybwyllwyd yn barod fod holl dymor gweinidogaeth Mr. Isaac Price yma yn dymor o adfywiad agos diattal, ond bu yma rai adegau mwy nodedig na'u gilydd yn ei dymor llewyrchus ef. Bu yma adfywiad grymus iawn yn 1777, ac un arall yn 1790, pryd yr ymunodd yr enwog David Williams a'r eglwys, yn fachgen un-ar-ddeg oed. Yn mhen ychydig flynyddau ar ol hyn bu yma adfywiad a alwai yr hen bobl yn "ddiwygiad y plant," pryd yr ymunodd amryw blant a'r achos, ac yn mysg eraill Mary Williams, mam y wraig o Lwynderw. Yn 1804 ymunodd nifer fawr a'r eglwys mewn teimladau gwresog iawn, ac yn eu plith Mr. James Williams, wedi hyny o Dy'nycoed. Yn 1812 cafwyd ymweliad grasol arall oddiwrth yr Arglwydd, yr hwn a ddechreuodd tua diwedd Awst yn y flwyddyn hono. Y cyntaf a ddaeth i'r gyfeillach y pryd hwn oedd Isaac Williams, brawd Mr. Williams, y gweinidog, ac y mae efe yn dal ei ffordd yn ffyddlon hyd y dydd hwn. Yn yr un amser yr ymunodd David Price, Ty'nymaes; David Price, Troedyrhiw, a James Clee a'r eglwys—dynion a droisant allan yn nodedig am eu ffyddlondeb gyda'r achos. Yn 1828 torodd allan y diwygiad mawr a bythgofiadwy, yr hwn a ymdaenodd dros holl ddeheudir Cymru. Yn nghapel y Methodistiaid, yn Mhontrhydyfere, y dechreuodd y diwygiad hwn yn yr ardal hon, a'r Sabboth canlynol torodd allan yn nghapel yr Annibynwyr. Ar brydnawn y Sabboth hwnw yr oedd Mr. Williams ar ol bod yn holi yr ysgol wedi dechreu pregethu, ac wrth ei fod yn ei bregeth yn adrodd yn ei ddull tanllyd ei hun, y geiriau hyny, "Gwael yw dy fod yn was i mi i gyfodi llwythau Jacob, ac i adferu rhai cadwedig Israel, Gofyn i mi a rhoddaf y cenhedloedd yn etifeddiaeth i ti, a therfynau y ddaear i'th feddiant," torodd yr holl dorf allan i wylo. Ar hyny, yn angerdd ei deimlad, heb wybod pa beth oedd yn ei wneyd, tynodd David Price, neu "Daffy Ty'nymaes," fel y gelwid ef, ei gadach gwddf ymaith a thaflodd ef o'i law, ac yn y pulpud y disgynodd. Gyda hyny dechreuodd ganu a neidio, ac ar yr un pryd gwaeddai Evan Price, Penhernwen, mewn swn toddedig, "Os rhoddodd Ef ei fywyd i brynu'm bywyd i, pwy sydd dan fwy o rwymau i'w ganmol Ef na fi." Yna aeth yn un fonllef trwy yr holl dŷ. Yn yr adfywiad hwn cafodd ugeiniau eu hychwanegu at yr eglwys, ac yn eu plith amryw a droisant allan i fod yn grefyddwyr rhagorol iawn. Yn y flwyddyn 1840 bu yma adfywiad mawr arall, pryd yr ychwanegwyd rhai canoedd at yr eglwys. Cafodd yr eglwys hon, fel y rhan fwyaf o holl eglwysi Cymru ran helaeth o'r gafod fendithiol o ddylanwadau dwyfol a ddisgynodd ar y wlad yn 1859-60. Er fod yma ychwanegiadau graddol wedi bod ar ol hyn, ni bu yma ddim a ellir alw yn adfywiad nerthol er's tua phymtheg mlynedd bellach. Yr ydym yn hyderu fod y llanw mawr ar ddyfod etto, ac y clywir sain can a moliant yn yr hen lanerch gysegredig hon yn rymusach, nag y bu erioed o'r blaen.

Mae yr eglwys hon o oes i oes wedi cyfodi niferi o'i phlant i'r weinidogaeth, a rhai o honynt wedi troi allan yn ddynion nodedig o ddefnydd-

iol ac enwog. Mae yn dra thebygol fod amryw bregethwyr wedi cyfodi yma yn nhymor boreuaf yr achos nad oes genym ni un hanes am danynt. Y rhai canlynol yw yr unig rai y gallasom ni ddyfod o hyd i'w henwau.

John Jones, Ysw., Cwmcamarch, yr hwn oedd bregethwr cynorthwyol, ac yn foneddwr o ran ei amgylchiadau bydol. Merch iddo ef oedd gwraig Mr. John Lloyd o'r Ddinas, Llanwrtyd. Yr oedd Mr. D. Williams yn ei chofio hi yn hen wraig oedranus, pan yr oedd ef yn blentyn bychan, yn molianu yn hen gapel Llanwrtyd.

Isaac Price. Am yr hwn y sonir yn mhellach fel un o'r gweinidogion.

Samuel Morgan, mab Mr. Thomas Morgan, y gweinidog. Ganwyd ef Gorphenaf 6ed, 1731, a derbyniwyd ef i athrofa Caerfyrddin yn 1750. Tair blynedd y bu yn yr athrofa. Yn 1753 ymsefydlodd fel gweinidog yn Dalverton yn Ngwlad yr Haf, ac yn y flwyddyn ganlynol symudodd i Collumpton, yn sir Devon, ac yno y bu farw Medi 15fed, 1794. Yr oedd yn ddyn o gymeriad pur, ond nid ymddengys ei fod yn ddyn bywiog ei ysbryd yn ngwaith crefydd, canys yr ydym yn cael iddo gyhoeddi ffurf o weddiau i'w harfer yn yr addoliad cyhoeddus, ac y mae haneswyr yn tystio i ni mai dynion oerllyd eu hysbryd ac anefengylaidd eu golygiadau yn unig yn mysg yr Ymneillduwyr yn yr oes hono a amddiffynent ddarllen gweddiau.

Daniel Lloyd. Gweler ei hanes yn nglyn a'r eglwys yn Ninbych, lle y bu yn weinidog.

Rees Price, ewythr brawd ei fam-gu i Mr. Price, Cwmllynfell. Ganwyd a magwyd ef yn Abernant, yn mhlwyf Llanwrtyd. Derbyniwyd ef i'r athrofa yn Abergavenny Ebrill 5ed, 1762. Nid ydym yn gwybod yn mha le y dechreuodd ei weinidogaeth, ond yn 1775 ymsefydlodd yn Chalfont, yn sir Buckingham, ac yno y bu hyd ei farwolaeth Mawrth 5ed, 1815. Claddwyd ef yn Bunhill Fields, Llundain. Mae yn gerfiedig yno ar ei gareg-fedd yr hyn a ganlyn :—"Yr oedd ei gyrhaeddiadau helaeth, purdeb ei egwyddorion, uniondeb ei gymeriad, mwyneidd-dra ei ymddygiadau, a dyngarwch ei galon, yn cyfiawn ennill iddo barch gan bawb a'i hadwaenai."

Samuel Price, mab Mr. Isaac Price, y gweinidog. Dechreuodd bregethu tua y flwyddyn 1778. Gweler hanes Penybontarogwy.

Morgan Jones. Dechreuodd yntau bregethu tua y flwyddyn 1782. Gweler hanes y Cymmer, Ystradrhondda.

David Davies. Dechreuodd yntau bregethu tua yr un amser a'r ddau uchod. Gweler hanes Llangattwg.

David Williams. Dechreuodd ef bregethu yn Medi, 1799. Gweler cofiant helaeth iddo yn nglyn a hanes Troedrhiwdalar.

Samuel Price, ŵyr Mr. Isaac Price, y gweinidog. Dechreuodd bregethu tua y flwyddyn 1804. Gweler hanes Llanedi.

James Williams, yr hwn a ddechreuodd bregethu yn 1807, Gweler hanes Ty'nycoed.

James Davies. Dechreuodd bregethu yn 1812. Bu am flynyddau yn weinidog gweithgar yn Llanfaircaereinion. Ymfudodd i'r America yn 1849, ac wedi llafurio yno am bum'-mlynedd-ar-hugain mewn gwahanol fanau bu farw mewn oedran teg.

Daniel Jones. Gweler hanes Llangynidr.

David Price, ŵyr i Mr. Isaac Price, a brawd Mr. Samuel Price, Llanedi. Gweler hanes Talybont, Brycheiniog.

Hugh Price, brawd Mr. Rees Price, Cwmllynfell. Dechreuodd bregethu yn 1822, yr un amser a David Price. Yn fuan wedi iddo ddechreu ei efrydiaeth yn athrofa y Drefnewydd, ymaflodd y darfodedigaeth ynddo a daeth adref i farw. Gorphenodd ei yrfa Gorphenaf 11eg, 1828, a chladdwyd ef wrth gapel y Gelynos, Llanwrtyd. Yr oedd yn wr ieuangc duwiol, talentog ac addawol rhyfeddol. Buasai yn debyg o ddringo i binacl uwchaf y weinidogaeth pe cawsai fyw.

David Williams, yr hwn sydd yn dra adnabyddus wrth ei enw barddonol, D. ap Gwilym Buallt. Mab i un o flaenoriaid y Mothodistiaid yn Llanwrtyd oedd ef, ond o herwydd rhyw resymau, anhysbys i ni, ymunodd yn ieuangc ag eglwys yr Annibynwyr. Dechreuodd bregethu yn 1822, yr un amser a'r ddau uchod. Yr oedd yn un o dalentau anghyffredin, ond yr oedd yn amddifad o'r peth sydd yn anhebgorol i bregethwr, sef cymeriad moesol pur. Cyfieithodd Fyfyrdodau Harvey i'r Gymraeg, ac y mae y cyfieithiad campus hwnw yn ddigon o brawf o'i ddysg a'i chwaeth bur fel llenor. Wedi iddo fyned yn gymeriad amheus yn mysg yr Ymneillduwyr darfu i foneddwr o Eglwyswr ei anfon ar ei draul ei hun i ysgol Ystradmeurig gyda bwriad iddo fyned i'r offeiriadaeth, ond aeth ei gymeriad yn rhy ddrwg iddo gael ei oddef yno. Daeth adref i Lanwrtyd i farw ar ol dinystrio ei gorph a'i ysbryd trwy ei fywyd afreolaidd. Bu farw rywbryd rhwng 1828 ac 1830, nid ydym yn sicr o'r amser. Dywedir ei fod yn edifeiriol iawn ar ei wely angau ac yn ymbil yn daer ar yr Arglwydd am faddeuant.

Rees Price neu Pryse. Yr ydym wedi rhoddi cofiant helaeth am dano ef yn nglyn a hanes Cwmllynfell.

Rees Gwesyn Jones, D.D. Ganwyd ef Mai 4ydd 1826, yn Penywern, plwyf Llanfihangel, Abergwesyn. Derbyniwyd ef yn aelod yn Llanwrtyd yn 1840, gan Mr. J. Stephens, Brychgoed, yr hwn a ddigwyddodd fod yno yn cadw y cyfarfod cymundeb y Sabboth hwnw. Dechreuodd bregethu yn 1844. Ar orpheniad ei amser yn athrofa Aberhonddu urddwyd ef yn Rhaiadr. Bu wedi hyny yn Mhenybontarogwy a Bethesda, Merthyr. Y mae er y flwyddyn 1867 yn weinidog i'r Cymry yn Utica, America.

James Gwesyn Davies. Gweler ei gofiant yn nglyn a hanes Penywern, Dowlais.

Thomas Selby Jones, Drewen, sir Aberteifi.

Thomas Williams. Gweinidog yr eglwys Saesonig, Canton, Caerdydd.

Heblaw pregethwyr y mae niferi lluosog o swyddogion ac aelodau enwog am eu duwioldeb, eu gwresogrwydd, a'u defnyddioldeb gyda'r achos wedi bod o bryd i bryd yn perthyn i'r eglwys hon. Ni oddefa ein terfynau i ni wneyd nemawr gyda chrybwyll enwau ychydig o honynt.

James Davies, Tygwyn, oedd un o ragorolion y ddaear. Cyfododd trwy ei dduwioldeb, ei gallineb, a'i ddoniau digyffelyb i'r fath ddylanwad fel yr oedd ei air ef ar bob achos, yn nghyfrif y gweinidog a'r eglwys, yn ddeddf sefydlog. Yr oedd ei ddoniau mewn gweddi y fath fel y disgwylid iddo bob amser weddio ar ddechreu yr oedfaon cyhoeddus, nid yn unig gartref ond yn mhob cyfarfod cyhoeddus y digwyddai fod ynddo. Bu cyfeillach grefyddol yn cael ei chynal yn fisol yn y Tygwyn trwy ei holl dymor ef, ac yn amser ei fab ar ei ol, yr hwn hefyd sydd yn wr teilwng o'i dad rhagorol, hyd nes yr adeiladwyd ysgoldy y Wern yn y gymydogaeth. Yr oedd galar dirfawr yn yr eglwys a thrwy yr holl ardal ar farwolaeth James Davies, a'r rhai mwyaf ofnus a gwan eu ffydd yn meddwl y

buasai yr achos farw gydag ef. Gorphenodd ei yrfa Awst 13eg, 1826, yn 66 oed.

Thomas Davies, yr hwn a fu farw Ionawr 1af, 1854, yn 83 oed, oedd yn ddyn gonest, yn gristion didwyll, ac yn ddiacon ffyddlon. Bu yn aelod eglwysig am 55 o flynyddau, ac yn ddiacon am 48. Rhoddwyd carreg ar ei fedd ar draul Mr. Griffiths, y gweinidog, a'r aelodau a deimlent barch i'w goffadwriaeth.

David Price, Ty'nymaes, oedd gymeriad hynod a rhagorol iawn. Dyn bychan o gorph ydoedd a llawn o fywiogrwydd. Dechreuodd ei yrfa grefyddol yn nghanol tan mawr y diwygiad, a pharhaodd y tan i gynneu yn danbaid yn ei ysbryd ef hyd derfyn ei oes. Ni buasai perygl i un gyfeillach grefyddol y buasai ef ynddi fod yn farwaidd. Yr oedd yn un rhagorol yn mhob cylch crefyddol ond yn fwy nodedig yn y gyfeillach a'r cyfarfodydd gweddio nag mewn un man arall. Bu farw Hydref 18fed, 1871, yn 82 oed.

Thomas Price, Wern. Bu yntau yn ddiacon, ac yn ffyddlon iawn dros ei holl dymor maith. Bu farw Ionawr 10fed, 1873, yn 81 oed.

Yn mysg y lluaws eraill a fuont yn ffyddlon a defnyddiol iawn yma yn eu dydd gellid enwi William Jones, dilledydd, yr hwn a fu farw Mai 20fed, 1847; Evan Jones, Prysefawr, yr hwn a fu farw Ebrill 21ain, 1841; John Morgans, Esgairddafydd, yr hwn a fu farw Ionawr 7fed, 1855, a Morgan Williams, Tirithel, a fu farw Mehefin, 1872, yn 79 oed. Heblaw y rhai uchod y mae canoedd eraill o'r hen ffyddloniaid a fuant yn perthyn i'r achos hwn a'u henwau yn ysgrifenedig yn y nefoedd er nas gallwn ni eu crybwyll yma.*

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Gan ein bod wedi rhoddi cofiantau gweinidogion cyntaf yr eglwys hon yn nglyn a hanes yr Ynysgau, Merthyr, a Chefnarthen, ac mai yn nglyn a hanes Troedrhiwdalar y rhoddir cofiant Mr. Williams, nid oes genym ond y tri canlynol i roddi eu hanes yma.

Thomas Morgan. Yn ol tystiolaeth Mr. Williams, un genedigol o Benybontarogwy oedd ef. Mae amser ei enedigaeth yn anhysbys i ni. Yr ydym yn cael ei enw yn mysg y myfyrwyr a addysgwyd yn athrofa Caerfyrddin yn amser Mr. William Evans. Mae yn ymddangos iddo ef fod amryw flynyddau ar ol gorphen ei amser yn yr athrofa cyn cael ei urddo, canys yn ol tystiolaeth Mr. Phillip Pugh, yn llyfr eglwys y Cilgwyn, yn Ebrill, 1725, yr urddwyd ef, ac yr oedd wedi gadael yr athrofa er y flwyddyn 1717, neu cyn hyny. Dywed Mr. Williams iddo glywed yr hen bobl yn dyweyd mai un lled drymaidd ei ddawn ydoedd, ac y mae hyny yn ddigon i gyfrif paham y gadawyd ef cyhyd wedi dyfod allan o'r athrofa heb i un eglwys roddi galwad iddo. Yn y Tygwyn, yn agos i gapel Llanwrtyd, yr oedd yn cyfaneddu yn ei dymor diweddaf, ond yn rhywle yn mhlwyf Llangamarch y cyfaneddai yn 1731 pan y ganwyd ei fab Samuel. Cafodd Mr. Williams ei arwain i gamgymeriadau tra ang-

* Yr ydym yn ddyledus am y rhan fwyaf o ddefnyddiau yr hanes uchod i ysgrif Mr. Williams, a ymddangosodd yn yr *Adolygydd* am 1851; i lawysgrif werthfawr Mr. Roderick Williams, a llythyrau Mr. James.

hyfrifadwy gyda golwg ar Mr. Morgan. Dywed iddo fod yn weinidog yma am yn agos i haner can' mlynedd, ei fod o bedwar-ugain i bedwar-ugain a deg pan y bu farw, ac iddo gael ei gladdu o flaen y pulpud yn nghapel Llanwrtyd. Mae pob un o'r pethau hyn yn anghywir. Urddwyd ef yn Ebrill, 1725, ac nid yw yn debygol ei fod y pryd hwnw dros o ddeg i bymtheg-ar-hugain oed, ac yn ol cof-lyfr eglwys blwyfol Llanwrtyd yno y claddwyd ef Gorphenaf 10fed, 1755, felly ni bu yn weinidog yn Llanwrtyd ond am ddeng mlynedd-ar-hugain ac ychydig fisoedd. Nid ydym yn gallu cyfrif pa fodd yr arweiniwyd Mr. Williams i'r camgymeriadau hyn, gan nad oedd Mr. Morgan wedi marw ond pymtheng-mlynedd-ar-hugain cyn iddo ef gael ei dderbyn i gymundeb eglwysig. Yr oedd Mr. Morgan fel yr ymddengys yn ysgolhaig da, yn fyfyriwr diwyd, ac yn ddyn pur iawn ei ymarweddiad. Byddai yn arfer cateceisio ei deulu, a phawb eraill a ddeuent i'w dŷ, bob nos Sabboth yn Nghaticism y Gymmanfa.

Isaac Price. Ganwyd ef oddeutu y flwyddyn 1735, mewn lle a elwir Gellicrugion, o fewn dwy filldir i gapel Llanwrtyd. Yr oedd ei dad, Rees Price, a'i fam hefyd, yn aelodau defnyddiol yn Llanwrtyd. Efe oedd unig blentyn ei rieni. Cafodd fanteision addysg rhagorol er na fu mewn un athrofa. Gorphenodd ei addysg ar gyfer y weinidogaeth yn ysgol Mr. Joseph Simons, Castellnedd. Ymunodd a chrefydd yn ieuangc iawn a dechreuodd bregethu pan yr oedd yn bedair-ar-bymtheg oed. Yn ol y cofnodiad yn nghof-lyfr eglwys blwyfol Llanwrtyd, ymunodd mewn priodas ag Elizabeth Williams, o'r plwyf hwnw, Gorphenaf 3ydd, 1755. Felly priododd y flwyddyn ar ol iddo ddechreu pregethu. Dywed Mr. Williams mai pan yr oedd yn dair-ar-hugain oed yr urddwyd ef, sef yn y flwyddyn 1758, ond dywed hefyd iddo gael ei urddo ychydig cyn marwolaeth Mr. Thomas Morgan. Nis gall hyny fod yn gywir, gan i Mr. Morgan, fel y gwelsom, gael ei gladdu Gorphenaf 10fed, 1755. Felly yn mhen tair blynedd wedi ei farwolaeth ef yr urddwyd Mr. Price, ac mae hyn yn cyduno a'r cofnodiad ar ei gareg-fedd yn hen gapel y Gelynos, lle y cofnodir mai wyth-mlynedd-a-deugain y bu yn y weinidogaeth. Bu farw Chwefror 26ain, 1805. Yr oedd wedi cael ei analluogi gan y parlys i gyflawni ei weinidogaeth tua dwy flynedd neu ychwaneg cyn ei farwolaeth. Bu Crugybar, sir Gaerfyrddin, mewn cysylltiad a Llanwrtyd a Throedrhiwdalar, dan ofal Mr. Price trwy holl dymor ei weinidogaeth, ond un Sabboth yn y mis a roddai i Grugybar. Yr oedd hyny yn y parthau gwledig y pryd hwnw yn cael ei ystyried yn weinidogaeth gyflawn. Ymddibynai y cyfryw gynnulleidfaoedd ar bregethwyr cynorthwyol ar y tri Sabboth arall. Dywedir mai yn y modd canlynol yr arweiniwyd Mr. Price i dalu ei ymweliad cyntaf a Chrugybar:—Yr oedd Mr. David Jones, cyfieithydd Salmau a Hymnau Watts, yr hwn oedd yn aelod enwog yn Nghrugybar, yn digwydd bod yn treulio Sabboth yn ardal Troedrhiwdalar tua yr amser yr oedd Mr. Price yn dechreu pregethu. Aeth i'w wrandaw, a deallodd ar unwaith fod ynddo ddefnyddiau dyn uwchlaw y cyffredin. Rhoddodd anogaeth iddo ddyfod am Sabboth i Grugybar, a bu y Sabboth hwnw yn ddechreuad gweinidogaeth o wyth-mlynedd-a-deugain yno. Y troion cyntaf yr ymwelai y pregethwr ieuangc Isaac Price a Chrugybar, ni byddai nemawr ond David Jones, yr Emynwr,

yn gwneyd sylw neillduol o hono, nac yn ei gymell i ddyfod i'w tai i bregethu, ond wedi i'w ddoniau ymddadblygu, ac iddo yntau fyned yn enwog fel Mr. Price, Llanwrtyd, aeth pob amaethwr yn ardal Crugybar agos i ymryson a'u gilydd am ei gael i'w tai i bregethu bob prydnawn Sabboth y byddai yno. O herwydd hyn canodd D. Jones y rhigwm canlynol:—

"Pan ddeuai *Isaac* yma gynta'
Mi gawn ganddo ambell odfa,
Ond 'nawr mae pob proffeswr *nice*
Yn myn'd a Price oddiarna'."

A ganlyn yw y darluniad o berson a gweinidogaeth Mr. Price a ysgrifenwyd gan ei ganlyniedydd, Mr. Williams, fwy nag ugain mlynedd yn ol:—"Yr oedd ef o gyfansoddiad corff prydferth iawn, ei ruddiau yn deg a rhosynaidd, ei wisgoedd yn lanwedd, ac yn gyfatebol i'w swydd. Yr oedd rhywun rhyw dro yn dyweyd, yn ymyl Crugybar, mai nid rhyfedd bod cymaint o bobl yn gwrandaw Isaac Price, gan na welodd ef harddach dyn erioed. Yr oedd hefyd o ran ei dymer naturiol yn addfwyn iawn, yn caru, ac yn cael ei garu braidd gan bawb. Yn ei berthynas a'r weinidogaeth, gellir dyweyd am dano ei fod yn fab y daran, ac yn fab diddanwch. Fel mab y daran byddai yn derchafu ei lais fel udgorn yn erbyn pechodau yr oes; yr oedd yn ail i Harries a Rowlands yn ei weinidogaeth; sobreiddiwyd a diwygiwyd yr holl gymydogaeth; a rhoddwyd chwareuyddiaethau ofer a dawnsio heibio braidd yn hollol. Yr oedd hefyd yn fab diddanwch yn ei weinidogaeth; byddai yn cyhoeddi iachawdwriaeth rad, trwy angau y groes, nes y byddai calonau ugeiniau yn toddi trwy y lle ac yn molianu Duw am oriau wedi i'r bregeth ddarfod. Yn amser y diwygiadau grymus byddent yn molianu o un lle addoliad i'r llall. Bu yn pregethu yr efengyl am haner can' mlynedd, ond yn y ddwy flynedd olaf o'i fywyd gwanhaodd ei iechyd yn fawr o herwydd iddo gael ei daro gan ergyd o'r parlys." Er fod Isaac Price yn un o'r dynion hawddgaraf a mwyaf ymroddgar i wasanaeth ei Arglwydd yn ei oes, ni ddiangodd yntau, mwy nag eraill o ragorolion y ddaear, rhag ymosodiadau ffyrnicaf y gelyn. Tua y flwyddyn 1770, neu yn fuan ar ol hyny, taenwyd chwedl enllibus trwy ardal Llanwrtyd, sef fod merch yn feichiog gan Mr. Price yn ardal Crugybar. Gwnaed ymchwiliad dioed i'r peth, a chafwyd mai anwiredd hollol a disail ydoedd. Olrheiniwyd y peth i ddau neu dri o bersonau yn eglwys Mr. Price yn Llanwrtyd, a chafwyd mai hwy fuasent yn euog o lunio yr enllib. Diarddelwyd hwy a rhai eraill a geisient eu hamddiffyn. Yr oedd y diarddeledigion yn saith o nifer. Cynygiasant eu hunain i eglwys y Methodistiaid yn y Gorwydd ond gwrthodwyd eu derbyn yno. Yna cynygiasant eu hunain i'r Methodistiaid yn Nghilycwm, a chawsant eu derbyn, ac yn fuan ffurfiwyd hwy fel cangen o eglwys Cilycwm yn gymdeithas yn Llanwrtyd. Gan mai dan amgylchiadau fel hyn y dechreuodd yr achos hwn, gwrthododd y bardd enwog Williams o Bantycelyn, tra y bu fyw, fyned yno i bregethu, o herwydd fod ganddo y fath barch i Mr. Price. Ni bu nemawr o gydweithrediad rhwng yr Annibynwyr a'r Methodistiaid yn Llanwrtyd tra y bu Mr. Price a'r rhai a wnaethant y fath ymosodiad ar ei gymeriad fyw, ond er's mwy na thriugain mlynedd bellach y mae heddwch a chydweithrediad hyfryd rhwng y ddau enwad. Mae yn amlwg erbyn hyn fod yr Arglwydd wedi goruwchlywodraethu y drwg hwn er daioni.

JOHN GRIFFITHS. Ganwyd ef yn mis Mawrth, 1821, yn agos i Gefnarthen, yn mhlwyf Llanfair-ar-y-bryn, sir Gaerfyrddin. Yr oedd ei daid neu ei hendaid yn frawd neu berthynas agos i'r enwog Vavasor Griffiths, athraw yr athrofa yn y Llwynllwyd, ac enwyd ei ewythr brawd ei dad yn Vavasor o barch i'r gwr enwog hwnw. Magwyd John Griffiths hyd nes yr oedd yn chwech neu saith mlwydd oed, mewn amaethdy a elwir Esgairberfedd, ac yna cymerodd ei ewythr, Vavasor Griffiths, ef i fyw gydag ef fel ei blentyn. Yr oedd y gwr da hwn yn aelod defnyddiol ac yn "henuriad llywodraethol" yn Mhentretygwyn, a chan nad oedd ganddo na gwraig na phlentyn cafodd ei nai bob ymgeledd dymorol ac ysbrydol ganddo ef. Pan yn ddeunaw mlwydd oed derbyniwyd John Griffiths yn aelod eglwysig yn Mhentretygwyn, gan Mr. Edward Jones, ac yn mhen tua dwy flynedd wedi hyny anogwyd ef gan yr eglwys i ddechreu pregethu. Bu yn petruso cydsynio a'r cais o herwydd fod atal ar ei lafar, ond yn raddol gorchfygodd yr anhawsder hwnw; ac er ei fod yn amlwg yn ei siarad cyffredin tra y bu fyw nid oedd braidd ddim i dynu sylw pan fuasai yn gweddio a phregethu. Yn 1843 aeth i ysgol Ffrwdyfâl, ac yno y bu nes y derbyniwyd ef i athrofa Aberhonddu yn 1845. Bu yn fyfyriwr diwyd tra y bu yn yr athrofa, a chasglodd beth dirfawr o wybodaeth yno i'w gymhwyso at waith y weinidogaeth. Yr oedd yn hoff iawn o ysgrifeniadau y Puritaniaid a'u cydoeswyr, yn enwedigol Cudworth, Norris, a Howe, yr hyn sydd yn ddigon i ddangos ei fod yn feddyliwr galluog, canys ni all un dyn o feddwl arwynebol gael un budd yn y fath awdwyr. Yn Ionawr, 1849, urddwyd ef yn Llanwrtyd, ac yno y bu yn llafurus, yn barchus, a defnyddiol iawn hyd derfyn ei oes. Yr oedd Abergwesyn, mewn cysylltiad a Llanwrtyd, dan ei ofal trwy holl dymor ei weinidogaeth, a bu hefyd am flynyddau yn gofalu am Bethel, Glanbran. Yr oedd Mr. Williams, hen weinidog Llanwrtyd, ac yntau fel tad a phlentyn, a buont trwy eu tymor o gysur dirfawr i'w gilydd. Yn fuan wedi iddo ymsefydlu yn Llanwrtyd ymunodd mewn priodas a merch Mr. Elias Elias, un o flaenoriaid y Methodistiaid yn Mhontrhydyfera, a chafodd hi yn ymgeledd gymwys iddo hyd ei fedd. Ni bu iddynt blant. Y mae Mrs. Griffiths etto yn fyw, ac yn parhau i deimlo ei cholled ar ei ol. Bu Mr. Griffiths farw, ar ol cystudd byr ond trwm iawn, Gorphenaf 11eg, 1869.* Claddwyd ei gorph yn mynwent capel y Gelynos, a phregethwyd yn ei angladd gan yr hybarch David Williams. Yr oedd John Griffiths yn un o'r dynion mwyaf hynaws, caredig, a diddrwg yn y byd. Nis gallasai neb a'i hadwaenai lai na'i garu a'i barchu. Yr oedd yn gydymaith diddan dros ben, a chanddo ystor o fan hanesion addysgiadol a difyrus, ond yr oedd yn mhell o fod yn ddyn ysgafn a chellweirus. Yr oedd yn ddyn pur ei egwyddorion a'i ymarweddiad. Ni chlywsom un dyn erioed yn rhoddi gair drwg iddo, a digon o reswm am hyny ydoedd, nad oedd gan neb ddim drwg i'w ddyweyd am dano. Fel pregethwr yr oedd yn fuddiol ac yn flasus iawn i'w wrandaw. Rhoddai doniadau nodedig o effeithiol i'w lais, a thraddodai wirioneddau mawrion yr efengyl gyda gwresogrwydd mawr. Bydd ei goffadwriaeth yn fendigedig yn Llanwrtyd am oesau wedi i'w lwch ef falurio yn y bedd.

* Trwy ryw amryfusedd gwnaed camgymeriad yn hanes Bethel, Cyf. III., tudalen 598, trwy roddi dyddiad marwolaeth Mr. Griffiths yn Mai 11eg yn lle Gorphenaf 11eg, 1869. Gwelir hefyd ei fod wedi rhoddi Bethel i fyny, a gweinidog arall wedi ei urddo yno cyn ei farwolaeth ef.

## MORIAH, ABERGWESYN.

Yn y flwyddyn 1816 symudodd Mr. Isaac Williams, brawd Mr. Williams, gweinidog Llanwrtyd, o ardal Llanwrtyd i dyddyn bychan a elwir Dolyiar, yn ardal Abergwesyn. Yn uniongyrchol wedi iddo ymsefydlu yno sefydlodd ysgol Sabbothol yn ei dy, a gwahoddodd ei gymydogion a'u plant iddi. Yn fuan trodd yr ysgol hon allan yn sefydliad llwyddianus, ac agorwyd tai eraill yn yr ardal iddi, heblaw ty Isaac Williams, yn enwedig y Tyisaf, lle yr oedd dwy hen wraig dduwiol yn cyfaneddu. Bu fel hyn yn cael ei chynal o dy i dy am ddeuddeng mlynedd, sef hyd y flwyddyn 1828, pryd yr adeiladwyd y capel cyntaf yma. Yn ystod y deuddeng mlynedd hyny byddai Mr. Williams, Llanwrtyd, a'r gwyr ieuaingc a gyfodwyd i bregethu yno, yn dyfod yn lled fynych i'r ardal i bregethu mewn anedd-dai. Yr oedd cyfarfodydd gweddio hefyd yn cael eu cynal yma yn wythnosol, ac weithiau byddai y brodyr bywiog o Lanwrtyd yn dyfod i fyny i gynorthwyo yr ychydig broffeswyr a breswylient yma i gynal y cyfarfodydd hyn. Yn 1828 rhoddodd Peter Jones, Ysw., Llwynderw, ddarn o dir cyfleus at adeiladu capel, ar les o 999 o flynyddau am swllt y flwyddyn o ardreth. Agorwyd y capel newydd yn 1829, pryd y pregethwyd gan y Meistri D. Williams, Llanfairmuallt; D. Williams, Caebach; D Evans, Rhaiadr, a W. Davies, Llanymddyfri. Yn y flwyddyn y dechreuwyd adeiladu y capel torodd diwygiad grymus iawn allan yn Llanwrtyd, ac yn y diwygiad hwnw derbyniwyd yno y personau canlynol o ardal Abergwesyn:—Elizabeth, gwraig Isaac Williams, a Roderick ei fab; Rees Jenkins, Esgairberfedd, a'i wraig; Mary Jones, Waunlwyd, mam Dr. R. Gwesyn Jones; Elizabeth Jones, Pwllybo, yr hon yn nghyd a'i gwr Evan Jones, a gadwasant eu ty yn agored am flynyddau i'r ysgol Sabbothol a chyfarfodydd eraill. Yn eu ty hwy y traddododd Mr. Price, Cwmllynfell, ei bregeth gyntaf oddiwrth Esay lv. 6. Un arall, ac ar lawer o gyfrifon yr un fwyaf nodedig o blant y diwygiad hwn, oedd Mrs. Jones, gwraig Peter Jones, Ysw., o Lwynderw. Yr oedd hi yn ferch i Mr. Lloyd, Nantgwyllt, sir Faesyfed, ac yn foneddiges goethedig. Pan yr ymunodd a chrefydd ymroddodd a'i holl egni i wasanaethu yr Arglwydd. Cyfododd weddi yn ei theulu er nad oedd ei phriod yn proffesu crefydd. Byddai yn holl gyfarfodydd crefyddol yr ardal ar bob tywydd er garwed y ffyrdd, a byddai yn fynych yn gweddio yn gyhoeddus yn y cyfarfodydd. Dywed y rhai a'i hadwaenai oreu na fu neb ar enw cristion erioed yn y wlad hon yn llanw yr enw yn well na hi. Yn y flwyddyn yr agorwyd y capel symudodd dau deulu o Lanwrtyd i'r ardal, sef Daniel Davies a Thomas Price. Yr oeddent hwy a'u gwragedd yn aelodau yn Llanwrtyd, ac felly buont yn ychwanegiad nerth i'r praidd bychan yn yr ardal hon. Byddai yr ysgol yn myned oddiyma yn fynych i Lanwrtyd i adrodd y pwngc, ac yno y byddai y proffeswyr oll yn cymuno. Yn nechreu Rhagfyr, 1842, tua pythefnos cyn urddo Mr. Owen Owens yn Llanwrtyd, ffurfiodd Mr. Williams yr aelodau a breswylient yn yr ardal hon yn eglwys Annibynol. Yr oeddynt erbyn hyn yn 90 o rif. Dan yr un weinidogaeth a Llanwrtyd y mae yr eglwys hon wedi bod oddiar ei ffurfiad hyd yn awr. Ychydig flynyddau yn ol cafodd y capel ei ail adeiladu. Mae yma achos nodedig o siriol, ond nid yw yn bosibl i'r gynnulleidfa

fod ond bechan gan nad yw y boblogaeth ond teneu a gwasgaredig iawn. Yr ardal hon yw un o'r ardaloedd mwyaf mynyddig yn Nghymru. Mae yma hefyd ddwy eglwys blwyfol o fewn ergyd careg i'r capel, ond y mae yn ddigon hawdd rhifo y rhai a ânt iddynt.

## TROEDRHIWDALAR.

Mae y capel hwn yn mhlwyf Llanafanfawr, a thua wyth milldir i'r dwyrain o Lanwrtyd. Nid oes un wybodaeth sicr pwy fu yr offeryn i hau hadau Ymneillduaeth yn yr ardal hon. Nid yw yn anmhosibl, nac ychwaith yn anhebyg, na fu John Penry, neu rai o'i ddychweledigion, yn efengylu yma cyn diwedd yr unfed-ganrif-ar-bymtheg, ac y mae genym sicrwydd fod Walter Cradoc a Vavasor Powell wedi bod yn pregethu llawer yn y parthau hyn cyn y flwyddyn 1642. Nid yw yn debygol i un o honynt hwy, na neb arall, ffurfio eglwys Ymneillduol yma cyn y rhyfel cartrefol. Ond y mae yn dra sicr i eglwys gael ei ffurfio yma, neu yn hytrach cangen o eglwys gyffredinol sir Frycheiniog, ryw amser rhwng 1646 a 1660. Yr oedd Evan Bowen wedi cael ei osod gan yr awdurdodau gwladol i bregethu yn Eglwys Llanafanfawr, wedi i'r offeiriad, William Williams, gael ei droi allan am ei fod yn anghymwys, tua y flwyddyn 1649, ond y mae yn dra thebygol ei fod ef wedi pregethu llawer yn yr ardal cyn hyny gan ei fod yr amser hwnw yn bymtheg-a-deugain oed. Dichon mai efe ddarfu ffurfio eglwys Ymneillduol yn y plwyf hwn. Yn amser yr erledigaeth o 1660 hyd 1687, ac o hyny hyd ddechreu y ddeunawfed ganrif, bu y praidd bychan yma, yr un fath a'r man gynnulleidfaoedd eraill trwy y sir, yn addoli fel y gallent mewn anedd-dai, ac yn mwynhau gweinidogaeth Henry Maurice, Rees Prytherch, a'u cynorthwywyr. Yn yr amser hwnw yr oedd amryw o aelodau eglwys Troedrhiwdalar, neu eglwys Llanafan, fel y gelwid hi y pryd hwnw, yn wasgaredig o gylch Rhaiadr ac o bob tu i'r afon Wy o Raiadr i Lanfairmuallt. Wedi cael nawdd Deddf y Goddefiad ymranodd y frawdoliaeth yn heddychol, ac ymffurfiasant yn eglwysi yn Rhaiadr a Llanafan. Mewn lle a elwir Tanybwlch yn agos i gapel Troedrhiwdalar, y buwyd yn addoli yn benaf yn amser yr erledigaeth. Y mae amryw feirw wedi cael eu claddu mewn cae yn agos i'r ty hwnw. Yn nghae y Llwynllwyd, ar dir y Cribart, yr adeiladwyd y capel cyntaf, ac y mae darnau o'i hen fagwyrydd yn ganfyddedig yno etto. Mae yn dra thebygol i'r capel hwn gael ei adeiladu yn y flwyddyn 1689, neu yn fuan ar ol hyny. O herwydd rhyw resymau, anhysbys i ni, symudwyd o'r capel hwnw yn 1714 pan yr adeiladwyd y capel cyntaf ar Droedrhiwdalar, ac yma y mae yr addoldy wedi bod oddiar hyny hyd yn awr. Ail adeiladwyd y capel yn 1811, ac yn y flwyddyn 1854 cafodd ei adeiladu y drydedd waith yn ei ffurf bresenol. Mae yn adeilad cadarn a chyfleus, ac yn ddigon mawr i ateb i boblogaeth yr ardal. Mae yma fynwent helaeth a lluaws o feirw yn gorphwys ynddi. Y peth mwyaf annymunol yw fod y tir yn anghyffredin o serth.

Gan mai dan yr un weinidogaeth a Llanwrtyd y mae yr eglwys hon wedi bod o'r dechreu hyd 1842, pryd y rhoddodd Mr. Williams ofal Llanwrtyd i fyny, nid oes genym nemawr i ychwanegu am y gweinidogion at

yr hyn a gofnodasom yn hanes yr eglwys hono. Mae yn ymddangos fod rhyw ddealldwriaeth rhwng y ddwy eglwys o berthynas i urddiad y gweinidogion. Urddid hwy bob yn ail yn Llanwrtyd a Throedrhiwdalar. Yn Llanwrtyd yr urddwyd Thomas Morgan yn 1725, yn Nhroedrhiwdalar yr urddwyd Isaac Price yn 1758, ac yn Llanwrtyd yr urddwyd David Williams yn 1803. Wedi i Mr. Williams barhau i weinidogaethu yn yr holl gylch am ddeugain mlynedd rhoddodd Lanwrtyd ac Abergwesyn i fyny i ddewis gweinidog iddynt eu hunain; ac ar ol bod am ugain mlynedd yn mhellach yn llafurio yn Nhroedrhiwdalar, Beulah, a'r Olewydd, teimlai fod ei nerth yn pallu i lenwi yr holl gylch, ac felly penderfynodd roddi ei ofal gweinidogaethol i fyny ac anogodd yr eglwysi i edrych allan am ddyn ieuangc cymwys i'w urddo yn ganlyniedydd iddo. Wedi bod am dair blynedd yn profi y naill a'r llall o'r pregethwyr ieuaingc y gelwid eu sylw atynt, o'r diwedd rhoddasant alwad unfrydol i Mr. David Griffiths, o athrofa Aberhonddu. Mae hanes urddiad Mr. Griffiths wedi cael ei gofnodi yn y *Diwygiwr* fel y canlyn:—"Awst 16eg, 1866, urddwyd Mr. D. Griffiths o athrofa Aberhonddu, yn Nhroedrhiwdalar. Pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. W. Roberts, un o athrawon athrofa Aberhonddu; holwyd y gofyniadau gan Mr. J. Griffiths, Llanwrtyd, y rhai a atebwyd yn gryno ac yn synwyrol gan y gweinidog ieuangc. Yna rhoddodd yr hybarch D. Williams hanes yr achos yn y lle er dyddiau John Penry, a gweddiodd yr urdd-weddi. Pregethodd Mr. E. Jones, Llangadog, ar ddyledswydd y gweinidog, a Mr. D. Jones, Hermon, ar ddyledswydd yr eglwys. Pregethwyd hefyd y dydd blaenorol a dydd yr urddiad yn y gwahanol addoldai gan y Meistri J. Hughes, Aber; D. M. Davies, Cerrigcadarn; J. Davies, Northampton, yn Saesonig; W. J. Morris, Llanelli; J. Stephens, Brychgoed; W. J. Davies, Clarach; W. R. Davies, Bethlehem; J. H. Davies, Merthyr Cynog; P. G. Thomas, Pennorth; T. Evans, Talgarth; D. P. Davies, Llanfairmuallt, yn Saesonig; E. Owen, Clydach; C. Jones, Abergwaun; J. G. Davies, Penywern; J. Davies, Glynarthen, a T. S. Jones, Aberhonddu. Ni bu Troedrhiwdalar heb yr un gweinidog er's dros gant a haner o flynyddau, ac ni fu ond tri yma am yr yspaid maith hyny o amser. Nid yn fynych y cair enghraifft o'r fath yma. Urddwyd Mr. Williams, dri-ugain-a-thair o flynyddoedd yn ol, ac yr oedd mor fywiog a bachgen ar ddydd urddiad Mr. Griffiths yn gynorthwywr iddo. Gallem feddwl fod cymhwysder mawr yn y gweinidog ieuangc i fod yn gydymaith diddanus i'r hen weinidog yn ei flynyddau diweddaf. Yr Arglwydd a'u bendithio ill dau ac a'u gwnelo yn fendith fawr etto i'r eglwysi lluosog, a'r cymydogaethau eang sydd dan eu gofal." Cafodd Mr. Williams fyw wyth mlynedd ar ol urddiad Mr. Griffiths, a buont ill dau fel tad a mab yn anwyl a nodedig o hoff o'u gilydd, ac yn gysur a chymorth mawr y naill i'r llall.

Cafodd Troedrhiwdalar, yr un modd a Llanwrtyd, ei bendithio ag amryw adfywiadau crefyddol grymus ac effeithiol iawn, yn enwedig yn nhymor gweinidogaeth Mr. Price a Mr. Williams. Nid ydyw hanes y diwygiadau boreuaf wedi eu cofnodi, ond y mae yn wybyddus fod yma gyffroadau mawr bob amser ag y buont yn Llanwrtyd. Ychwanegwyd ugeiniau at yr eglwys yma yn 1828, ac yn 1840 bu yma un o'r adfywiadau mwyaf grymus a brofwyd mewn unrhyw oes. Derbyniwyd yn yr adfywiad hwnw chwech-ugain-a-thri i gymundeb yr eglwys yr un bore Sabboth. Trwy offerynoliaeth Mr. Williams, Llandilo, yr hwn a gyhoedd-

esid i bregethu un noson yn Nhroedrhiwdalar wrth ddychwelyd o Liverpool, yn llawn o dan y diwygiad, y cyneuwyd tan yr adfywiad hwn yma. Dywed Mr. D. Williams fel y canlyn am y tro hwn:—"Yn ymweliad cyntaf Mr. Williams a Llynlleifiad, yn y flwyddyn 1840, bu ei weinidogaeth dan ryw ddylanwad mawr yn y lle, ac ennillwyd ei ysbryd i ysbryd yr adfywiad i raddau mawr, nes oedd gwedd ei wynebpryd wedi newid, a gallesid meddwl am dano mai nid dyn oedd efe ond angel Duw. Wedi dyfod i'n ty ni, yr oedd gyda y difrifoldeb mwyaf yn adrodd beth oedd ei deimladau pan ar y ffordd o Lanidloes i Droedrhiwdalar. Pan yr oedd efe ar fryniau St. Harmon yr oedd yn gofyn iddo ei hun, 'O, a ydyw ysbryd y diwygiad gyda mi yn bresenol;' ac ar fynydd Rhos Saith Maen, 'O, a gollais i ysbryd y diwygiad? a ydyw efe yn dyfod gyda mi i'r Deheudir?' Pan ddaeth i'r capel yr oedd y gwrandawyr yn lluosog iawn, fel y byddent bob amser yn cyrchu i wrandaw Mr. Williams. Pan aeth i'r areithfa yr oedd ei feddwl yn sobr, ei agwedd yn ddifrifol, ei genadwri yn bwysig, a'r gwrandawyr fel yn *hongian* wrth ei wefusau. Cafodd yr oedfa hono ryw argraff neillduol ar feddwl y gynnulleidfa; ac yn ganlynol i hyn yn mhen ychydig wythnosau, torodd allan ryw adfywiad neillduol yn yr ardal, fel yr ychwanegwyd at yr eglwys amryw ganoedd, a lluaws yn tystio mai y noswaith hono y daethant i benderfyniad meddwl i ymuno ag eglwys Dduw."

Darfu i'r eglwysi yn Nhroedrhiwdalar a Llanwrtyd, a'u canghenau, adeiladu eu capeli ddeg o weithiau yn nhymor gweinidogaeth Mr. Williams, a thalu am danynt heb fyned allan o'u hardaloedd i ofyn cynorthwy. Adeiladasant hefyd ddau ysgoldy, sef capel y Rhos mewn cysylltiad a Throedrhiwdal, a'r Wern mewn cysylltiad a Llanwrtyd. Ac yn yr ymdrech gyffredinol yn 1835 i dalu dyledion capeli Cymru, casglwyd can' punt, o fewn ychydig sylltau, yn Nhroedrhiwdalar, a phedwar-ugain punt ond tair yn Llanwrtyd, a rhoddasant y cwbl i'r Drysorfa Gyffredinol heb gymeryd dim o honynt at eu gwasanaeth eu hunain.

Mae cynnulleidfa Troedrhiwdalar er's mwy na thriugain mlynedd bellach yn enwog iawn am ei doniau canu. Cyfodwyd yma ysgol i ddysgu rheolau canu yn y flwyddyn 1813, ac o'r pryd hwnw hyd yn awr y mae yn cael ei chynal ar un noswaith o bob wythnos. Yr oedd yr hen bobl ar y cychwyniad cyntaf yn lled groes iddi, ond y mae er's blynyddau lawer wedi byw i lawr bob gwrthwynebiad. Mae yr hen frawd David Price, er ei fod yn tynu at ei bedwar-ugain oed, a'i lais yn parhau fel yr organ. Y mae wedi bod am flynyddau lawer yn arweinydd y canu yma.

Mae canoedd o aelodau a gwrandawyr y lle hwn wedi ymfudo o bryd i bryd i'r America. Yn y flwyddyn 1842 ymfudodd tuag ugain o'r aelodau yr un pryd yno, ac ymsefydlasant yn agos i Delaware, yn nhalaeth Ohio, lle yr adeiladasant gapel, a galwasant ef Troedrhiwdalar. Y mae yno achos bychan a siriol, a Mr. Rees Powell, mab y diweddar Mr. R. Powell, Cross Inn, sir Gaerfyrddin, yn weinidog er's llawer o flynyddau.

Mae yr hen eglwys enwog hon wedi cyfodi cryn nifer o bregethwyr o bryd i bryd. Yr ydym ni wedi dyfod o hyd i enwau y rhai canlynol, ond y mae yn dra sicr fod yma rai wedi cyfodi nas gallasom ni ddyfod o hyd i'w henwau.

David Williams. Yr oedd ef yn cyfaneddu mewn lle a elwir Cefngwaelod, yn agos i gapel Troedrhiwdalar, ac efe oedd perchenog y lle hwnw. Talodd bum' punt o ddirwy unwaith yn amser Siarl II. am gadw

addoliad crefyddol yn ei dy. Yr oedd ef yn hen daid i Mr. Thomas Jones, Tanyrallt, yr hwn oedd yn aelod defnyddiol yn Nhroedrhiwdalar yn nghof rhai sydd yn awr yn fyw.

Evan Thomas a James Thomas, oeddynt ddau frawd, ac yn bregethwyr cynorthwyol yn yr eglwys hon. Yr oeddynt hwythau yn dwyn eu tystiolaeth yn nheyrnasiad erledigaethus Siarl II. Cyfaneddent yn y lle a elwir Tanybwlch, ac mae yn debygol mai yno yn benaf y cynelid yr addoliad cyn cyfodi y capel cyntaf. Hwy, fel yr ymddengys, oedd perchenogion y tir a ddalient, oblegid y mae amryw o'r meirw wedi cael eu claddu mewn cae yn agos i'r ty. Gwnaed hyn mae yn debygol am y gwrthodid rhoddi iddynt gladdedigaeth gristionogol yn Eglwys y plwyf o herwydd eu bod yn Annghydffurfwyr.

David Jones, Ysw., o'r Cribart, brawd Mr. John Jones, Cwmcamarch, yr hwn a grybwyllasom yn hanes Llanwrtyd. Yr oedd ef yn foneddwr o ran ei amgylchiadau, ond hefyd yn gristion da ac yn bregethwr Ymneillduol mewn oes pryd yr oedd bod yn broffeswr chwaethach yn bregethwr Ymneillduol yn cael ei gyfrif yn warth gan fwyafrif trigolion y wlad. Ei hiliogaeth ef yw y Tomasiaid o Wellfield. Parhaodd rhai o'r teulu hwn yn Ymneillduwyr hyd yn agos i ddechreu y ganrif bresenol. Mae yn debyg i Mr. Jones farw yn gynar yn y ddeunawfed ganrif.

Edward Jones. Yr oedd ef yn ewythr brawd ei dad i Mr. John Jones, gynt o Talgarth. Bu yn gynorthwywr ffyddlon i Mr. Isaac Price am ychydig flynyddau. Bu farw Mai 28ain, 1779, yn wyth-ar-hugain oed.

Rees Jones. Dechreuodd ef bregethu tua'r flwyddyn 1795. Ymfudodd i'r America a bu yno am rai blynyddau yn weinidog gyda'r Saeson.

David Powell. Gweler ychydig o'i hanes ef yn nglyn a hanes y Caebach, lle y bu yn weinidog.

John Jones. Gweler hanes Talgarth.

Rees Davies, Erwyddalen. Gweler hanes Heolyfelin, Casnewydd.

Rees Jones, Ffaldybrenin. Yn y Bailihalog y derbyniwyd ef yn aelod eglwysig, ond mae yn ymddangos mai yma y dechreuodd bregethu.

Samuel Williams. Dechreuodd ef bregethu yn 1814. Urddwyd ef yn Llanidloes. Bu wedi hyny yn Nghapel Isaac a Llanedi, ac y mae er's yn agos i ddeugain mlynedd bellach yn yr America. Yr ydym yn deall ei fod etto yn fyw ond yn rhy oedranus i allu gwneyd nemawr gyda gwaith y weinidogaeth. Yr oedd yn nyddiau ei nerth yn bregethwr rhagorol iawn.

William Davies. Gweler hanes Sion, Rhymni.

Thomas Jones. Gweler hanes Llangollen.

James Williams, mab Mr. Williams, y gweinidog. Gweler hanes capel Albany, Hwlffordd.

William Williams. Dechreuodd bregethu yn 1828. Y mae er's blynyddau lawer yn weinidog gyda'r Cymry yn Deerfield, yn agos i Utica, America.

John Evans. Gweinidog yr eglwysi yn y Maendy a Llanhari, Morganwg.

Morgan Morgans. Gweler hanes Ebenezer, Merthyr Cynog.

Morgan Williams, B.A. Mab Mr. Williams, y gweinidog. Er mai un o blant yr eglwys hon ydoedd, yn Nghrugybar y dechreuodd bregethu pan yr oedd yn ysgol Ffrwdyfal. Y mae er's tuag ugain mlynedd bellach yn weinidog cymeradwy yn Awstralia.

Dr. Evan Evans. Addysgwyd ef yn athrofa Coward, Llundain, ac yn un o brif ysgolion Germany. Y mae er's amryw flynyddau yn un o athrawon athrofa Cheshunt.

Morgan Evans. Gweinidog yr eglwys yn Penarth, Maldwyn.

David Morris. Bu ef farw Mawrth 20fed, 1871, yn 24 mlwydd oed. Yr oedd pan y cymerwyd ef yn glaf yn ymbarotoi i fyned i athrofa Aberhonddu.

Walter Price, Minsterley. Un o'r ardal hon yw yntau, ond nid ydym yn sicr pa un ai yma ai yn Aberhonddu y dechreuodd bregethu.

Bu yma ganoedd o ffyddloniaid yn perthyn i'r achos o oes i oes, ond nis gallwn enwi ond ychydig o honynt. Yr oedd Evan Price o'r Cwm, yr hwn a fu farw yn 1861 yn wresog a thanbaid iawn ei ysbryd. Yr oedd William Jones, brawd y diweddar Mr. T. Jones, Minsterley, yr hwn a fu farw yn 1861, yn un a fu yn ffyddlon iawn hyd ei farw. David Davies, Penycrug, oedd ddyn galluog a dylanwadol iawn fel gwladwr yn gystal ag fel crefyddwr. Bu farw yn orfoleddus Gorphenaf 8fed, 1861, yn 68 oed. Cyfansoddodd y pennill canlynol ar ei wely angau, a cherfiwyd ef ar ei gareg-fedd:—

Ingoedd angau gwn nis teimla'
Os caf olwg ar Galfaria:
Iawn y groes sy'n llawn i'm lloni,
Nid wy'n ammeu, nid wy'n ofni.

Bu y tri uchod farw o fewn ychydig fisoedd i'w gilydd, a thua yr un amser ymfudodd Mr. Jones, Brynioian, mab-yn-nghyfraith Mr. D. Williams, y gweinidog, i'r America. Parodd y pethau hyn yn nghyd dristwch mawr yn yr eglwys. Un arall ffyddlon iawn fel diacon ac athraw yn yr ysgol Sabbothol oedd John Jones, Rhosygilwern. Bu ef farw Hydref 27ain, 1871, yn 67 oedd. Bu Isaac Davies, brawd Mr. James Davies, gynt o Lanfaircaereinion, yn nodedig o ddefnyddiol gyda'r ysgol Sabbothol am flynyddau lawer. Bu farw Hydref 19eg, 1872, yn 83 oed. Y mae enw ei dad hefyd, sef Isaac Davies, Castellau, yr hwn a fu farw yn Tachwedd, 1825, yn 75 oed, yn perarogli yn yr ardal hyd heddyw.

Enwau y diaconiaid presenol ydynt James Jones, Dolderwydd, brawd y diweddar Mr. Jones, Ffaldybrenin; Thomas Bowen, Penlan; Isaac Williams, brawd Mr. D. Williams, y diweddar weinidog; John Jones, Pontarddulais, brawd y diweddar Mr. Jones, Minsterley; David Morris, Penrhiwtrefan; John Samuel, Tymawr, a Thomas Bowen, Cwmdulais.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

Evan Bowen. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1594. Nid yw lle ei enedigaeth yn hysbys i ni, ond mae yn dra thebygol mai yn rhywle yn yr ardal hon y ganwyd ef. Nid ydym yn gwybod pa bryd na thrwy bwy yr ennillwyd ef at grefydd, na pha bryd y dechreuodd bregethu. Cafodd ei anfon allan yn 1646 gan y Senedd, fel amryw eraill, yn bregethwr teithiol, ac yn 1649 gosodwyd ef yn weinidog sefydlog yn mhlwyf Llanafan. Yr oedd y pryd hwnw yn bymtheg-a-deugain oed. Mae yn dra sicr iddo

farw cyn y flwyddyn 1660, canys nid oes genym hanes iddo gael ei droi allan o'r Llan yn y flwyddyn hono nac yn 1662, yr hyn fuasai yn sicr o gymeryd lle pe buasai yn fyw. Mae Dr. Walker, hanesydd esgobyddol rhagfarnllyd, yn ei drin yn ddiarbed, yr hyn sydd yn ddigon o brawf iddo fyw a marw yn Annghydffurfiwr. Fel praw fo'i anghymwysder i fod yn weinidog plwyf Llanafan, dywed ei fod yn hen, sef yn bymtheg-a-deugain pan ddechreuodd ei weinidogaeth yno, ei fod yn anwybodus o'r iaith Saesonig, ac mai saer maen ydoedd wrth ei alwedigaeth. Os oedd ei oed yn ei anghymwyso i'w waith mae y rhan fwyaf o'r esgobion yn anghymwys, gan eu bod, gydag ychydig iawn o eithriadau, o haner cant i driugain cyn cael eu gosod ar y faingc esgobol. Am ei anwybodaeth o'r Saesonaeg nid yw hyny yn profi dim yn erbyn cymwysder y gwr da, canys y mae yn ddigon hysbys fod amryw o'r pregethwyr galluocaf yn Nghymru o oes i oes yn ddynion na wyddent ddim Saesonaeg. Am y cyhuddiad iddo fod yn saer maen, ni phrofa ddim ond gwaeledd chwaeth *(meanness)* y gwr a grybwylla y fath beth. Mae degau o offeiriaid, a rhai esgobion, wedi bod ar ryw adegau o'u bywyd yn dilyn y galwedigaethau bydol iselaf. Anrhydedd ac nid gwarth dyn, ydyw ei fod yn gallu gweithio ei ffordd o sefyllfa isel i gylch uchel o ddefnyddioldeb. Un o hiliogaeth Mr. Bowen oedd y llenor enwog Carnhuanawc.

DAVID WILLIAMS. Ganwyd ef Ionawr 27ain, 1779, mewn amaethdy bychan a elwir Nantydderwen, mewn llanerch wyllt a rhamantus a elwir Glyncerdin, yn mhlwyf Llanwrtyd, yn sir Frycheiniog. Yr oedd ei rieni, er nad oeddynt yn uchel eu sefyllfa yn y byd, yn bobl onest a pharchus, ac yn aelodau dichlynaidd o'r eglwys Annibynol yn y Gelynos, Llanwrtyd. O ochr ei fam yr oedd yn ddisgynydd o'r un teulu a John Penry, y Merthyr Cymreig, yr hwn oedd y cyntaf ar ol y Diwygiad Protestanaidd i bregethu yr efengyl yn y parthau hyn, a bernir ar seiliau lled gryfion fod cychwyniad yr hen eglwysi Annghydffurfiol yn Llanwrtyd a Throedrhiwdalar i'w holrhain i'w lafur ef. Bedyddiwyd ef gan yr hybarch Isaac Price, a thystia yr hen weinidog iddo ryw fodd pan oedd y bachgen yn ei freichiau deimlo ei fod yn "llestr etholedig" i'r Arglwydd, ac oblegid hyny cadwodd ei lygaid yn fanwl arno fel y tyfai i fyny. Teimlodd argraffiadau crefyddol dwysion ar ei feddwl yn ieuangc, ac yr oedd ganddo adgofion tyner am ei fam yn gwneyd iddo blygu ar ei luniau wrth ei gadair fach pan fyddai ei daid a'i dad yn arwain yr addoliad teuluaidd. Breuddwydiodd am ddydd y farn cyn ei fod yn saith oed, yr hyn a'i brawychodd ef yn ddirfawr, a dilynwyd ef byth gan effeithiau y breuddwyd. Ar un Sabboth yn mis Mawrth, 1790, yr oedd yn chwareu gyda dau fachgen bychan o'i oed, a daeth geneth hynach a chryfach na hwy heibio, a churodd hwy yn dost. Yn ei gyffro o dan ergydion y ferch cyffrodd Dafydd, ac arferodd ryw lw at yr eneth; a dyna y tro cyntaf a'r tro diweddaf iddo gael ei demtio i'r pechod hwnw. Teimlodd loesion trymion yn ei gydwybod oblegid y peth, a phrydnhawn y Sabboth canlynol aeth gyda'i dad i'r Tygwyn i wrando Mr. Isaac Price yn pregethu; a rhywbryd yn nghanol y bregeth dywedai y pregethwr gyda difrifwch ac angerddoldeb ofnadwy—"Oni buasai amynedd Duw, buasit y munyd yma rhwng danedd cythreuliaid," a chlywai y bachgen Dafydd ryw lais treiddiol yn dywedyd wrtho "Ti yw y gwr." Treuliodd y pythefnos canlynol mewn chwerwder enaid mawr, hyd yr ail Sabboth ar ol hyny mewn cyfarfod gweddi yn y Tygwyn, teimlodd ei fod yn cael gorphwysfa i'w enaid blinderog a llwyth-

og, ac yn mhen deufis derbyniwyd ef yn gyflawn aelod, pan nad oedd ond un-ar-ddeg oed. Yr oedd y pryd hwnw yn adeg o ddiwygiad gwresog fel y cafodd y fraint o gychwyn ei yrfa mewn gwres crefyddol, a pharhaodd y tân sanctaidd i losgi yn ei enaid trwy ei oes hirfaith. Ni chafodd ond ychydig addysg pan yn blentyn, a hyny yn Eglwys ei blwyf genedigol—prin ddigon i'w gyfarwyddo yn elfenau cyntaf gwybodaeth. Yn fuan wedi ei dderbyn yn aelod rhoddwyd ef yn egwyddorwas gyda chrydd yn y gymydogaeth i ddysgu y gelfyddyd hono, yn yr hon, fel y dywedir, y daeth yn grefftwr medrus. Yn mhen blynyddoedd aeth i weithio i Lanymddyfri, cyn fod achos Annibynol yn y dref hono; ac arferai fyned bob Sabboth i Bentretygwyn, pellder o bedair milldir. Yn 1797 gadawodd Lanymddyfri ac aeth i sir Forganwg, a sefydlodd yn Merthyr Tydfil, lle y bu y rhan fwyaf o ddwy flynedd. Nid oedd yno yr un achos Annibynol ond Ynysgau, a Phresbyteriaid y cyfrifid hwynt y pryd hwnw; ac yr oedd y weinidogaeth yno wedi gwyro yn mhell oddiwrth yr hyn a ystyrid y wir athrawiaeth. Ond yr oedd achos wedi ei gychwyn yn y *Long Room*, o'r hwn y mae yr eglwys luosog a pharchus yn Zoar yn ddilyniad; ac a'r cyfeillion yno yr ymunodd David Williams ar ei fynediad i'r lle; ac yr oedd ganddo trwy ei oes adgofion hapus o'r tymor a dreuliodd yno. Tra yno ymroddai yn ddiwyd i weithio er cael arian i gael addysg, a threuliai bob awr a allai hebgor er casglu gwybodaeth, oblegid yr oedd ysbryd pregethu y pryd hwn lonaid ei esgyrn. Pwrcasodd yno *Corph Duwinyddiaeth* Dr. Lewis, ac amryw lyfrau da eraill. Dychwelodd adref yn 1779, ac yn mis Medi y flwyddyn hono, ar gais ei weinidog, traddododd ei bregeth gyntaf yn y Tygwyn, lle y gwelsom ef fwy nag unwaith o'r blaen. Rhoddodd y prawf cyntaf a wnaeth foddlonrwydd cyffredinol i'r rhai a'i gwrandawent fod defnydd pregethwr o radd uchel ynddo. Yr oedd Mr. Daniel Evans o'r Mynyddbach yn aros yn Llanwrtyd ar y pryd, ac wedi bod yno dros ryw yspaid, ond gan nad oedd yn gweled gobaith y rhoddid galwad iddo i fod yn gydweinidog a Mr. Isaac Price, yr hyn unwaith a ddisgwyliai, penderfynodd fyned ar daith i'r Gogledd i weled a agorai rhagluniaeth ryw ddrws iddo. Yr oedd wedi bod yno o'r blaen, ac wedi cael cymhelliad gan y cyfeillion yn Mangor i ymweled a hwy drachefn. Cymhellodd Mr. Daniel Evans ei gyfaill ieuangc, David Williams, i fyned gydag ef, a chan fod cryn gyfeillgarwch rhyngddynt, a gwraig Mr. Evans yn fodryb iddo cydsyniodd i fyned. Cychwynasant yn nechreu y flwyddyn 1800, a buont bum' Sabboth ar y daith. Byddai holl fanylion y daith hono yn ddyddorol iawn i'r genhedlaeth bresenol. Mae yn agos i bymtheng mlynedd-ar-hugain er y tro cyntaf yr adroddai Mr. Williams i ni yn ei "barlwr bach" yn Nhenyrallt, hanes y daith hono. Cawsom ganddo fyned dros rai rhanau o honi ar ol hyny, ond ymataliai yn union os gwelai ein bod yn cymeryd nodiadau o'r hyn a ddywedai. Buasai yn dda genym roddi yma ein hadgofion o hono, ond cymerai ormod o'n gofod heblaw nad yw yn hollol gydweddol a'n hamcan presenol. Gorphenwyd y daith heb unrhyw ddamwain, ac heb gael ond ychydig groesau, na cholli nemwar o gyhoeddiadau; ac wedi cael croesaw mawr yn y rhan fwyaf o fanau, a llawer iawn o flas a hwyl ar bregethu, yr hyn oedd yn bwysicach na phob peth arall. Wedi dychwelyd gartref parhaodd i ddilyn ei alwedigaeth a phregethu yn gynorthwyol; ond yr oedd awydd mawr ynddo am gael addysg, ac yr oedd pob peth wedi ei wneyd yn barod iddo fyned i'r athrofa i Wrecsam, ond aeth erfyniau a dagrau ei hen weinidog am iddo

aros yno i gydlafurio ag ef yn drech, a'r canlyniad fu iddo dderbyn galwad unol y ddwy eglwys—Llanwrtyd a Throedrhiwdalar—i fod yn gydweinidog a Mr. Isaac Price, ac urddwyd ef Awst 18fed, 1803. Teimlai ef yn ofidus trwy ei oes na chafodd fanteision athrofaol; a gwnaeth ei oreu trwy ymroddiad personol i gyflenwi y diffyg; ac oddiar brofiad drud o'r anfantais a deimlodd ef ei hun annogai bob dyn ieuangc i fynu pob manteision a allai ei gyrhaedd er ei gymhwyso i'r weinidogaeth. "Ofer," meddai un " ydyw ymdrechu dyfalu beth fuasai yr effaith arno ef ei hun, ar Gymru, ac ar y byd, pe buasai y dyn rhyfeddol hwn wedi myned am dair neu bedair blynedd i athrofa, yn lle ymsefydlu fel y darfu yn ardaloedd mynyddig ei enedigaeth. Tra y mae ei foneddigeiddrwydd fel dyn, ei rinweddau fel cristion, ei hyawdledd fel pregethwr, a'i ragoroldeb fel gweinidog, wedi bod, ac yn bod mor glodfawr, prin y gallwn anturio cyffwrdd a'r mater, gan ein bod yn teimlo yn ddibryder ei fod wedi myned i'r maes dan arweiniad neillduol Arglwydd y cynhauaf, ac wedi derbyn i raddau anarferol, yr "eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw." Nid oedd ei gyflog y flwyddyn gyntaf o'i weinidogaeth ond 15p., at yr hyn y derbyniodd rodd o 5p. oddiwrth y Trysorfwrdd Presbyteraidd. Yn mhen llai na thair blynedd wedi ei urddo priododd ag Elizabeth Davies, merch y Caerau, un o hen deuluoedd mwyaf crefyddol y wlad. Yr oedd dydd eu priodas yn ddiwrnod i'w gofio yn y wlad. Yr oedd mwy na 500 o feibion a merched wedi ymgasglu o fwy nag ugain milldir o gwmpas iddi, y rhai oll a ddygent anrhegion i'r pâr ieuangc wrth ddechreu eu byd; a chyrhaeddodd y swm a dderbyniasent fwy na 100p. Pregethodd Mr. Davies, Sardis, y tu allan i furiau y fynwent i'r dorf fawr a ddaeth yn nghyd, a phrofodd yr oedfa hono yn achubol i eneidiau. Gan nad oedd yr hyn a dderbyniai Mr. Williams oddiwrth y weinidogaeth yn ddigon i gynal teulu, cymerodd fferm, a gweithiodd yn galed arni a'i ddwylaw ei hun; a chafodd yn ei wraig nid yn unig ymgeledd gymhwys iddo ef, ond hefyd gymorth effeithiol i ddwyn teulu lluosog i fyny. Gogwyddwyd dau o'i feibion i'r weinidogaeth, sef ei fab hynaf Mr. James Williams, Albany, Hwlffordd, yr hwn a fu farw o flaen ei dad, a Mr. Morgan Williams, B.A., yr hwn sydd yn awr yn weinidog yn Awstralia. Mae ei fab arall yn amaethwr parchus yn Nhanyrallt, hen breswylfod Mr. Williams am oes hir; ac y mae ei bedair merch er's blynyddau wedi sefydlu yn y byd, tair yn Nghymru ac un yn America. Trwy eu llafur, eu gofal, a'u cynildeb, a bendith yr Arglwydd, daeth Mr. a Mrs. Williams yn gysurus arnynt yn eu hamgylchiadau; ond yr oeddynt bob amser yn garedig a llettygar, ac yn barod i bob gweithred dda. Bu farw Mrs. Williams yn mis Ionawr, 1867, ar ol byw yn hapus gyda'u gilydd am 61 o flynyddoedd, ac y mae yn ffaith nodedig mai ei chorph hi oedd y cyntaf i fyned dros drothwy eu ty yn yr yspaid hirfaith hwnw.

Ni chaniata ein terfynau i ni fyned yn fanwl dros lafur gweinidogaethol Mr. Williams, yn enwedig gan ein bod eisioes wedi cyfeirio at hyny yn hanes yr eglwysi fu dan ei ofal. Ond rhag i neb dybied mai yn y cyhoedd yr oedd ei boblogrwydd, cymerer y ffeithiau a ganlyn. Wedi ei urddo yn 1803 dechreuodd ar ei waith o ddifrif. Yn 1805 adeiladodd gapel Ebenezer, Merthyr Cynog, a bu yn cyrchu yno yr holl ffordd am 30 mlynedd. Yn y flwyddyn 1811 helaethwyd Troedrhiwdalar. Yn 1813 adeiladwyd Bethel, Glanbran, gerllaw Llanymddyfri, fel cangen o Lanwrtyd, a theithiodd yno ar bob tywydd am flynyddoedd, er fod gan-

ddo un-filldir-ar-bymtheg i Droedrhiwdalar; a chlywsom wr o'r ardal hono bum'-mlynedd-ar-hugain yn ol, yn dyweyd iddo ef ei weled yn cychwyn dros y mynyddoedd ar dywydd oer ac ystormus, y fath nad anturiasai yr un bugail i fyned allan arno, a'i fod wedi ofni lawer gwaith mai yn farw ar rai o'r mynyddoedd wedi ei gladdu yn yr eira y ceid ef. Yn 1822 adeiladwyd Beulah, ac yn 1828 adeiladwyd Moriah, Abergwesyn. Yn 1837 adeiladwyd capel newydd yn Llanwrtyd. Yn 1841 helaethwyd Beulah, ac yn 1847 adeiladwyd capel yr Olewydd. Yn 1854 ail adeiladwyd a helaethwyd Troedrhiwdalar, ac yn 1860 codwyd capel y Rhos, a bron yn ddieithriad yr oedd yr holl gapeli hyn yn rhydd o ddyled ar ddydd eu hagoriad. Yn y flwyddyn 1843 rhoddodd ofal Llanwrtyd ac Abergwesyn i fyny, gan fod maes ei lafur yn rhy eang, a chyfyngodd ei hun i Droedrhiwdalar a Beulah.

Yn 1853, ar ben haner can' mlynedd ei weinidogaeth, cynhaliwyd cyfarfod ei Jubili yn Nhroedrhiwdalar; a chyflwynwyd iddo anrheg o lyfrau gwerthfawr, gyda darlun hardd a chywir o hono ei hun ar ganfas, yr hwn a gyflwynodd yn anrheg i athrofa Aberhonddu, lle y gwelir ef etto, ac y prisir ef yn uchel. Gallem roddi adgofion difyrus am y pythefnos y bu yn eistedd am oriau bob dydd i dynu ei ddarlun, ond rhaid i ni beidio ymdroi gyda hyny er mor gryf yn y brofedigaeth. Parhaodd i weinidogaethu yn Nhroedrhiwdalar, Beulah, a'r Olewydd hyd Awst 16eg, 1866, dydd urddiad ei olynydd, pryd y cyflwynodd ei ofal i fyny; ond er iddo gyflwyno ei ofal i fyny yn ffurfiol, ac nad oedd yn derbyn dim am ei wasanaeth, etto yn rhinweddol yr oedd yn weinidog hyd ddiwedd ei oes, ac edrychai pawb ar Mr. Griffiths ag yntau fel cydweinidogion; ac yr oedd y teimladau anwylaf yn bodoli rhyngddynt fel plentyn a thad yn cydwasanaethu yn yr efengyl. Pregethai unwaith o leiaf bob Sabboth y byddai gartref yn rhyw le yn nghylch y weinidogaeth, a fynychaf ddwy waith, ac yn aml dair gwaith. Byddai yn aml oddicartref, oblegid yr oedd galw mawr am dano i bob man, ac yr oedd ysbryd pregethu mor gryf ynddo fel na allai omedd. Y Sulgwyn diweddaf y bu byw aeth yr holl ffordd o Danyrallt i Lundain ddydd Sadwrn, a nos Sadwrn yr oedd mor fywiog a bachgen yn y gyfeillach grefyddol yn Fetter Lane. Pregethodd dair gwaith y Sabboth, a dwy waith ddydd Llun, ac am yn agos i awr bob tro; a boreu dydd Mawrth yr oedd yn cychwyn tua'i gartref ac yn cyrhaedd yno yn gynar nos Fawrth. Yr oedd y Sadwrn canlynol yn myned i lawr i sir Benfro, i gymanfa leol a gynhelid yn Glandwr, Hebron, a Nebo, a dydd Mawrth dychwelodd wedi pregethu yno bum' waith drachefn. Y Sabboth diweddaf ond un y bu byw, pregethodd yn Llanfairmuallt y boreu, ac yn Cefnybedd yr hwyr, a dychwelodd adref y noson hono wedi marchogaeth pymtheg milldir. Buasai yn pregethu y Sabboth diweddaf y bu byw oni buasai i un arall ddyfod i lanw ei le. Y dydd cyn ei farwolaeth cwynai fod ychydig boen rhwng ei ysgwyddau, ac er ei fod yn well yn y prydnawn, yr oedd fel pe buasai ynddo ryw ymwybyddiaeth y buasai farw dranoeth; a phan wawriodd boreu y dydd teimlodd yn sicr fod amser ei ymddatodiad wedi dyfod. Yr oedd yn hollol ddiofn yn yr olwg ar ei ymadawiad, ac heb ddim cyffroad hunodd yn yr Iesu am dri o'r gloch prydnawn dydd Iau, Awst 20fed, 1874, yn hen ac yn gyflawn o ddyddiau yn y 96ain flwyddyn o'i oedran.

Yr oedd y dydd Mercher canlynol (y 26ain) yn ddiwrnod na bu erioed ei fath yn nghantref Buallt. Daeth yn agos i gant o weinidogion o wa-

hanol enwadau i dalu teyrnged i'w goffadwriaeth, a thyrfa fawr o bob dosbarth a gradd i anrhydeddu un fu yn aelod eglwysig am 84 mlynedd—yn bregethwr yr efengyl am 75 mlynedd, ac yn weinidog urddedig am 71 mlynedd, ac a ddisgynodd i'w fedd dan goron anrhydeddus.

Ni oddef ein terfynau i ni ymhelaethu llawer ar ei gymeriad, ond byddai yn anesgusodol ynom i beidio cyfeirio at brif linellau nodweddiad un a dreuliodd oes mor hir yn y weinidogaeth ac a gyrhaeddodd boblogrwydd cenedlaethol fel pregethwr. O ran ei ddyn oddiallan, dyn bychan crwn a chydnerth ydoedd, llydan ei ysgwyddau, o amgylchedd mawr o dan ei geseiliau. "Yr oedd mor heinif ar ei droed yn ei ddyddiau goreu fel na fedrai neb a welodd redeg mor gyflym ag ef am ganllath. Yr oedd ei ben yn arlun o brydferthwch, talcen uchel llydan yn arwyddo meddwl athrylithgar, llygaid mawrion agored, gwyneb galluog o'r mynegiant mwyaf amrywiol, trwyn cul, union, a'i flaen yn codi ychydig, gwefusau lluniaidd a thlws. Yn ei holl ysgogiadau yr oedd yn gyflym a naturiol, ac fel gwr ieuangc hyd ei ddyddiau olaf. Ni fynai fod yn faich i neb, ac ni oddefai i neb wneyd drosto yr hyn a allai wneyd ei hunan. O ran meddwl yr oedd yn fywiog, cryf, a gofalus, yn gogwyddo mwy at farddoniaeth natur nag at ei athroniaeth; neu yn hytrach gwisgai athroniaeth yn lliwiau prydferthaf barddoniaeth. Ni wyddom iddo wneyd na cherdd na chywydd yn ei fywyd, etto yr oedd ei siarad, ei bregethu, a'i fyfyrdod yn farddoniaeth fyw drwy ei oes. Yr oedd ei dymer yn siriol a'i serch yn nodedig o wresog. Gan wylltineb ei natur, digiai yn fawr a buan, a maddeuai yn fuan *os* na byddai yn amheus o fues gwrthrych ei ddigofaint."* Yr oedd yn nodedig o serchog a charedig, ac yn ei dŷ nid oedd terfyn ar ei groesawiad; a phan y deuai cyhoeddiad rhywun a fawr hoffai, mynai ei gyhoeddi ei hun, a threfnai i'w gyfarfod mewn man penodol, a mynai i'r holl wlad fod yn barod erbyn ei ddyfodiad.

Taflai ei galon i holl symudiadau ei enwad a'i wlad. Ni weithiodd neb yn fwy egniol yn y cydymdrech yn y blynyddoedd 1833-34 i dalu dyledion capeli; ac yr ydym yn meddwl mai yn ei "barlwr bach" ef yn Nhanyrallt mewn ymddiddan rhyngddo a Mr. Thomas Jones, Llangollen, y pryd hwnw, y taflwyd allan y meddylddrych cyntaf am y cydymegniad hwnw, yr hwn a roddodd y fath ymwared i luaws o eglwysi gweiniaid oeddynt ar lethu dan feichiau trymion o ddyledion. Pan ddaeth Dirwest gyntaf i Gymru, daeth ef allan yn un o'r rhai cyntaf o'i phlaid. Cyhoeddodd ddarlith hyawdl ar y mater, yr hon a derfynai gyda'r meddylddrych aruchel y byddai i'r neb a waredent y rhai a syrthient i angau gael "dawnsio ar ulw y byd gyda saint ac angylion." Teithiodd lawer yn ystod pymtheng mlynedd-ar-hugain i uchelwyliau dirwestol, lle bob amser y byddai ei bresenoldeb a'i wasanaeth yn dderbyniol fel un o wroniaid yr achos. Gydag athrofa Aberhonddu o'i symudiad o'r Drefnewydd yno, ni bu neb yn fwy cyson ar y pwyllgor, nac yn fwy egniol i dalu y ddyled, ac yn enwedig dyled y Ty cyntaf; ac nid oedd neb yn fwy parod i roddi ei gyfran er talu y gweddill o ddyled yr ail Dy. Yr oedd yn hynod o rydd at frodyr o enwadau eraill, ac yn wastad siaradai yn barchus am bawb os credai eu bod yn ddynion da yn Eglwyswyr ac Ymneillduwyr; ond ni fynai er hyny fod ei enwad ei hun ar ol mewn dim. Dywedai un offeiriad am dano, nad oedd erioed wedi arfer trin ac erlid yr Eglwys, ond ei

* *Beirniad*, Rhan LXII., tudalen 158.

fod er hyny yn ystod ei oes wedi bod yn euog o wneyd mwy nag un Eglwys yn nghylch ei weinidogaeth yn wag.

Ond fel pregethwr yr hynododd ei hun fwyaf; a phregethwr poblogaidd ydoedd yn ngwir ystyr y gair. Yr oedd yn ddarllenwr mawr, a chanddo gof da fel y gallai adrodd darnau cyfain o weithiau y Puritaniaid, ond yr oedd y cwbl ganddo mewn ffurf boblogaidd yn barod at ei wasanaeth yn y pulpud. Casglai ei wybodaeth oddiar bob maes, hen a diweddar, mewn rhyddiaeth a barddoniaeth, cysegredig a chyffredinol; ond medrai wahaniaethu y pethau sydd a gwahaniaeth rhyngddynt a throi o'r neilldu bob peth, os na thybiai y byddent o wasanaeth iddo yn y pulpud. Am dymor maith Stephen Charnock oedd ei hoff awdwr, a gwnaeth ei holl waith yn eiddo iddo ei hun. Yr oedd yn gyfarwydd yn ngweithiau Dr. Owen, a phan y daeth golygiadau Andrew Fuller a Dr. Edward Williams i dynu sylw gwnaeth ei hun yn gydnabyddus ynddynt; ac yr oedd yn eu mawr gymeradwyo, ac ni phetrusai eu pregethu; ond yr oedd ei wres a'i boblogrwydd fel pregethwr yn peri ei fod yn gallu gwneyd hyny heb fod yn agored i'r un ymosodiadau arno, ag a fu ar rai o'i gydoeswyr. Nid am ei fod ef mewn un modd yn dirgelu, ond am fod ei ddawn iraidd a thanllyd yn peri ei fod yn gallu rhoddi gwedd mwy efengylaidd, a llai dadleugar arnynt nag a roddid gan rai o'i frodyr. Myfyriai ei bregethau yn dda, ac yr oedynt bob amser yn cynwys athrawiaeth bur a sylweddol; a dichon mai efe oedd y cyntaf o bregethwyr ei enwad yn Nghymru a godwyd i roddi gwedd boblogaidd i bregethu athrawiaethol. Yn aml yr oedd yr athrawiaethwyr cryfion, yn sychion iawn, a'r pregethwyr hwyliog yn cael eu cyfrif yn fas ac arwynebol; ond yn Mr. Williams cyfunwyd yr athrawiaethwr cryf a'r pregethwr hwyliog. Byddai yn sicr, i ba le bynag yr âi, o wneyd rhyw gyfeiriadau a ddihunai adgofion tyner, ac a gyffyrddai a theimladau ei wrandawyr yr hyn a fyddai yn help mawr iddo ennill eu serch; ac yr oedd ei adnabyddiaeth o ddynion, a'i gof da yn help mawr i hyny.

Ymgododd i boblogrwydd mawr fel pregethwr yn foreu yn ei oes, a daliodd ei dir gyda thair cenhedlaeth olynol o brif bregethwyr ei genedl. Crybwyllir am rai oedfaon nodedig a gafodd yn ei oes. Dywedir ei fod mewn cymanfa yn rhywle yn sir Aberteifi—Cilcenin os na chamhysbyswyd ni—ac yr oedd y nos o'r blaen yn llettya mewn palasdy tra chyfrifol gyda dau hen weinidog. Boreu dranoeth yr oedd yn fawr ei helynt yn nghylch y ceffylau, ac yn myned i mewn ac allan i weled a oeddynt yn cael ymgeledd. Tybiodd gwr y ty wrth weled ei brysurdeb mai gwas i un o'r ddau hen weinidog ydoedd, wedi dyfod gyda hwy i ofalu am eu hanifeiliaid, ac oblegid hyny fel gwas yr ymddygid tuag ato, a gofynodd iddynt o'r diwedd, "Gwas i ba un o honoch yw y gwr *bach* yna?" "Nid *gwas* yr un o honom ond ein *meistr* ni ein dau," atebai un o honynt. Boreu dranoeth rhoddwyd Mr Williams i bregethu yn gyntaf, a thorodd allan yn orfoledd mor fawr fel na chafodd neb arall bregethu y boreu hwnw. Coffeir am ryw oedfa anarferol a gafodd yn nghymanfa Maenclochog, yn y flwyddyn 1819. Pregethai ar adgyfodiad y meirw; a chydnabyddai ef ei hun fod hono yn un o'r rhai hynotaf, os nad yr hynotaf a gafodd yn ei oes. Clywsom ef yn pregethu lawer gwaith mewn cymanfaoedd yn yr awyr agored, gyda dylanwad a nerth mawr; ond nid gyda'r un llewyrch anorchfygol ag a ddilynai ei weinidogaeth weithiau mewn cyfnod boreuach o'i oes. Yn nghymanfa Bwlchnewydd yn haf 1841, y

clywsom ef gyntaf erioed, yn pregethu ar ddyffryn Ezeciel, a'r ddwy weinidogaeth a ddefnyddiwyd, ac yr oedd yn pregethu yn rhagorol; ond y peth goreu a wnaeth yn y gymanfa hono oedd adrodd hanes y diwygiad yn y gynhadledd y dydd blaenorol. Aeth dros hanes ei doriad allan—yr effeithiau grymus oedd yn cydfyned ag ef—y lluaws oedd wedi dychwelyd at grefydd—yr holl Sabbothau yr ataliwyd ef i bregethu gan deimladau gorfoleddus y bobl—a'r Sabboth nodedig yn Nhroedrhiwdalar pan y rhoddodd a'r "llaw hon" meddai, gan estyn ei law allan, ddeheulaw cymdeithas i chwechugain-a-thri. Yr oedd ei adroddiad cynhyrfus ac effeithiol fel llifeiriant yn ysgubo pob peth o'i flaen; a chofia pawb sydd yn fyw o'r rhai oedd yno mai cynhadledd y gymanfa hono oedd ei gogoniant. Nid awn i gynyg tynu darlun o hono fel pregethwr, ond rhoddwn i mewn yma y darlun a dynwyd gan Ieuan Gwynedd o hono ar ol ei wrando yn pregethu yn Nolgellau, a'r hwn a ymddangosodd mewn ysgrif alluog ar gymeriad Mr. Williams a gyhoeddwyd yn yr *Adolygydd*, yn nglyn a hanes "Ymneillduaeth yn Llanwrtyd a Throedrhiwdalar."*

"Y mae llawer blwyddyn bellach (hyny yw, o'n bywyd ni) er pan welsom Mr. Williams gyntaf. Yr oedd i bregethu mewn tref ar ganol dydd, ar un o'i wibdeithiau cymanfaol. Yr oedd ei enw mor hysbys i ni ag enw Dafydd Rhobert, ein cymydog nesaf, a theithiasom rai milldiroedd i'w weled a'i glywed. Cyn dechreu y cwrdd, gwelem ddyn byr, gewynog, corphorol, cadarn, a het lwyd a galarwê arni am ei ben, cot a gwasgod ddu, clos melfed du, a hosanau bach duon, yn myned tua'r addoldy. Yr oedd yn un o'r troedwyr mwyaf heinyf a welsom erioed. Ei gamau oeddynt fyr, chwyrn, a chryno. Wedi i wr arall golli llawer o chwys a tharth wrth bregethu o'i flaen, y mae yn esgyn grisiau y pulpud bron ar redeg. Gallesid meddwl wrth edrych arno yn ystod y bregeth gyntaf ei fod yn yr ing meddwl dwysaf. Yr oedd pryder poenus i'w weled yn ei wedd, a'r llygaid bywiog yn treiglo mewn anesmwythder diorphwys. Yr oedd adroddiad emyn byr fel yn lliniaru ychydig ar ei boenau. Y mae ei ddwyfron yn eang ac agored, a digon o le ynddi i feginau yr ysgyfaint i chwareu yn ddirwystr. Ei wddf sydd fyr, ei brydweddau yn dywyll, a'r gwallt y pryd hwnw yn dduach nag yn awr. Mae ei dalcen yn grwn a llawn, ei drwyn yn cyfodi ychydig yn y blaen, a chyhyrau ei wyneb fel llinynau ystwyth, yn hollol dan lywodraeth yr ewyllys. Ei wefusau ydynt o dewder canolig, ac ymddangosant fel wedi eu gwneyd o bwrpas i siarad. Gallid meddwl eu bod fel cloriannau yn pwyso ei frawddegau. Dyma yr olwg a gaem arno ar y pryd, ond yr oedd ei agwedd yn boenus o ddifrifol. Nid oedd yn ymddangos fel dyn a chanddo genadwri ddifrifol at eraill yn unig, ond ymddangosai mewn ingoedd dirdynol ei hunan. Parhaodd yr olwg hon trwy y canu, ac yna darllenodd y testyn mewn llais araf, ymchwyddol, a difrifol,—'Crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad yw hyn, ymweled a'r amddifad a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd.' Bob yn ronyn ymddangosai baich y pregethwr yn ysgafnhau, yr oedd ei lygaid yn sirioli, ei ymadrodd yn cyflymu, ei lais yn chwyddo, ei law dde yn cael ei thynu o goryn ei ben dros ei iâd i lawr; ac yn mhen ychydig yr oedd ei ddwylaw yn brysur, brysur gyda'r un gwasanaeth. Yr oedd gwahanol grefyddau y byd yn cael eu pwyso, eu

* *Adolygydd*. Cyfrol I., 1851. Tudalen 161.

mesur, a'u cymharu yn eu haflendid, a'u llygredigaeth, a'u creulondeb a'r grefydd bur, a dihalogedig, dyner, a difrycheulyd y soniai am dani. Yr oedd y gwrandawyr yn sirioli, ac er nad oedd y lle yn nodedig am Amenau, yr oedd llawer un yn llithro allan nes yr oedd y pregethwr yn gwaeddi am Awdwr y grefydd a ganmolai. '*Parch iddo*,' '*Bendigedig fo'i enw*,' a '*myrdd o goronau fo ar ei ben*.' Ac wedi dwyn pawb i hwyl yn gystal ag ef ei hun, mae yr areithiwr hyawdl yn tewi, gan adael arogl esmwyth ar ei ol i lanw y lle."

Ond daeth ei oes faith yntau i'r terfyn. Rhifwyd ei flynyddoedd, er iddo o gryfder gyrhaedd yn agos i fod yn fab can' mlwydd. Mae ei dafod cyflym wedi ei gloi gan angau, a ffrydlif lifeiriol ei areithyddiaeth ddiorphwys wedi llonyddu, ac yntau wedi dyfod mewn "henaint i'r bedd, fel y cyfyd ysgafn o yd yn ei hamser." Boed heddwch i'w weddillion cysegredig yn y llanerch dawel yn hen fynwent neillduedig Troedrhiwdalar; ac arosed y grefydd sydd wedi bod yn etifeddiaeth y teulu er's oesau, yn ei hiliogaeth o genhedlaeth i genhedlaeth.

## BEULAH.

Mae yr addoldy hwn mewn ardal brydferth iawn tua thair milldir i'r gorllewin o Droedrhiwdalar, a thua phump i'r dwyrain o Lanwrtyd. Aelodau o Droedrhiwdalar agos oll ddarfu ddechreu yr achos yma, ond dichon fod hefyd ychydig o aelodau Llanwrtyd yn uno a hwynt yn ffurfiad yr eglwys. Adeiladwyd y capel cyntaf yma yn y flwyddyn 1822, ac ail adeiladwyd ef yn y flwyddyn 1841, pryd yr helaethwyd ef yn fawr. Gan mai dan yr un weinidogaeth a Throedrhiwdalar y mae y lle hwn wedi bod o sefydliad cyntaf yr achos hyd yn bresenol, nid oes genym nemawr i'w ychwanegu at yr hanes a roddasom am y fam eglwys. Yr oedd yr achos yma o'i ddechreuad yn gymharol gryf, gan fod yr eglwys ar ei ffurfiad yn cael ei gwneyd i fyny o rai ugeiniau o aelodau profiadol a gwresog o Droedrhiwdalar. Yn mysg y ffyddloniaid a fuont yma yn ddefnyddiol er dechreuad yr achos hyd yn ddiweddar, gellir enwi y rhai canlynol:—Isaac Bevan o'r Argoed, yr hwn a fu farw Ebrill 10fed, 1851. James Davies o'r Caerau, oedd frawd i Mrs. Williams, gwraig yr hybarch David Williams, y gweinidog, ac fel hithau yn nodedig am ei fwyneidd-dra a'i ffyddlondeb. Bu yn aelod dychlynaidd am bump-a-deugain o flynyddau, ac yn ddiacon defnyddiol am y rhan fwyaf o'r blynyddoedd hyny. Mae ei goffadwriaeth yn anwyl yn yr holl gymydogaeth. Ystyria llawer o bobl Beulah iddynt gael braint fawr wrth ymweled ag ef ar ei wely angau gan mor nefolaidd a gorfoleddus y disgynai i lawr i'r afon. Bu farw Mehefin 20fed, 1859, yn fuan wedi i'r diwygiad nerthol dori allan yn yr eglwys, ac felly aeth adref yn nghanol gwres y diwygiad.

Y mae enw Rees Price, Penrhiwbrefan, yn anwyl gan bawb a'i hadwaenai. Bu yn ddiacon defnyddiol am flynyddau. Cofir hyd y dydd hwn gan lawer am ei gynghorion tadol a'i weddiau gafaelgar. Bu farw Mehefin 21ain, 1851, yn 62 oed. Bu Daniel Jones, Llwyncus, hefyd yn gwasanaethu swydd diacon yn dda yma, ac yn arweinydd y canu am flynyddau lawer. Yr oedd ef yn deall cerddoriaeth yn rhagorol, ac yr

oedd ef a David Price o Droedrhiwdalar, yr hwn sydd etto yn fyw, ddeugain mlynedd yn ol, y canwyr goreu yn yr holl wlad. Buont yn foddion i roddi bywyd a threfn i gerddoriaeth y cysegr yn yr ardaloedd hyn. Y mae teulu Llwyncus byth yn enwog fel cerddorion. Mab i Daniel Jones yw D. Buallt Jones (Alaw Buallt), yr hwn sydd yn un o'r cerddorion medrusaf yn y Dywysogaeth. Bu Daniel Jones farw yn gysurus Mai 22ain, 1858, yn 48 oed. Dywedai ychydig fynudau cyn marw wrth bawb yn yr ystafell am fod yn ddistaw, ei fod ef yn clywed rhyw ganu nefolaidd iawn. Fel hyn aeth adref yn siriol i wlad y gân dragywyddol. Bu John Jones, Glancamarch, brawd Daniel Jones, yn aelod ffyddlon am flynyddau. Bu farw Rhagfyr 14eg, 1865, yn 64 oed. Mae John Powell, Maesllech, hefyd yn deilwng o'i goffhau. Yn Llanwrtyd y derbyniwyd ac y dewiswyd ef yn ddiacon, a phan y symudodd i ardal Beulah derbyniwyd ef yma ar unwaith fel aelod a diacon. Bu yn ffyddlon iawn nes i'w iechyd ballu. Bu farw, ar ol amryw fisoedd o gystudd, Mawrth 24ain, 1874. Yn mynwent Beulah y claddwyd y ffyddloniaid hyn oll. Heblaw y rhai uchod y mae llawer o wyr a gwragedd rhagorol wedi bod yn dal cysylltiad a'r achos hwn o bryd i bryd, y rhai na oddefa ein terfynau i ni i'w henwi.

Diaconiaid presenol yr eglwys ydynt Evan Williams, Berthbu; Thomas Davies o'r Caerau, mab James Davies a enwyd uchod, ac Evan Powell, Llwynhowell. Thomas Jones, Tynewydd, yw ysgrifenydd yr eglwys er's blynyddau bellach.

Yr unig bregethwr a gyfodwyd yma yw Evan Price. Wedi iddo fod am rai blynyddau yn athrofa Aberhonddu ymfudodd i'r America, ac yn fuan dychwelodd i'r wlad hon. Aeth drachefn allan ar ryw neges fydol i Russia, a bu farw yno yn 1872. Lled anwastad a helbulus fu ei fywyd cyhoeddus.

Mae agwedd hyfryd ar yr achos yn Beulah, a'r eglwys agos cyn gryfed a'r fam eglwys yn Nhroedrhiwdalar.

## YR OLEWYDD.

Capel bychan tlws, yn cael ei amgylchu gan fynwent hardd, yw yr Olewydd, yn ymyl y ffordd sydd yn arwain o Lanwrtyd a Llangamarch i Lanfairmuallt. Y mae o fewn haner milldir i orsaf y Garth, a thua thair milldir i'r de o Droedrhiwdalar. Cangen o Droedrhiwdalar yw yr eglwys hon. Adeiladwyd y capel a ffurfiwyd yr eglwys yma yn 1847. Mae yr aelodau o dri i bedwar-ugain o rif. Bu yr hen frawd ffyddlon James Jones, Dolderwydd, yn dyfod yma o Droedrhiwdalar am dymor i wasanaethu fel diacon hyd nes i'r eglwys ieuangc ddewis swyddogion o'u plith eu hunain. Y diacon cyntaf a ddewiswyd yma oedd David Pugh o'r Goetre, mab-yn-nghyfraith James Jones. Yr oedd David Pugh yn un o blant y diwygiad tanllyd fu yn Nhroedrhiwdalar yn 1840, a pharhaodd ef yn angerdd ei wres crefyddol hyd derfyn ei oes. Gorphenodd ei yrfa Ebrill 4ydd, 1870, yn 54 oed, a chladdwyd ef yn mynwent yr Olewydd. Y diaconiaid presenol ydynt Evan Jones, Llwynypiod, a Thomas Jones, Bronyrefail.

Yr unig un a gyfodwyd yma i bregethu yw Thomas Jones y Goetre. Derbyniwyd ef yn aelod pan yn dair-ar-ddeg oed, ac edrychai ei holl gyd-

nabod arno fel bachgenyn crefyddol iawn. Pan yr oedd tua 26 oed dechreuodd bregethu. Yn fuan wedi hyny aeth i ysgol i Aberhonddu, ac yn mhen ychydig amser derbyniwyd ef i'r athrofa. Wedi bod yno am ddwy flynedd gwaelodd ei iechyd fel y bu raid iddo ddyfod adref, lle y bu farw Hydref 8fed, 1868, yn 31 oed. Claddwyd ef yn nghladdfa yr Olewydd.

Nid yw yr eglwys hon ond un gymharol fechan, ac nis gall lai na bod felly, gan nad yw poblogaeth yr ardal ond ychydig a gwasgaredig, a bod cynnulleidfaoedd Beulah a Throedrhiwdalar yn cyfyngu ei chylch ar y gorllewin a'r gogledd, cynnulleidfa Cefnybedd ar y dwyrain, a Mynydd Epynt ar y de. Mae yma amryw ddynion gwresog a ffyddlon yn perthyn i'r achos, a phob peth yn cael ei ddwyn yn mlaen yma yn drefnus a thangnefeddus. Mae yr achos hwn o'r dechreuad dan yr un weinidogaeth a Throedrhiwdalar a Beulah, ac yn debyg o barhau felly, gan nad yw yr eglwys yn ddigon cref i gynal gweinidog iddi ei hun, ac nad oes un gynnulleidfa arall yn ddigon agos i ymuno a hi i gydgynal gweinidog.

## MERTHYR CYNOG.

Mae yn ymddangos fod crefydd efengylaidd wedi cael croesawiad gan rai yn y plwyf hwn er dyddiau boreuaf Ymneillduaeth yn ein gwlad. Nid oedd lle genedigaeth John Penry yn mhell oddiyma, ac y mae agos yn sicr iddo bregethu llawer yn yr ardaloedd hyn. Llafuriodd Mr. Henry Maurice yma wedi hyny wrth wasanaethu yr eglwys yn sir Frycheiniog; a chawn fod rhai oddiyma yn cyrchu i Bailihalog a Throedrhiwdalar yn mhell cyn ffurfio eglwys yma. Cyn diwedd y ganrif ddiweddaf daeth Morgan ac Elizabeth Prosser, dau o aelodau Troedrhiwdalar, i fyw i le a elwir Tyhir, a gwahoddasant Mr. Isaac Price i bregethu i'w ty. Yr oedd hyny tua'r flwyddyn 1792. Dilynwyd ef gan amryw bregethwyr eraill, a bu yma adfywiad crefyddol grymus fel y derbyniwyd amryw oddiyma yn aelodau yn Nhroedrhiwdalar. Yn fuan ffurfiwyd hwy yn eglwys yn y Mynachdy, ac wedi urddiad Mr. D. Williams yn gydweinidog a Mr. Price cymerodd ef ofal neillduol o'r gangen fechan yma. Yn fuan cafwyd tir yn rhad at adeiladu gan Mr. W. Williams, Pantycelyn, Merthyr Cynog, tad Mr. Howell Williams wedi hyny o Lanelli. Adeiladwyd yma gapel, yr hwn a alwyd Ebenezer, ac agorwyd ef yn 1805. Bu y lle dan ofal Mr. Williams am ddeng-mlynedd-ar-hugain, a chyrchai yma yn rheolaidd er pelled ei ffordd, ac yr oedd nifer yr eglwys ar derfyn ei weinidogaeth yn 90. Yn 1835 rhoddwyd galwad i Mr. Lewis Lewis, Henryd, sir Gaernarfon, ond wedi bod yma bedair blynedd ymadawodd ac ymunodd a'r Bedyddwyr. Bu Mr. Griffith, Cerigcadarn, yn dyfod yma am ychydig ar ol hyny, hyd nes yn niwedd 1840 y rhoddwyd galwad i Mr. Thomas Jones, Glanygors, fel ei gelwid, yr hwn a fuasai am flynyddoedd yn bregethwr gyda'r Methodistiaid. Urddwyd ef yma Chwefror 25ain, 1841. Yn ein byr grybwylliad am dano yn nglyn a hanes Cwmbach, Cyf. II., tudalen 339, gwnaethom gamgymeriad trwy ddyweyd mai un genedigol o sir Frycheiniog ydoedd. O sir Aberteifi y daeth i sir Frycheiniog, ac un genedigol o'r sir hono ydoedd. Bu yn dra defnyddiol yma hyd 1844, pryd y symudodd i Adulam, Tredegar. Yn fuan wedi ei ymadawiad rhoddwyd galwad i Mr. Morgan Morgans, aelod a phregethwr perthynol i Droedrhiwdalar, ac urddwyd ef yma Medi 25ain, 1844, a llafuriodd yma

gyda chymeradwyaeth a pharch hyd ei farwolaeth Chwefror 12fed, 1862. Yn fuan rhoddwyd galwad i Mr. John Evan Evans, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef yma Hydref 29ain, 1862, ond ni bu ei arosiad yma ond byr. Yn 1865 rhoddwyd galwad i Mr. John Harries Davies, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, ond wedi bod yma rai blynyddoedd ymadawodd wedi peri gwaradwydd mawr i'r achos. Yn nechreu y flwyddyn 1869 rhoddwyd galwad i Mr. Morgan Evans, aelod a phregethwr cynorthwyol yn Nhroedrhiwdalar, ac urddwyd ef Mehefin 2il, yr un flwyddyn; a bu yma am dair blynedd, nes y derbyniodd alwad o Penarth, sir Drefaldwyn, ac y symudodd yno. Cyn hir rhoddwyd galwad i Mr. Henry Lewis, yr hwn flynyddoedd cyn hyny a fuasai yn weinidog yn Llanidloes, ac efe yw y gweinidog yma yn bresenol. Adeiladwyd yma gapel newydd hardd ar safle yr hen gapel, ac agorwyd ef yn Mehefin, 1872. Nid ydym yn gwybod dim am sefyllfa yr achos yma yn bresenol, gan nad anfonwyd i ni unrhyw hysbysiaeth yn ei gylch gan neb o'r ardal, ac i Mr. W. C. Jones, Llandilo, yr ydym yn ddyledus am yr ychydig ffeithiau hyn. Nis gwyddom ond am y pump canlynol a godwyd yma i bregethu.

Howell Williams. Gweler ei hanes ef yn nglyn a Chapel Als, Llanelli.

Roger Price, yr hwn sydd yn genhadwr yn Affrica.

William Davies, yr hwn sydd wedi encilio i'r Eglwys Sefydledig.

John Price. Gweler ei hanes ef yn nglyn a'r Trallwm, sir Drefaldwyn.

William C. Jones, yr hwn a urddwyd yn ddiweddar yn Maenclochog a Llandilo, sir Benfro.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Morgan Morgan. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1814, mewn lle a elwir Blaencwm, yn mhlwyf Abergwesyn. Derbyniwyd ef yn aelod yn Nhroedrhiwdalar yn adeg y diwygiad grymus yn 1840, ac yn fuan dechreuodd bregethu. Ar ffurfiad yr achos yn Beulah ymunodd a'r eglwys yno, a daeth yn weithgar gyda holl ranau crefydd. Yr oedd yn nodedig o afaelgar fel gweddiwr, ac yn fywiog ac egniol fel pregethwr, a'i dduwioldeb yn ddiamheuol yn ngolwg pawb. Urddwyd ef yn weinidog i'r eglwys yn Merthyr Cynog, Medi 25ain, 1844, lle y llafuriodd yn ddiwyd am ddeunaw mlynedd, a chyda mesur o lwyddiant. Ni chafodd ond byr gystudd, yr hwn a ddygwyd oddiamgylch oblegid cael anwyd trwm, a bu farw Chwefror 12fed, 1862, yn 48 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Ebenezer, a daeth lluaws mawr yn nghyd ar yr achlysur i dalu eu teyrnged i'w dduwioldeb, ei sel, a'i ymroddiad i'r gwaith.

## BETHANIA.

Mae y lle hwn ar ochr y brif ffordd o Aberhonddu i Ferthyr Cynog, ac o fewn llai na thair milldir i gapel Ebenezer. Gelwir hwy y capel uchaf a'r capel isaf. Adeiladwyd hwn yn y flwyddyn 1841, ond pregethid am flynyddau cyn hyny yn Mhorthmaendu. Cafwyd tir at adeiladu gan un Mr. Dillwyn, a chydymroddodd yr holl ardal yn y gwaith o gludo y defnyddiau ato, a chyfranu i dalu am dano. Ffurfiwyd yma eglwys yn ddioed wedi cael y capel yn barod, ond y mae o'r dechreuad wedi bod mewn cysylltiad ag Ebenezer, ac o dan yr un weinidogaeth.

## LLANWRTHWL.

Dechreuwyd yr achos yma gan Mr. D. Evans, Rhaiadr, a'i fab Mr. Thomas Evans, yr hwn oedd wedi ei urddo yn Carmel, sir Faesyfed. Adeiladwyd y capel yn 1832, a bu y lle dan ofal Mr. T. Evans mewn cysylltiad a Carmel hyd ei farwolaeth, ac felly y mae yn parhau dan ofal ei olynydd Mr. J. W. Jones, yr hwn a urddwyd Chwefror 24ain, 1870. Mae codiad y bont dros yr afon Wy wedi bod yn gyfleusdra mawr i breswylwyr yr ochr arall i'r afon i gyrchu yma. Codwyd yma ddau bregethwr, sef

Evan Lewis, yr hwn a urddwyd yn Nolyddelen, ac sydd yn awr yn Awstralia.

David Jenkyns, yr hwn a urddwyd yn Llanidloes, ac a ymfudodd i America, ac a fu farw yno.

---

Wedi yr hanes cyflawn a helaeth a roddasom o'r rhan fwyaf o eglwysi y sir yma, yn enwedig yr eglwysi hynaf, diangenrhaid i ni ychwanegu llawer mewn ffordd o adolygiad cyffredinol. Fel y gwelwyd, cafodd Ymneillduaeth afael gref yn foreu yn y sir hon, ac y mae yma amryw eglwysi a gasglwyd trwy lafur y tadau Annghydffurfiol, a rhai yn ol pob tebygolrwydd cyn hyny. Nid yw y sir yn lluosog ei phoblogaeth ac oblegid hyny nid yw Annibyniaeth mor gryf yma ac mewn rhai siroedd, ond y mae yma lawer o achosion cryfion a dylanwadol, er o bosibl y gallasai yr enwad gyda gweithgarwch priodol fod wedi cymeryd meddiant cyflawnach o rai parthau o honi.

Mae yn deilwng o sylw fod eglwysi y sir hon wedi glynu yn ffyddlon wrth symlrwydd yr efengyl am fwy na dau can' mlynedd, ac wedi "dala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur" yn ddisigl, pan y llygrwyd lluaws o eglwysi mewn siroedd eraill. Nid yw y bobl, a'u cymeryd yn gyffredinol, yn hawdd eu cyffroi a'u harwain gan bob awel dysgeidiaeth; ac yn yr eglwysi hyny lle mae gwres teimlad crefyddol yn uchel, yr oedd yno ddigon o ddiogelwch rhag myned ar gyfeiliorn oddiwrth y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Mae gwyrni mewn barn yn lled sicr o ddilyn ffurfioldeb ac oerfelgarwch, ac y mae yr eglwysi hyny gadwodd dân crefydd ar eu haelwydydd, wedi cadw hefyd y gwirionedd yn ei burdeb; ac y mae yn sicr fod teimlad crefyddol dwfn yn llawer mwy effeithiol i ddiogelu purdeb yr athrawiaeth nag ydyw y dadleuon mwyaf cywrain o'u plaid, heb brofiad personol o'i dylanwad.

Ar y cyfan mwynhaodd eglwysi y sir hon heddwch mawr. Nid ydym wrth hyny yn dyweyd na bu anghydwelediad mewn llawer o honynt ar lawer achlysur, yr hyn mewn engraifft neu ddwy a dorodd allan yn

anghydfod cyhoeddus; ond nid oes yma yr ymraniadau a'r rhwygiadau wedi bod, fel y mae yn ofidus meddwl, a fu mewn rhai siroedd, y rhai y mae eu heffeithiau yn weledig o genhedlaeth i genhedlaeth. Gwaredwyd y sir hon i raddau dymunol rhag hyny, ac er na bu cyfundeb y sir yn un cyfnod yn ei hanes yn nodedig am ei drefnusrwydd, etto y mae yma lawn gymaint o frawdgarwch wedi bod, a pharodrwydd i gydweithredu ag a geir yn y siroedd hyny sydd wedi cyrhaedd yn nes at berffeithrwydd mewn cyfansoddiad a rheoleidd-dra. Mae y weinidogaeth yma gan mwyaf wedi bod yn lled sefydlog, a rhai wedi cael tymor hir i wasanaethu i'r un bobl. Cafwyd peth trallod mewn rhai manau oddiwrth weinidogion anfucheddol, ond nid oeddynt ond ychydig; ac wedi i'w gwir gymeriad ddyfod i'r golwg, ni ddangosai yr eglwysi awydd i ymlynu wrthynt. Noddi dynion llygredig er gwybod eu bod felly, wedi un ac ail rybudd, sydd yn dangos eglwysi wedi myned i stad isel mewn crefydd, a hyny sydd yn peri i'r byd oddiallan i synied yn isel am danynt.

Mae athrofa Aberhonddu wedi bod yn y sir hon bellach am fwy na phymtheng-mlynedd-ar-hugain, a'r athrawon a'r myfyrwyr bob amser yn barod i wasanaethu yr eglwysi pa bryd bynag y gelwid am eu gwasanaeth. Mae yma do ar ol to o fyfyrwyr wedi bod y rhai y mae eu coffadwriaeth yn barchus yn y sir, yn enwedig yn yr eglwysi agosaf i'r dref; ac y mae yr athrawon a'r myfyrwyr presenol yn sefyll mor uchel yn ngolwg yr eglwysi ag unrhyw do a fu o'u blaen; a'u gweinidogaeth yn llawn mor gymeradwy.

Mae yn deilwng o sylw mai o'r sir hon y cychwynodd y diwygiwr tanllyd Howell Harries allan, ac o ymyl Tredwstan, un o eglwysi hynaf, os nad yr hynaf oll, o eglwysi y sir. Yr oedd Howell Harries yn dra chydnabyddus a rhai o aelodau yr eglwys hono, a dywed mai yr Ymneillduwyr hyny yn unig oedd yn meddwl am addoli Duw yn eu teuluoedd ar ei gychwyniad cyntaf ef allan; a diau iddo gael llawer o help oddiwrth y rhai mwyaf gwresog o honynt, er i eraill bellhau oddiwrtho oblegid rhyw bethau a dybient hwy ynddo yn afreoleiddiwch. Mae yn anrhydedd i sir Frycheiniog, yn ychwanegol at luaws mawr eraill, mai o honi hi yr hanodd y tri wyr enwog John Penry, Howell Harries, a Dafydd Williams, Llanwrtyd, y rhai y cyd-ddisgyna eu henwau a'u coffadwriaeth yn fendigedig i'r oesau a ddeuant; ac na phalled i'r weinidogaeth yn eglwysi y sir, gyda phob enwad, o oes i oes, olynwyr teilwng o'r "cawri fu wyr enwog gynt."

# YR EGLWYSI CYMREIG YN LLOEGR.

---

Er mai "HANES EGLWYSI ANNIBYNOL CYMRU" a gyhoeddwn, etto teimlwn, a gwyddom mai felly y teimla ein darllenwyr hefyd, na byddai y llyfr yn gyflawn heb gynwys yr eglwysi Cymreig yn Lloegr. Mae yn ffaith nodedig fod y Cymry crefyddol i ba le bynag y gwasgerir hwy, os bydd yno ychydig nifer o honynt, yn ymwasgu at eu gilydd ac yn dechreu cynal moddion crefyddol; ac y mae yn anrhydedd iddynt na bu raid sefydlu unrhyw genhadaeth er anfon pregethwyr atynt, ond eu bod yn gwneyd y goreu o'r doniau a fyddai yn eu plith hyd nes y byddai amgylchiadau yn caniatau iddynt dalu treuliau rhai i ddyfod i'w gwasanaethu. Mae yn awr yn wasgaredig ar hyd Loegr bump-ar-hugain o'r achosion hyn; ac er fod llawer o honynt yn fychain a gweiniaid, y mae eraill yn lluosog a chryfion; ac nis gellir gwybod hyd y dydd y datguddir pob peth pa faint o wasanaeth a wnaethant i gadw pobl ieuaingc ac eraill rhag myned ar gyfeiliorn, ac anghofio Duw eu tadau wedi myned i dir estronol. Mae yr achosion hyn yn ymddibynu am eu parhad agos yn gwbl ar y dyfodiaid o Gymru, oblegid fod y plant a fegir yn Lloegr yn tyfu i fyny agos i gyd yn anwybodus o iaith eu rhieni; er fod hefyd yn yr eglwysi rai o'n haelodau goreu wedi eu geni a'u magu yn Lloegr, ac yn medru Cymraeg yn bur a dilwgr, ond eithriadau ydynt. Mae y mwyafrif mawr o aelodau yr eglwysi Cymreig yn Lloegr wedi eu geni a'u magu yn Nghymru, ac y mae eu cydymdeimlad yn gryf a phob peth cysylltiedig a chrefydd eu mam-wlad. Mae yr eglwysi hyn sydd yn wasgaredig, a llawer o honynt yn fychain a gweiniaid, yn meddu hawl ar gydymdeimlad a gweddiau holl eglwysi Cymru yn eu hymdrech i gynal gair y bywyd yn ngwyneb llawer o anfanteision, ac i gadw drws agored i dderbyn ieuengctyd Cymru, ac i fod yn rhyw help i'w cadw rhag cwbl anghofio Duw eu tadau mewn tir estronol.

## SOUTHWARK BRIDGE ROAD, LLUNDAIN.

Mae yn dra thebygol i'r Meistri Howell Harries, Daniel Rowlands, Howell Davies, a gweinidogion Cymreig eraill, ar eu hymweliadau achlysurol a Llundain yn amser Whitefield, bregethu yn y Gymraeg i'w cydgenedl yn y brif ddinas yn awr a phryd arall; ond nid ymddengys i wasanaeth Cymreig rheolaidd a chyson gael ei osod i fyny, mewn un ran o'r brif ddinas, gan unrhyw enwad crefyddol am flynyddau wedi hyny. Dywedir i wasanaeth Cymreig gael ei gychwyn yn *Cock Lane*, *Smithfield*, yn y flwyddyn 1774, yn benaf trwy lafur un Edward Jones, yr hwn a fuasai yn aelod, ac o bosibl yn bregethwr cynorthwyol, yn Nhabernacl Whitefield. Ymddengys i'r achos hwn gael ei gynal yn mlaen yno hyd y flwyddyn 1785, pryd yr adeilwyd capel Cymreig yn *Wilderness Row*. Cymysgedd o Fethodistiaid ac Annibynwyr oedd y gynnulleidfa hon o'r dechreuad, ond dynion o olygiadau Methodistaidd yn benaf a flaenorent ynddi. Yn fuan wedi 1785 gosodwyd i fyny wasanaeth Cymreig yn *Gravel Lane*, yn y *Borough*, yr hwn oedd yn cael ei ystyried fel cangen o'r achos yn Wilderness Row. Tua y flwyddyn 1792 daeth Edward Francis, gynt gweinidog y New Inn, Mynwy, i Lundain, a gosododd i fyny achos Cymreig yn Lambeth, yn agos i balas yr Archesgob. Achos Annibynol hollol oedd hwn, tra yr oedd yr achosion yn Wilderness Row a Gravel Lane yn cael eu llywodraethu yn ol y drefn Fethodistaidd, er fod amryw Annibynwyr yn aelodau yno. Byddai y cyfeillion yn y tri lle yn cydweithredu a'u gilydd, a'r pregethwyr yn gweinyddu yn y naill le fel y llall, nes i anghysondeb cymeriad moesol Edward Francis beri i'r cyfeillion yn Wilderness Row a Gravel Lane ymwrthod yn llwyr ag ef, ond glynodd y gynnulleidfa fechan yn Lambeth wrtho nes iddo yn 1799 symud i Fachynlleth. Yn 1802 symudodd yn ol i Lambeth, a bu yno yr ail waith am o dair i bedair blynedd, ond ni fu fawr llwyddiant ar ei lafur gan nad oedd ei gymeriad yn deilwng o'i swydd. Dilynwyd ef yn Lambeth gan Mr. Thomas Jones, yr hwn a fu yno yn llafurus, ac i fesur yn llwyddianus hyd ei farwolaeth yn 1817. Ni bu yno neb ar ei ol ef, a darfu yr achos yn llwyr tua y flwyddyn 1820, neu yn fuan ar ol hyny.

Edward Jones, yr hwn a gychwynodd yr achos yn Cock Lane yn 1774, oedd y prif ddyn yn Wilderness Row a Gravel Lane, ac ymddengys ei fod fel Diotrephes "yn chwenych y blaen yn eu plith hwy," ac yn ei fynu bodd neu anfodd. Tua diwedd y ganrif ddiweddaf yr oedd Mr. Daniel Jenkins, mab-yn-nghyfraith Mr. Daniel Rowlands, Llangeitho, ac un Thomas Thomas o sir Benfro, yn bregethwyr lled dderbyniol yn y ddwy gynnulleidfa yn Wilderness Row a Gravel Lane. Yr oedd gan D. Jenkins ddwy ferch, y rhai nid oeddent yn aelodau eglwysig, a darfu i'r rhag-grybwylledig Thomas Thomas briodi un o honynt, a phriododd ei frawd y llall. Er mwyn dangos ei awdurdod a charic allan ddysgyblaeth hollol Fethodistaidd, mynodd Edward Jones ddiarddel y ddau frawd am briodi merched dibroffes. Arweiniodd hyny i ymraniad rhwng y ddwy gynnulleidfa yn Wilderness Row a Gravel Lane, a throwyd yr achos yn Gravel Lane yn achos hollol Annibynol, pryd yr aeth yr achos yn Wilderness Row o hyny allan yn hollol Fethodistaidd. Pregethwr Methodistaidd oedd Daniel Jenkins hyd yn hyn, ond yr ydym yn barnu mai Annibynwyr o'r dechreuad oedd Thomas Thomas a'i frawd. Yn yr ymraniad aeth D.

Jenkins hefyd yn Annibynwr. Cymerodd hyn le, feddyliem, tua y flwyddyn 1798, neu y flwyddyn ganlynol. Oddeutu yr amser hwn daeth yr enwog David Davies, Abertawy, i Lundain, gyda bwriad i dreulio pedwar mis yn athrofa Hackney, er gwellhau ychydig ar ei wybodaeth o'r iaith Saesonig. Daeth ef a'r bobl yn Gravel Lane yn ddioed i adnabyddiaeth a'u gilydd, a byddai bob Sabboth trwy ystod y pedwar mis y bu yno yn pregethu naill ai yn Gravel Lane, Lambeth, Deptford, neu Woolwich, ac yn yr amser hwnw y rhoddwyd bywyd, os nad y dechreuwyd yr achosion Cymreig yn y ddau le olaf a enwyd. Yr amser hwn hefyd y ffurfiwyd yr aelodau a addolent yn Gravel Lane yn eglwys Annibynol gan Mr. Davies. Bernir hefyd iddo urddo Mr. Daniel Jenkins i fod yn weinidog i weinyddu yr ordinhadau yma ac yn Deptford a Woolwich, pryd na fuasai yn gyfleus iddynt gael gweinidogion o Gymru i fyny. Buwyd yn addoli yn Gravel Lane hyd ddiwedd y flwyddyn 1806, pryd y gorphenwyd adeiladu y capel yn Little Guildford Street, yn y Borough. Yn nechreu y flwyddyn 1806 argraffwyd y cylchlythyr canlynol er gofyn am gynorthwy y Saeson at draul adeiladaeth y capel. Wele yr hen gylchlythyr air yn ngair yn yr iaith yr ysgrifenwyd ef ynddi :—

"AN ADDRESS

"*To the Benevolent Friends of Religion in behalf of the Church of Christ, using the Ancient British Language.*

"WHO have for Six Years past assembled together in rooms fitted up for the purpose in the Borough of Southwark, but through the increase of the Congregation, they found themselves under the necessity of building a Meeting House, and having procured ground in *Little Guildford Street* near the Mint, they are now engaged in erecting a plain but commodious building, the expence of which will amount to Nine Hundred Pounds, Seven Hundred of which it is expected will be raised by the Members and their Countrymen; but the people are chiefly of the lower class, not being able to defray the whole expence, humbly solicit the assistance of the religious Public.

"As there are many hundreds if not thousands of poor Welch people in London who cannot understand an English sermon, and as the Lord has been pleased already to countenance the labours of his Ministers among them, so that about Two Hundred have been added to the Church in the two last years, it is hoped that all who love our Lord Jesus Christ will kindly contribute towards this undertaking.—As a further inducement they beg leave to mention, that the place is settled in trust in the hands of Nine Trustees.

"The Church has been supplied for two years past, by the Rev. DAVID DAVIES, Swansea; DAVID DAVIES, Sardis; GRIFFITH HUGHES, Groeswen; JOHN DAVIES, Bethlehem; THOMAS JONES, Saron; MORGAN JONES, Trelech, and THOMAS BOWEN, Neath; who have given their labours alternately for three months each, and by whom the Gospel has also been extended to Deptford and Woolwich, where a great number of the Welch reside.

"*Donations are thankfully received by the*

*Rev. Griffith Williams, Gate Street, Lincoln's Inn Fields.*
*Mr. John Thomas, No. 26, Bartlett's Buildings, Holborn.*
and
*Mr. William Thomas, No. 16, Catherine Street, Strand.*"

Gwelir oddiwrth y papyr hwn fod yr achos wedi bod yn llwyddianus iawn cyn adeiladu y capel. Clywsom y diweddar Mr. Jones o'r Aber, Crugybar y pryd hwnw, yn dyweyd ei fod ef yn pregethu i'r gynnulleidfa

y Sabbothau olaf cyn iddynt symud i'r capel newydd. Mewn ysgoldy, yr hwn oedd yn llofft i dy hen Sais oedd yn weinidog perthynol i'r Bedyddwyr, yr addolent, a hwn mae yn debygol oedd y lle yn Gravel Lane y buasent yn addoli ynddo er's blynyddau. Ar brydnawn un o'r Sabbothau yr oedd Mr. Jones yn pregethu yno, torodd y dorf allan i orfoleddu a rhai i neidio. Wrth eu bod yn neidio crynodd y ty a brawychodd yr hen Sais oedd mewn ystafell odditanynt nes y credodd y buasent yn tynu y ty i lawr am ei ben. Aeth i fyny atynt a gorchymynodd iddynt fyned allan i'r heol yn ddioed. Wedi gorfod myned allan parhaodd rhai o honynt i orfoleddu ar yr heol am amser maith. Yr ydym yn lled dybied i Mr. Jones ddyweyd wrthym mai dyna y Sabboth olaf iddynt fod yn addoli yn y lle hwnw, ac iddynt gael y capel newydd yn barod i fyned iddo erbyn y Sabboth canlynol. Ionawr 5ed, 1807, agorwyd y capel newydd yn Little Guildford Street, pryd y pregethodd Mr. D. Davies, Abertawy, a Mr. D. Jones, Crugybar. Yr oedd y capel hwn yn adeilad cadarn a chyfleus, yn cynwys tua phum' cant o eisteddleoedd. Costiodd dros ddeuddeg cant o bunau, er y bwriedid ar y cyntaf ei orphen am naw cant. Bu y ddyled am rai blynyddau yn faich trwm, ond trwy ffyddlondeb y bobl a chymorth oddiwrth y Saeson yn Llundain ac eglwysi y Dywysogaeth, talwyd y cwbl gydag amser. Wedi cael y capel yn barod a'i lenwi a chynnulleidfa siriol, cyfododd rhyw ymryson rhwng rhai o'r prif aelodau a'u gilydd, yr hyn fu yn niwed mawr i'r achos. Trwy gyfryngiad Mr. Jones, Trelech, adferwyd yma dangnefedd, ac yna cydunwyd i roddi galwad i Mr. David Simon Davies, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin. Urddwyd ef yma Awst 8fed, 1811. Dechreuwyd y gwasanaeth trwy weddi gan Mr. David Morgan, Deptford. Pregethodd Mr. Jones, Trelech, ar natur eglwys oddiwrth Act xvi. 5. Gweddiodd Mr. Morgan, Deptford, yr urdd-weddi, a phregethodd Mr. D. Peter, Caerfyrddin, ar ddyledswydd y gweinidog. O ddechreuad yr achos hyd yn hyn ymddibynai y gynnulleidfa ar weinidogion a ddeuent i fyny o Gymru i Lundain ac a arosent bob un dri mis yn y lle. Ond yn awr wedi i'r bobl gael gweinidog sefydlog yn eu plith eu hunain aeth pethau yn mlaen yn llawer gwell nag erioed. Yr oedd Mr. Davies yn bregethwr poblogaidd a galluog iawn, ac yn mhob ystyr yn weinidog da i Iesu Grist. Cerid a pherchid ef yn fawr gan bobl ei ofal a chan bawb o'i gydnabod. Parhaodd i lafurio yma gyda pharch a llwyddiant mawr nes ei luddias gan gystudd ac angau. Colled ddirfawr i'w eglwys ac i Gymry y brif ddinas, oedd colli y fath ddyn gwerthfawr, yr hwn trwy ei alluoedd a'i ragoriaethau amrywiol a dderchafai yr achos Cymreig a chenedl y Cymry yn ngolwg y Saeson. O amser marwolaeth Mr. D. S. Davies yn 1826 hyd sefydliad Mr. David Davies yma yn 1831, bu yr eglwys yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol. Buwyd ar fedr rhoddi galwadau yn ol i Mr. David Rees, cyn ei sefydliad yn Llanelli, ac i Mr. Hugh Jones, Tredegar, ac eraill, ond pan yn gweled nas gallesid cael un o honynt hwy rhoddwyd galwad i Mr. David Davies, myfyriwr yn athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef yma yn Gorphenaf 19eg, 1831, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri D. Peter, Caerfyrddin; D. Evans, Mynyddbach; D. Williams, Llanwrtyd; a Caleb Morris. Bu Mr. Davies, fel ei ragflaenydd, yn dra phoblogaidd a pharchus yma am ddeuddeg neu bymtheg mlynedd, ond lawer o flynyddau cyn iddo ymadael a'r lle yr oedd wedi myned yn waeth na bod yn ddiddefnydd. Aeth, heb un rhaid nac achos, i ymdrafod a masnach, yr hyn a dynodd ei feddwl yn llwyr oddi-

wrth waith y weinidogaeth; ond trwy i'r dyb gael ei choleddu gan bawb o'i gydnabod ei fod yn ddyn cyfoethog iawn, cafodd ei oddef gan yr eglwys i fod yn enw o weinidog iddi lawer yn hwy nag y goddefasid ef pe buasid yn tybied ei fod yn ddyn tlawd. O'r diwedd ymadawodd a'r wlad yn ddirgel, ac ymfudodd i'r America. Wedi ei ymadawiad cafwyd allan ei fod mewn miloedd o bunau o ddyled. Yr oedd yr achos wedi gwywo a nychu yn dost rai blynyddau cyn ei ymadawiad o eisiau gweinidogaeth effeithiol. Yr oedd lês y capel i derfynu yn 1866, ac er ei rybuddio ef ddegau o weithiau gan ewyllyswyr da yr achos i geisio prynu y tir ar yr hwn y safai y capel cyn i'r les redeg allan ni wnai fawr sylw o ddim a ddywedid wrtho. Gallesid prynu y tir yn 1864 am ddwy fil o bunau, ond perswadiai Mr. Davies y bobl i beidio rhoddi y fath swm gan addaw iddynt y buasent yn sicr o'i gael yn rhatach rywbryd rhagllaw. Canlyniad yr oediad fu i'r gynnulleidfa orfod ymadael a'u hen gysegr hoff yn gynar yn 1866, a myned i addoli i ystafell yn Newington Causeway, ac yno, er mor anghyfleus oedd y lle, y buont yn ymgynnull hyd ddechreu y flwyddyn 1873, pryd y daeth y capel newydd yn barod. Yn Rhagfyr, 1866, ymadawodd Mr. Davies gan adael y gynnulleidfa yn gymharol fechan a digalon iawn, mewn ystafell hirgul, yn lle yn gynnulleidfa fawr mewn capel hardd fel y cafodd hi yn 1831. Oddiar ymadawiad Mr. Davies hyd yn bresenol y mae yr eglwys yn ymddibynu ar weinidogaeth y gweinidogion a ddeuant i fyny o Gymru. Yn fuan wedi myned i'r ystafell dechreuwyd casglu trysorfa at brynu tir er adeiladu capel newydd. Prynwyd darn o dir yn mhen gorllewinol Lant Street, heb fod yn mhell o'r man y safai yr hen gapel, ond pan aed i dynu cynllun yr adeiladaeth gomeddodd perchenog tŷ cyfagos i ffenestri gael eu gosod yn yr ochr orllewinol i'r capel, yr hyn a'i gwnelsai yn anghysurus o dywyll. Yn wyneb hyn penderfynwyd peidio adeiladu yno, a gwerthwyd y tir. Yn mhen amser ar ol hyny llwyddwyd i brynu yr hen gapel, a'r tir a'r tai perthynol iddo, ond bu raid talu tair mil o bunau am dano. Er mor fawr oedd y pris, yr oedd yn dda gan y bobl ei gael am hyny, gan fod eu serch yn fawr at y fan y buasent hwy a'u tadau yn addoli yr Arglwydd am driugain mlynedd. Yr oedd y bobl erbyn hyn, er pob digalondid ac anfanteision, wedi casglu yn eu mysg eu hunain fil o bunau. Wedi cael sicrwydd y cawsid y tir ar ba un y safai yr hen gapel, aeth Mr. T. Rees, Abertawy, ar gais yr eglwys, at Samuel Morley, Ysw., A.S., i ofyn ei gymorth, ac yn ol ei haelionusrwydd arferol addawodd bum' cant o bunau. Mewn canlyniad i'r calondid hwn prynwyd y tir, tynwyd yr hen addoldy i lawr, yr hwn oedd erbyn hyn wedi myned yn rhy ddadfeiliedig i wneyd un defnydd o hono, a dechreuwyd adeiladu y capel newydd yn haf y flwyddyn 1872. Yn y cyfamser cafwyd gan Mr. Samuel Roberts, Conwy, i fyned i Lundain am bedwar mis, a chasglodd, trwy ymweliadau personol a llythyrau, rhwng y Saeson ac eglwysi Cymru, bum' cant arall. Yr oedd traul adeiladaeth y capel a phryniad y tir, sef cymaint o'r tir a brynwyd ag y safai y capel arno, yn 4352p. 1s, 2c. O'r swm yma talwyd eisioes dair mil, fel nad oes yn bresenol ond tri-chant-ar-ddeg a deuddegpunt-a-deugain o ddyled yn aros, a chan fod gan y bobl galon i weithio ni byddant yn hir cyn ysgafnhau a llwyr ddileu y baich hwn. Boreu y Sabboth, Chwefror 23ain, 1873, dechreuwyd cyfarfodydd agoriad y capel newydd. Dechreuwyd y gwasanaeth trwy weddi gan Mr. T. Thomas, Glandwr, a phregethodd Mr. R. Williams (Hwfa Mon), a T. Rees, Aber-

tawy. Rhoddwyd yr emynau allan gan H. Richard, Ysw., A.S. Am 2 dechreuwyd gan Mr. S. Harries, a phregethodd Mr. Thomas, Glandwr, a Mr. R. Parry, Llandudno. Yn yr hwyr dechreuwyd gan Mr. E. Evans, Woolwich, a phregethodd Mr. W. Ambrose, Porthmadog, a Mr. T. Rees, Abertawy. Bore dydd Llun pregethodd Mr. Newman Hall, yn Saesonig, ac yn y prydnawn pregethwyd drachefn yn Saesonig gan Mr. J. Davies, Homerton, mab yr enwog D. Davies, Abertawy, yr hwn a bregethasai yn agoriad y capel cyntaf yn 1807. Nos Lun cynaliwyd cyfarfod cyhoeddus dan lywyddiaeth Mr. S. Morley, pryd y traddodwyd anerchiadau gan y gweinidogion rhag-grybwylledig a Mr. H. Richard, A.S. Bu raid i Mr. Morley a Mr. Richard ddyfod o'r *House of Commons* i'r cyfarfod hwn ar eu traed am nad allasai un cerbyd deithio y ffyrdd o herwydd yr eira. Traddodwyd dwy bregeth drachefn nos Fawrth gan y Meistri T. Rees a W. Ambrose. Yr oedd y torfeydd yn nodedig o luosog er garwed ac oered oedd y tywydd.

Er fod y capel hwn yn sefyll yn yr un man a'r capel cyntaf nid yw fel hwnw a'i wyneb i Little Guildford Street, yr hon sydd heol gul ac afian, ond y mae ei wyneb yn awr i Southwark Bridge Road—heol lydan a glan. Mae y capel hwn yn ol ei faint yn un o'r addoldai harddaf a mwyaf cyfleus yn Llundain. Cynwysa tua phum' cant o eisteddleoedd. Yr angen mawr sydd yma yn bresenol yw gweinidog da, doeth, poblogaidd, a gweithgar. Mae yn perthyn i'r eglwys amryw bersonau nodedig o ffyddlon, selog, a gweithgar, ac nid oes un ddadl na orlenwid y capel yn fuan pe gwelai yr Arglwydd yn dda anfon iddynt fugail wrth fodd ei galon.

Rhoddwyd i ni yr enwau canlynol fel rhai a ddechreuasant bregethu yn yr eglwys hon.

William Thomas, Clydach.

Evan Davies, Richmond. Gwelir yn hanes y Mynyddbach, Morganwg, hanes pellach am y ddau hyn.

William Ambrose, Porthmadog. Daw ei hanes ef yn yr Attodiad.

Evan Evans, yr hwn sydd yn awr yn weinidog i'r Cymry yn Woolwich.

Samuel Harries. Yr oedd ef yn nai fab chwaer i'r diweddar G. Griffiths, Carmel, Llansadwrn. Bu yma yn bregethwr cynorthwyol ffyddlon am yn agos ddeugain mlynedd. Gorphenodd ei yrfa yn Gorphenaf, 1873.

John Lewis. Nis gwyddom pwy oedd ef, os nad y John Lewis a fu gynt yn weinidog yn y Taihirion. Os efe ydyw, y mae wedi marw er's blynyddau lawer bellach.

Frederick Fox Thomas. Un genedigol o Lundain yw efe, ond yn Nhrelech gyda pherthynasau ei dad y magwyd ef. Mae yn weinidog poblogaidd yn mysg y Saeson yn Harrowgate.

William Davies, Llanymddyfri. Nis gwyddom ragor am dano.

Owen Davies. Saer oedd ef wrth ei alwedigaeth. Bu yn briod â gweddw Mr. John Lewis, gynt o'r Taihirion. Y mae wedi marw er's rhai blynyddau.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

DANIEL JENKINS. Nid oes genym un wybodaeth am dano ef amgen na'i fod yn fab-yn-nghyfraith i'r enwog Daniel Rowlands, Llangeitho. Bu yn weinidog cynorthwyol yn yr eglwys hon ac yn Deptford, Woolwich, a Lambeth, hyd ei farwolaeth tua y flwyddyn 1813.

THOMAS JONES. Gan fod yr achos Cymreig yn Lambeth, lle y bu ef yn benaf yn gweinidogaethu, wedi darfod, yn nglyn a'r eglwys hon, lle hefyd y bu yn gweinidogaethu yn achlysurol, y mae y man mwyaf priodol i gofnodi yr ychydig a wyddom am dano. Un genedigol o Langeler ydoedd, ond yn y Mynyddbach, Abertawy, y dechreuodd bregethu. Yr oedd yn gefnder i Mr. Thomas Jones, gweinidog Saron, Llangeler, ac yn briod a chwaer yr enwog David Davies, Abertawy. Bu am rai blynyddau yn gweithio yn Abertawy, wrth ei alwedigaeth fel llyfr-rwymydd. Aeth yn gynar yn y ganrif bresenol i Lundain i fod yn weinidog i'r Cymry yn Lambeth. Bu farw ar ol hir nychdod Ionawr 27ain, 1817. Cyfrifid ef yn ddyn da iawn. Traddodwyd pregethau angladdol iddo gan Mr. Arthur Jones, oddiwrth Mat. vi. 2, a Mr. David Davies, Llanybri, oddiwrth 1 Cor. xv. 54. Bu mab iddo o'r enw David Jones, yn weinidog parchus yn Kendal am flynyddau lawer. Bu farw tua deng mlynedd yn ol.

DAVID SIMON DAVIES. Ganwyd y gweinidog enwog hwn mewn amaethdy a elwir Hendrelywarch, yn mhlwyf Llanfihangel-rhos-y-corn, sir Gaerfyrddin, Ionawr 1af, 1790. Yr oedd ei rieni, a'i henafiaid er's oesau yn aelodau selog yn y Gwernogle, ac yr oedd ei dad yn ddiacon gweithgar yno, felly cafodd ef o'i febyd yr addysg grefyddol oreu. Pan yn un-ar-ddeg oed teimlai awydd mawr am wneyd proffes gyhoeddus o grefydd, ond yr oedd yn rhy wylaidd i amlygu ei deimladau i neb. Pan yr oedd rhwng tair a phedair-ar-ddeg oed daeth Mr. David Morgan o'r Dolau y pryd hwnw, gweinidog yr eglwys yn y Gwernogle, i lettya un noson i dy ei dad, a thorodd y gweinidog at y bachgen i ymddiddan ag ef am achos ei enaid, pryd y cafodd ar ddeall ei fod er's tua thair blynedd yn ddeiliad teimladau dwysion. Anogodd ef i ddyfod i'r gyfeillach, ac yn fuan wedi hyny derbyniwyd ef yn aelod cyflawn. Wrth weled ei gynydd mewn gwybodaeth a'i ddoniau mewn gweddi, anogwyd ei rieni i'w anfon i ysgol ramadegol Mr. Peter yn Nghaerfyrddin. Aeth yno pan yn bymtheg oed. Wedi bod yno ddwy flynedd derbyniwyd ef i'r athrofa. Yn fuan wedi hyny dechreuodd bregethu, ac ni bu fawr wythnosau ar ol dechreu pregethu cyn i'w ddoniau poblogaidd dynu y fath sylw fel nad oedd nemawr o gynnulleidfa yn sir Gaerfyrddin nad oedd yn awyddus am ei glywed. Yn hir cyn iddo ymadael a'r athrofa yr oedd enw "Davies, Hendrelywarch" yn enw teuluol trwy yr holl wlad. Cyn iddo lawn orphen ei amser yn yr athrofa cafodd alwad oddiwrth yr eglwys Gymraeg yn y Borough, ac ar gais taer Mr. Davies, Abertawy; Mr. Jones, Trelech, ac eraill, cydsyniodd a hi. Fel y nodasom eisioes, urddwyd ef yn Llundain yn 1811. Wedi ymsefydlu yno ymroddodd a'i holl egni i gyflawni ei weinidogaeth. Bu am flynyddau yn pregethu yn gyson bedair gwaith yn yr wythnos, ac ni foddlonai ar bethau heb gostio iddo lafur mawr i'w traddodi i bobl ei ofal. Myfyriai bob pregeth a draddodai gyda gofal a manyldra mawr, ac ni thalai sylw i unrhyw lyfr na buasai ei ddarlleniad yn gynorthwyol i'w waith fel pregethwr. Ystyriai mai pregethu yr efengyl yn effeithiol oedd prif waith ei fywyd ef, a thrwy ei gymwysderau naturiol a'i lafur dibaid daeth i fod yn un o'r pregethwyr effeithiolaf o'i oed yn ei oes. Bernir mai o herwydd iddo osod mwy ar ei natur nag a oddefai, trwy ymroddiad i fyfyrio a phregethu, y clafychodd o'r clefyd a derfynodd yn ei farwolaeth. Yn mhen tua dwy flynedd wedi ei urddiad ymunodd mewn priodas ag un Miss Reynolds o Gaerfyrddin—dynes ieuangc ragorol am ei dysg, ei rhinweddau, a'i duwioldeb. Bu iddynt bump o blant, dau

o ba rai a fuont feirw, un ychydig fisoedd o flaen y tad a'r llall ychydig fisoedd ar ol ei farwolaeth ef. Yr oedd iechyd Mr. Davies wedi dechreu gwanychu yn mhen llai na dwy flynedd wedi iddo ymsefydlu yn Llundain, ond parhaodd yn wyneb pob gwendid i lafurio yn effeithiol yn y weinidogaeth hyd o fewn deuddeg mis i'w farwolaeth. Ni bu yn alluog i bregethu ond ychydig yn y flwyddyn ddiweddaf o'i fywyd, ac am y naw mis diweddaf ni bu yn alluog i fyned nemawr allan o'i ystafell. Y darfodedigaeth oedd ei glefyd. Yn misoedd diweddaf ei fywyd yr oedd yn nodedig o nefolaidd ei brofiad. Bu farw yn yr Arglwydd Gorphenaf 18fed, 1826, ac ar y 26ain o'r un mis claddwyd ei gorph yn Bun Hill Fields. Gweinyddwyd yn ei gladdedigaeth gan Mr. W. Lewis, Tredwstan; G. Griffiths, Llanbedr, a Dr. Humphreys, Mill Hill. Bu eglwys y Borough yn garedig iawn iddo yn ei gystudd maith. Talasant ei gyflog yn llawn iddo, a dygasant dreuliau y gweinidogion a ddeuent o Gymru i weinyddu yn ei le yn amser ei gystudd. Dygasant hefyd holl draul ei gladdedigaeth.

Fel dyn yr oedd D. S. Davies o dymer nodedig o siriol ac addfwyn. Buasai yn rhaid fod rhywbeth yn anghyffredin o ddieflig mewn unrhyw ddyn a allasai fod yn llidus tuag ato. Fel cristion yr oedd yn hynod am ei nefolfrydedd. Crefydd a'i phethau oedd holl destynau ei fyfyrdodau a'i ymddiddanion. Fel gweinidog ni fu neb mewn un oes na gwlad yn fwy ffyddlon ac ymroddgar i'w waith nag ef. Myfyrio ei bregeth, talu ymweliadau gweinidogaethol a phobl ei ofal, neu gyflawni rhyw bethau priodol i'w swydd fel gweinidog oedd holl waith ei fywyd. O herwydd ei ymroddiad cydwybodol i'w waith a'i ddull effeithiol o'i gyflawni ni bu gweinidog erioed yn anwylach gan bobl ei ofal nag ef. Fel pregethwr yr oedd yn nodedig o allucg, effeithiol, a phoblogaidd. Yr oedd ganddo feddwl goleu, gafaelgar, a chraffus, yr oedd yn ymadroddwr rhwydd, ei lais yn nodedig o dyner ac effeithiol, a chan fod ei galon yn ei waith anfynych y safai ger bron cynnulleidfa heb gyrhaedd eu calonau. Pe buasai yn byw yn Nghymru am y pymtheg mlynedd y bu yn y weinidogaeth, yn lle cael ei gau i fyny yn Llundain, buasai yn un o brif bregethwyr y cymanfaoedd. Cymerodd ran nodedig yn nadleuon duwinyddol y cyfnod hwnw, ac y mae ei ysgrifau a gyhoeddwyd yn y *Dysgedydd* yn mysg y pethau tecaf a galluocaf a ymddangosodd o blaid y golygiadau eang a goleddai am drefn yr efengyl. Yr oedd yn mhob ystyr yn ddyn uwchraddol, a phed estynesid ei ddyddiau diau y gadawsai ei ddylanwad yn ddwfn ar weinidogaeth a llenyddiaeth ei enwad a'i genedl.

## WOOLWICH A DEPTFORD.

Dechreuwyd yr achosion yn y lleoedd hyn mor foreu, os nad flwyddyn neu ddwy yn foreuach nag yn y Borough, ac yn benaf trwy lafur yr un personau ag a ddechreuasant yr achos yno. Mae yn debygol mai Mr. D. Davies, Abertawy, fu yr offeryn penaf i roddi cychwyniad i'r achosion hyn, ac mai efe fu yn gweinyddu yr ordinhadau gyntaf yma. Fel y nodasom yn hanes y Borough, darfu iddo ef neillduo Mr. Daniel Jenkins i fod yn weinidog cynorthwyol i weinyddu yr ordinhadau yma fel yn y Borough pan na fuasai un gweinidog o Gymru yn bresenol. Yn gynar yn y ganrif bresenol ymsefydlodd Mr. David Morgan o ardal Abertawy,

yn weinidog yn Woolwich a Deptford, a bu yma hyd ei farwolaeth yr hyn a gymerodd le ryw amser rhwng 1813 a 1815. Yn 1815 ymsefydlodd Mr. Arthur Jones, Bangor, yma fel gweinidog i'r ddwy gynnulleidfa, a bu yma yn boblogaidd a llwyddianus iawn hyd 1823, pryd y dychwelodd i Fangor. Yn nhymor ei weinidogaeth ef yr oedd yr achosion Cymreig yn y ddau le hyn yn dra llewyrchus, gan fod yma luaws mawr o Gymry gwell eu hamgylchiadau na'r cyffredin, megis seiri, gofaint, &c., yn gweithio yn *Dock Yards* y llywodraeth, ac yn ennill cyflogau rhagorol. Ond wedi terfyniad y rhyfel a Ffraingc talwyd ymaith beth dirfawr o weithwyr, ac yn eu mysg lawer iawn o Gymry. Y canlyniad fu i'r achosion Cymreig syrthio i wendid a nychdod. Hyny fu yr achos penaf o ddychweliad Mr. Jones i Gymru. Wedi ei ymadawiad ef bu y ddau achos dan ofal Mr. D. S. Davies, mewn cysylltiad a'r Borough, nes i'w nerth ballu. Wedi hyny pregethwyr cynorthwyol o'r Borough fuont yn gwasanaethu y ddau le hyd 1837, pryd yr urddwyd Mr. Job Thomas i fod yn weinidog yma. Bu ef yn ffyddlon iawn yma hyd ei farwolaeth yn 1857. Tua blwyddyn cyn marwolaeth Mr. Thomas urddwyd Mr. Evan Evans yr hwn a ddechreuodd bregethu yn y Borough yn 1833, i fod yn weinidog i'r deadellau bychain hyn, ac efe yw y gweinidog hyd yn bresenol. Mae yr achos yn Deptford wedi llwyr ddarfod er y flwyddyn 1866, ond y mae ychydig enwau yn glynu i ymgynnull i'w haddoldy bychan yn Woolwich. Mae yr eglwys fechan hon yn gynwysedig o Annibynwyr, Methodistiaid Calfinaidd a Wesleyaid. Saif yr addoldy, yn yr hwn y mae y Cymry wedi bod yn addoli er's ugeiniau o flynyddau bellach, ar y Parson's Hill, Woolwich. Y mae ymdrech yn cael ei wneyd yn awr i'w adgyweirio gan ei fod wedi myned yn lled ddadfeiliedig. Y mae etto un-flynedd-ar-ddeg-ar-hugain o'r les heb redeg allan. Mae yn dra sicr i amryw bregethwyr gyfodi yma ac yn Deptford o bryd i bryd, ond nid ydym ni wedi cael enwau neb o honynt ond William Morgan a David James, ac nid ydym yn gwybod dim o'u hanes hwythau.*

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

David Morgan. Clywsom mai un genedigol o ardal Ffaldybrenin oedd ef. Pan yr oedd yn ieuangc aeth i Dreforis i weithio yn y gwaith copr, ac yn y Mynyddbach y dechreuodd bregethu. Bu am rai blynyddau yn bregethwr cynorthwyol yn y Mynyddbach, Abertawy, a'r cylchoedd. Rhyw amser rhwng 1807 a 1810 urddwyd ef yn Ebenezer, Abertawy, i fod yn weinidog yn Woolwich a Deptford. Y rheswm o'i urddo yn Abertawy ydoedd, yr anhawsder a'r draul i gael gweinidogion o Gymru i fyned i fyny i'w urddo. Gwelsom yn hanes urddiad Mr. D. S. Davies yn y Borough, fod Mr. Morgan yno yn gweddio yr urdd-weddi. Er ei fod yn ddyn cadarn iawn o gyfansoddiad, gwaelodd ei iechyd yn fawr yn Llundain, fel y bu farw yn nghanol ei ddyddiau ryw bryd tua y flwyddyn 1814. Dywedir ei fod yn ddyn gwir dda ac yn bregethwr galluog iawn. Gresyn na buasai rhai o'i gyfoedion yn cofnodi ychydig o'i hanes.

Job Thomas. Un genedigol o blwyf Llanarth, Ceredigion, oedd ef. Efe oedd yr ieuengaf o bump o blant. Bu farw ei dad pan nad oedd ef ond

* Llythyr Mr. Evan Evans.

dwy flwydd oed. Pan yn bymtheg oed, ar ol bod yn gwasanaethu amaethwyr yn ei ardal enedigol am rai blynyddau, aeth i Liverpool i edrych am le ar long fel morwr. Aeth ar fordaith i'r India Orllewinol, a thrwy i'r llong yn mha un yr oedd fyned i gyffiniau Affrica i gymeryd llwyth o gaethion oddiyno i un o ynysoedd yr India Orllewinol, cafodd y fath olwg ar erchylldod y gaethfasnach fel y ffieiddiodd hi am weddill ei oes. Ar ol y fordaith hono dychwelodd i'w ardal enedigol, a phan yn dair-ar-hugain oed aeth i Lundain, lle y cafodd waith dan y llywodraeth yn Deptford, ac yno y bu am weddill ei oes. Nid ydym yn gwybod pa bryd y daeth at grefydd na pha bryd y dechreuodd bregethu. Wedi bod yn bregethwr cynorthwyol am flynyddau lawer urddwyd ef yn amser y Sulgwyn, 1837, i fod yn weinidog i'r eglwysi bychain yn Woolwich a Deptford, a pharhaodd i'w gwasanaethu yn ffyddlon yn ol ei allu nes i lesgedd henaint ei luddias. Yr oedd yn ei flynyddau diweddaf yn derbyn *pension* gan y llywodraeth am ei hir wasanaeth yn y *Dock Yard*. Bu farw mewn tangnefedd Mawrth 17eg, 1857, yn 74 oed, a chladdwyd ef yn mynwent St. Paul, Deptford. Er nad oedd Job Thomas yn nodedig am ei dalent a'i ddoniau, yr oedd ei dduwioldeb a'i ffyddlondeb yn myned yn mhell i wneyd i fyny am y diffygion hyny. Perchid ac anwylid ef fel dyn da gan bawb o'i gydnabod, ac y mae ei enw yn perarogli yn eu mysg hyd y dydd hwn.

## FETTER LANE, LLUNDAIN.

Yr oedd teimlad er's llawer o flynyddau fod eisiau achos Annibynol Cymreig yn ninas Llundain, a llawer yn anesmwyth o eisiau ei gael, gan fod cyrchu i'r Borough yn mhell iawn iddynt; ond o herwydd rhyw amgylchiadau oedid y peth o flwyddyn i flwyddyn. Tua y flwyddyn 1845, yr oedd yr achos yn y Borough yn llwyddianus iawn, ac ar yr adeg hono penderfynodd Mr. D. Davies, y gweinidog, yn nghyd a'r prif aelodau, i ddechreu achos ar yr ochr ogleddol i'r Tafwys, a llwyddasant i gael ystafell yn Snow Hill, Holborn, yr hon a agorwyd yn mis Medi, 1847, a phregethwyd yn gyntaf yno ar ei hagoriad gan Mr. John Thomas, Bwlchnewydd, (Liverpool yn awr). Yn mhen rhai misoedd, wrth weled yr achos yn myned rhagddo, symudasant i le oedd fwy, yn Nevill's Court, Fetter Lane; ac yn fuan wedi hyny sicrhasant le i adeiladu capel yn Bartlett's Passage, Fetter Lane. Mae y tir yn *freehold*, a thalwyd 700p. am dano. Gosodwyd y gareg sylfaen i lawr gan Dr. Edwards, Queen Street, Cheapside, ar y dydd cyntaf o fis Mawrth, 1850. Traddododd y diweddar Mr. Caleb Morris anerchiad grymus i'w gydwladwyr ar yr achlysur, ac offrymodd weddi daer am fendith y Nef ar y gwaith a ddechreuwyd y dydd hwnw. Gorphenwyd y capel erbyn dechreu mis Rhagfyr, a chostiodd, rhwng pob peth, oddeutu tair mil o bunau. Agorwyd ef ar y Sul cyntaf yn Rhagfyr, 1850, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri D. Williams, Troedrhiwdalar; D. Rees, Llanelli, a Ll. Samuel, Bethesda. Ymddengys mai y rhai mwyaf blaenllaw i gychwyn yr achos yn Fetter Lane, gyda Mr. Davies, y gweinidog, oeddynt y rhai canlynol:—David Evans (Dewi), Silvanus Thomas, Josuah Jones, John Brees, Josuah Evans, John Jones, Isaac Williams, Thomas Jones, Samuel Harris, William Roberts, David Thomas, Richard Roberts, Enoch Jones, William Williams, John Williams, Daniel Thomas, John Thomas, David Morris, John Morgan, John Ellis, John

Davies, Morris James, William Lloyd, Simon Evans, Evan Evans, a llawer o chwiorydd selog a ffyddlon, megis, Mrs. Ellis, Mrs. Jones, Mrs. Thomas, Mrs. Roberts, Mrs. Morris, Mrs. Evans, Mrs. Davies, a Mrs. Beynon.

Nifer yr aelodau pan ffurfiwyd yr eglwys yn Fetter Lane, oedd oddeutu 90. Parhaodd Mr. Davies i weinidogaethu yn y Borough a Fetter Lane hyd y flwyddyn 1856, pryd y rhoddodd yr eglwys yn Fetter Lane alwad i Mr. O. Evans, Maentwrog, i ddyfod yma i weinidogaethu. Dechreuodd Mr. Evans ei weinidogaeth yn Fetter Lane ar y Sabboth cyntaf yn Chwefror, 1857, a pharhaodd i weinidogaethu yn ddedwydd a defnyddiol yma hyd Mehefin, 1863, pryd y symudodd i Brymbo a Gwrecsam. Bu yr eglwys am bedair blynedd a haner ar ol hyny heb un gweinidog sefydlog, ond yn y flwyddyn 1867 rhoddodd alwad unfrydol i Mr. R. Williams (Hwfa Mon), Bethesda, a dechreuodd ar ei weinidogaeth yma ar y Sabboth cyntaf yn Rhagfyr, 1867. Y gweinidogion a weinyddasant yn nghyfarfod ei sefydliad oeddynt y Meistri R. Parry (Gwalchmai), Llandudno, a'r diweddar W. Williams (Gwilym Caledfryn), o'r Groeswen. Y mae Mr. Williams yn parhau i lafurio yma yn ddefnyddiol a hapus iawn, ac y mae yr achos yn dra llewyrchus o dan ei weinidogaeth.

Y rhai a godwyd yma i bregethu o bryd i bryd yw y rhai canlynol:—

W. Williams, yr hwn a ddechreuodd bregethu yn y flwyddyn 1856.

W. Lloyd, yr hwn a ddechreuodd yn y flwyddyn 1863, ac y mae y ddau yn aros yn yr eglwys.

W. J. Evans, yr hwn sydd yn gweinidogaethu yn awr gyda y Saeson yn Hwlffordd.

Yn 1870 llwyr ddilewyd y ddyled, ac ar y dydd cyntaf o Fawrth yn y flwyddyn hono, cynaliodd yr eglwys ei chyfarfod Jubili. Swyddogion presenol yr eglwys ydynt y Meistri Richard Roberts, John Evans, W. Lloyd, W. Williams, E. Price, D. Thomas, a B. Rees. Bu y rhai canlynol yn aelodau ac yn swyddogion ffyddlon iawn yn yr eglwys:—Enoch Jones, David Thomas, Josua Evans, a William Roberts. Mae eu coffadwriaeth yn perarogli byth yn yr eglwys, ac yn mysg Cymry y brif ddinas. Am Enoch Jones a William Roberts dywedodd Hwfa Mon fel hyn:—

Gwr, a phawb yn ei garu—oedd Enoch,—
  Dyddanwch ei deulu;
 Glân ei foes, a'i galon fu
 Wresog yn ngwaith yr Iesu.

William addysgodd ei deulu—yn bur,—
  Denodd bawb i'w barchu;
 Gwr o farn;—dilwgr a fu
 Drwy ei oes:—brawd yr Iesu.

## HACKNEY ROAD, LLUNDAIN.

Bu llawer o siarad am flynyddoedd am gychwyn achos yn rhyw le yn y ddinas, ac yr oedd amryw o aelodau y Borough y rhai oeddynt yn byw yn mhell yn teimlo yn anesmwyth iawn o eisiau cael hyny. Torodd mesur o anghydfod allan tua'r flwyddyn 1834, ac aeth nifer o'r aelodau allan a buont am ychydig yn cynal moddion ar wahan; ond ar gymhelliad Mr. Williams o'r Wern ac eraill, y rhai oeddynt yn Llundain ar y pryd

yn casglu at y cydymdrech cyffredinol i dalu dyledion capeli, dychwelasant gan mwyaf i'r Borough, ac addewid ar y pryd y dechreuid achos yn rheolaidd yn fuan. Ond aeth mwy na deng mlynedd heibio heb i ddim gael ei wneyd ond siarad; ond o'r diwedd blinodd nifer o gyfeillion yn disgwyl ar yr eglwys i symud yn y mater, ac ar eu cyfrifoldeb eu hunain cymerasant gapel oedd yn wag yn Aldersgate Street, yn nghanol y ddinas i wneyd y prawf. Agorwyd ef Sabboth, Mai 10fed, 1846, pryd y pregethwyd gan Dr. Carlile, Meistri W. Rees, Liverpool, a D. Price, Dinbych. Teimlai y fam eglwys, a'i gweinidog yn enwedig, yn anfoddhaol i'r symudiad, ond cawsant gefnogaeth y gweinidogion o Gymru, yn enwedig o'r Gogledd, a ffurfiwyd yma eglwys yn ddioed. Yn mysg yr aelodau cyntaf yma, a'r rhai a fuont o help mawr i'r achos, yr oedd J. Richards, R. Richards, W. Hughes, J. Evans, ac eraill. Prynasant lês y capel, ac aethant i gryn draul i'w drefnu a'i adgyweirio. Yn 1848 rhoddwyd galwad i Mr. W. C, Williams, Caernarfon, a bu yma am ddwy flynedd, hyd nes y derbyniodd alwad o Lanrwst, ac y symudodd yno. Ar ol hyny hyd y flwyddyn 1857, bu yr eglwys yn dibynu ar weinidogaeth achlysurol gweinidogion o Gymru yn benaf, ond yn y flwyddyn hono dechreuodd Mr. John Roberts, Rhuthyn, ei weinidogaeth yma. Yn ei amser ef, a thrwy ei ymdrech ef yn benaf, talwyd y ddyled oedd ar y capel. Bu yma hyd y flwyddyn 1860, pryd y derbyniodd alwad o Gonwy, ac y symudodd yno. Yn 1863 daeth Mr. W. Lloyd o'r Wern yma, a bu ef yn gweinidogaethu i'r eglwys hyd y flwyddyn 1868, pryd y derbyniodd alwad o'r Tabernacl Newydd, Caergybi, ac y symudodd yno. Ni bu yr achos yma yn gryf a lluosog mewn un adeg arni, yr oedd yn rhy agos i Fetter Lane, ar ol i'r capel yno gael ei godi a'i agor. Yn 1870, pan aeth y les allan, penderfynwyd symud yn uwch i fyny yn y dref, a chymeryd ystafell a elwir Cymry Hall, yn Hackney Road. Mae yn ystafell fechan digon cyfleus, ond nid yw y fynedfa iddi mewn un modd yn ddeniadol. Mae yma nifer o bobl ffyddlon a charuaidd, a phe gellid cael tir i adeiladu yma gapel bychan ceid yma gynnulleidfa gryno, a byddai yn gartrefle i'r Cymry sydd yn wasgaredig yn y rhanbarth yma o'r dref. Yn yr eglwys yma y mae John Griffith (Y Gohebydd), yn gwneyd ei gartref er y sefydlodd yn Llundain, bellach er's yn agos i ddeng-mlynedd-ar-hugain, ac y mae ei ymlyniad yn gryf wrth y lle.

Nid ydym yn gwybod fod yma yr un pregethwr wedi codi, ac ni roddwyd i ni enwau diaconiaid presenol yr eglwys.

## SLOANE STREET, LLUNDAIN.

Dechreuwyd yr achos yma yn Ionawr, 1859, yn benaf trwy lafur Mr. David Griffiths, Miss Mary Rees, Mrs. Elizabeth Ellis, Mrs. D. Griffiths, a Miss Margaret Rees. Rhai genedigol o ardal Dolgellau oedd y pump, ac yr oeddynt oll yn aelodau yn y Tabernacl, Aldersgate Street, y pryd hwnw dan weinidogaeth Mr. John Roberts, yn awr o Gonwy. Yn fuan wedi i'r pump hyn gychwyn yr achos ymunodd Mr. William Powell (Gwilym Pennant), Mrs. Hughes (yn awr gweddw Caledfryn), Miss Rogers, Mrs. Wiggins, ac eraill â hwynt. Yr hyn yn benaf a barodd i'r cyfeillion hyn feddwl am ddechreu achos yma ydoedd, fod y capelau eraill mor bell, a'r ystyriaeth fod lluaws mawr o Gymry yn cyfaneddu yn y

gymydogaeth, y rhai ni allent neu ni fynent fyned iddynt i addoli. Aeth Mr. D. Griffiths a Miss Mary Rees i ymddiddan a Mr. Roberts, eu gweinidog, gyda golwg ar gychwyn yr achos, a chawsant bob calondid ganddo. Cymerodd Mr. Griffiths a Miss Rees, Belgrave Hall, Pimlico, at gynal y gwasanaeth, ac aethant ill dau yn gyfrifol am yr ardreth, a daeth Mr. Roberts yno ar un prydnawn Sabboth i bregethu am y tro cyntaf. Cyn y cyfarfod hwnw aeth Mr. Griffiths at bob Cymro y gwyddai am dano trwy Pimlico a Chelsea i'w hysbysu am y cyfarfod, ac aeth Miss Rees at bob Cymraes a adwaenai yn y lleoedd hyny i wneyd y peth yn hysbys iddynt hwythau. Pan ddaeth prydnawn y Sabboth daeth Mr. Roberts at ei gyhoeddiad, ac yr oedd yno o ddeuddeg i bymtheg yn ei wrandaw y waith gyntaf. Ennillodd yr achos dir yn raddol, ac yn fuan cafwyd cydweithrediad eglwysi y Borough a Fetter Lane a'u gweinidogion, Mr. D. Davies, a Mr. Owen Evans. Bu pob un o'r pregethwyr cynorthwyol Cymreig hefyd a breswylient yn Llundain yn gynorthwyol iawn i'r achos yn ei fabandod. Yn Rhagfyr, 1859, bu raid ymadael o Belgrave Hall, am fod ffordd haiarn newydd yn myned trwy y lle. Yn wyneb hyny gorfu i Mr. Griffiths a Miss Rees fyned i edrych allan am le arall, ac wedi cerdded a holi llawer, cawsant gapel bychan ar ardreth, a elwid Ebenezer yn Pavilion Road, Sloane Street, ac yno y buont yn addoli am ddeuddeg mlynedd. Tua yr amser y symudwyd i Ebenezer dewiswyd Mr. Edward Jones yn gyd-ddiacon a Mr. D. Griffiths, a bu yn cydweithredu ag ef am rai blynyddau. Yn fuan wedi hyny daeth Mr. Isaac Williams i'r brif ddinas, ac ymunodd a'r achos hwn, ac y mae yn parhau hyd y dydd hwn i fod o wasanaeth dirfawr iddo. Bu Mr. D. Griffiths a Miss Mary Rees a'u hysgwyddau yn ffyddlon dan yr achos nes i'w nerth gael ei ostwng ar y ffordd. Yn gynar yn y flwyddyn 1863 gwaelodd iechyd Miss Rees, fel y bu raid iddi fyned adref i Ddolgellau. Wedi dihoeni yno am ugain mis bu farw yn Hydref, 1864, yn 42 oed; ac yn Hydref, 1865, bu farw y ffyddlon a'r llafurus D. Griffiths, ar ol hir nychdod, yn 44 oed. Yr oedd llwyddiant yr achos hwn yn agos iawn at feddyliau y ddau hyd y diwedd. Wedi i Mr. D. Griffiths fyned yn analluog i fod o un gwasanaeth fel diacon, etholwyd Mr William Rees yn gyd-ddiacon a Mr. Isaac Williams, ac y mae y ddau yn cydweithio yn hyfryd hyd y dydd hwn. Gan fod les capel Ebenezer ar redeg allan cymerwyd les o un-flynedd-ar-bymtheg ar gapel arall, llawer mwy a harddach, yn yr un heol, yr hwn a elwir *Union Chapel*, a symudwyd yno yn Rhagfyr, 1871. Wedi myned i'r capel hwn dewiswyd Mr. John Edwards a Mr. W. E. Williams yn ddiaconiaid at y ddau oeddynt yn y swydd yn barod. Mae yr achos yma yn awr a golwg dra llewyrchus arno. Mae yr aelodau oddeutu 140 o nifer, a'r gwrandawyr yn dra lluosog. Ni bu yma un gweinidog sefydlog o ddechreuad yr achos hyd yn bresenol. Gweinidogion o Gymru sydd yn dyfod yma bob yn ail fis. Yr unig ofid sydd yma yn awr ydyw fod y gynnulleidfa ar golli ei chapel, yr hwn sydd i gael ei dynu i lawr er helaethu yr heol. Telir digon agos am dano i adeiladu capel newydd os gellir llwyddo i gael gan Iarll Cadogan, perchenog yr holl dir yn y gymydogaeth, i roddi tir at adeiladu. Er eu hanrhydedd y mae y Meistriaid W. Gordon a W. H. Smith, yr aelodau seneddol toriaidd dros Chelsea a Westminster, wedi ysgrifenu at ei Arglwyddiaeth i geisio ei berswadio i roddi tir. Yr ydym yn hyderu y llwyddir i'w gael, ac na chaiff y gynnulleidfa gynyddol a gobeithiol hon ei gwasgaru o eisiau lle i addoli.

## TABERNACL, LIVERPOOL.

Yn niwedd y ganrif ddiweddaf a dechreuad yr un bresenol, yr oedd ymfudo mawr o'r wlad hon i America; ac yr oedd ymfudo y pryd hwnw yn anturiaeth beryglus. Elent allan mewn llongau bychain—byddent ar y mor am fisoedd—torai clefydau allan yn eu plith, fel y byddai lluaws yn marw ar y fordaith—troid y llongau yn aml yn eu hol gan groeswyntoedd—ac yn fynych iawn collid y llongau a'r holl fywydau. Rhaid fod y caledi a'r gwasgfeuon a ddyoddefent yn y wlad hon yn ddirfawr cyn y penderfynent fyned er gwybod am yr helbulon blinion a gyfarfu ag eraill; ond dynion o benderfyniad cryf ac o ysbryd diymollwng oedd yr hen ymfudwyr driugain a chan' mlynedd yn ol; a da eu bod felly, oblegid dynion o'r fath oedd eisiau i gymeryd meddiant o'r byd newydd. Yn y flwyddyn 1800 daeth nifer o Gymry o Lanbrynmair a pharthau eraill y Dywysogaeth i Liverpool gyda bwriad i fyned i America. Cychwynasant allan, ond wedi bod am rai dyddiau ar y môr deallasant fod y llong yn gollwng dwfr, yr hyn a dueddodd y Cadben i droi yn ol am borthladd Liverpool, yr hwn trwy drafferth fawr a gyrhaeddasant. Ail anturiodd amryw o honynt i'r fordaith, ond arhosodd eraill yn Liverpool. Paham, nid oes genym ond dyfalu. Dichon iddynt ddigaloni i ail gychwyn wedi y perygl y buont ynddo, neu dichon nad oedd ganddynt ddigon o fodd i'w cludo drosodd wedi gwario yr ychydig oedd ganddynt yn y dref wrth gael eu cadw yn hwy na'u bwriad, neu dichon i ragluniaeth agor y drws i gael rhywbeth i'w wneyd yn Liverpool. Beth bynag oedd yr achos, yno yr arosasant; ac yr oedd llaw gan Ragluniaeth ddwyfol yn hyn, yr oeddynt yn "llestri etholedig" i gyflawni amcanion gogoneddus yr Anfeidrol. Hwynt hwy oedd i fod yn offerynau i blanu yr hedyn sydd erbyn hyn wedi dyfod yn bren mawr, a chanoedd Annibynwyr Cymreig Liverpool yn nythu yn ei ganghenau ef. Yn eu plith yr oedd un Thomas Rees a'i deulu, a John Thomas o sir Aberteifi. Ni wyddom ddim yn ychwaneg am y ddau wr yma, ac ni wybuasem byth eu henwau oni bai fod a fynent a chychwyniad Annibyniaeth yn y dref.

Gan eu bod wedi ymarfer a moddion gras yn Nghymru, teimlent yn fawr oblegid eu hymddifadrwydd presenol. Nid oeddynt ond pobl anllythrenog, heb ddeall dim ond Cymraeg, fel nas gallasai gweinidogaeth Seisnig fod o ddim budd iddynt. Yr oeddynt mewn ystyr grefyddol yn nhir sychder mawr. Ond nid hir y buont heb ymwasgu at eu gilydd; dechreuasant gynal cyfarfodydd i gydweddio yn nhy Thomas Rees yn Cavendish Street. Nid oeddynt ond ychydig o nifer, ond deuent at eu gilydd unwaith neu ddwy bob wythnos, heblaw y Sabboth. Daeth Cymry eraill oedd yn y dref yn fuan i wybod am danynt, ac i ymuno a hwy. Cyrchai rhai yno o gywreinrwydd, oblegid yr oedd y fath gynnulliadau yn bur anghyffredin yn y dyddiau hyny; a deuai eraill yno oblegid eu bod yn gweled fod yr Arglwydd yn eu plith. Yr oedd yn eu plith bregethwr cynorthwyol o'r enw Edward Evans, yr hwn a bregethai iddynt yn achlysurol. Nis gwyddom ddim o'i hanes, nac o ba le y daethai atynt, na pha hyd y bu gyda hwynt; ond gadawodd hwy ac ymunodd a'r Wesleyaid.

Nid ydym yn gwybod pa cyhyd y buont cyn cael neb o Gymru i bregethu iddynt, ond yn mysg y gweinidogion cyntaf a ymwelodd a hwy cawn enw-

au y Meistri John Evans, Amlwch, ac Abraham Tibbot. Byddent yn cadw cyfarfodydd weithiau yn Union Court, Bannister Street, a chadwyd amryw oedfaon yn nghapel Mr. McPherson yn Maguire Street, yr hwn yn garedig a fenthycid iddynt. Wedi bod yn cynal eu moddion am ryw gymaint o amser o dy i dy cymerasant ystafell eang mewn ystordy (*warehouse*) yn Beckwith Street, allan o Park Lane. Yma yr ymgyfamodasant yn eglwys, ac y cyfranogasant gyntaf o'r swper sanctaidd. Heblaw y ddau weinidog a enwyd yn flaenorol, ymwelid a hwy yn mysg y rhai cyntaf o'r gweinidogion gan y Meistri Daniel Evans, Bangor (Mynyddbach wedi hyny), a D. Davies, Treffynon. Adroddai Mr. Evans, Amlwch, wrth Mr. Ambrose, Porthmadog,* mai efe a gymerodd yr ystafell gyntaf dan ardreth i'r Annibynwyr Cymreig i addoli yn y dref; a phan y gofynodd y boneddwr oedd yn ei gosod pa sicrwydd oedd ganddo y cai ei arian, atebodd Mr. Evans y talai ei feistr, a boddlonodd y boneddwr ar hyny o sicrwydd. Tebygol mai yr ystafell yn Beckwith Street oedd hono. Ni bu eu harosiad yn yr ystafell hono yn hir. Cynyddodd y gwrandawyr, ac edrychai yr achos ieuangc i fyny yn obeithiol iawn; ac i gyfarfod ag agwedd gynyddol pethau, cymerasant yr hen gapel bychan yn Edmund Street, am yr ardreth blynyddol o 30p. Capel perthynol i'r Wesleyaid Seisnig ydoedd, a chanddynt hwy y cymerent ef o flwyddyn i flwyddyn. Mae yr hen gapel ar ei draed etto, ond ei fod yn wael ei wedd ac wedi myned trwy lawer o gyfnewidiadau. Capel pur gul, lled hir ydyw. Teimlai yr eglwys fechan ei bod yn awr yn dyfod dipyn i'r golwg, ac y gallasai godi ei phen. Daethant i feddwl am gael gweinidog iddynt eu hunain, a rhoddasant alwad i Mr. John Jones, Ceirchiog, Mon; a daeth Mr. Jones atynt yn 1803. Bu dyfodiad Mr. Jones atynt yn adfywiad mawr i'r achos bychan. Yr oedd yn ddyn bywiog a siriol, yn meddu dawn cynes a selog, ac yn cymeryd dyddordeb mawr yn mhobl ei ofal. Yr oedd cof parchus gan yr hen bobl am "Jones bach" Edmund Street, fel y galwent ef. Yr oedd gwresogrwydd ei ysbryd a serchogrwydd ei dymer yn peri ei fod yn cael ei garu gan y Methodistiaid, y rhai oeddynt o flaen yr Annibynwyr yn y dref, ac wedi codi capel cyfleus yn Pall Mall. Ni bu yr achos bychan yn Edmund Street heb gyfarfod ag awelon croesion, a chwythodd ystorm mor gref unwaith fel yr ofnid am fywyd yr achos. Nid oedd Mr. Jones heb ei golliadau mwy nag eraill; ond y mae achosion bychain newyddion, yn enwedig mewn trefydd mawrion, wedi goddef yn benaf oddiwrth ddynion "anhywaeth a drygionus" sydd yn ymwthio iddynt. Ni chafodd y ddeadell fechan yn Edmund Street ei chadw yn hollol rhag bleiddiaid blinion. Methasom a chael sicrwydd a rwygasant yr eglwys yn weithredol, ond yr ydym yn sicr iddynt beri llawer o flinder ar y pryd; ond adferwyd heddwch pa fodd bynag, ac aeth pethau yn mlaen yn bur gysurus. Yn y flwyddyn 1807 yr ydym yn cael fod rhifedi yr aelodau yn naw-a-deugain.

Yn y flwyddyn 1810 y dechreuodd yr ysgol Sabbothol yn Edmund Street. Nid oedd ei dechreuad ond bychan. Egwan oedd yr eglwys, ac nid oedd pawb o honynt yn ffafriol i'w chychwyniad. Ac yr oedd anfantais arall yn cyfodi oddiar fod gan y Methodistiaid Calfinaidd ysgol flodeuog yn eu hymyl yn Pall Mall. Ond trwy ymroddiad, a diwydrwydd, a

* Yn Nhremadog gyda pherthynasau iddo y treuliodd Mr. Evans ei flynyddoedd diweddaf, felly yr oedd Mr. Ambrose mewn cyfle i gael ganddo hanes cychwyniad yr achos.

ffyddlondeb, cynyddodd yr ysgol fel yr oedd arwyddion amlwg o foddlonrwydd yr Arglwydd ar eu llafur. Wedi llafurio yn ddiwyd am yn agos i ddeuddeg mlynedd, a gweled nad oedd ei lafur yn ofer yn yr Arglwydd, oblegid yr oedd nifer yr aelodau erbyn diwedd y flwyddyn 1813 wedi cynyddu i bump-a-thriugain; derbyniodd Mr. Jones alwad oddiwrth yr eglwys Gynnulleidfaol oedd newydd ei sefydlu yn Talgarth, a symudodd yno yn gynar yn 1814, ac yno y llafuriodd tra y daliodd ei iechyd, ac y bu farw Ionawr 29ain, 1843. Bu yr eglwys yn amddifad o weinidog am y tair blynedd canlynol, ond nid yn amddifad o weinidogaeth. Yr oedd yr athrofa sydd yn awr yn Aberhonddu y pryd hwnw yn Wrecsam, dan ofal Dr. George Lewis, ac ymwelai yr athraw a'r myfyrwyr â'r cyfeillion yn Edmund Street yn aml iawn. Yn yr adeg hono mwynhawyd ganddynt hefyd yn achlysurol weinidogaeth y Meistri J. Griffith, Caernarfon; W. Hughes, Dinasmawddwy; B. Evans, Bagillt; D. Jones, Treffynon; J. Roberts Llanbrynmair; W. Williams, Wern; D. Morgan, Machynlleth; A. Jones, D.D., Bangor; M. Jones, Llanuwchllyn, ac eraill. "Y tadau, pa le y maent hwy?" Mae y cedyrn yna oll wedi syrthio. Yr oedd yr achos drwy y blynyddoedd hyn yn myned rhagddo yn raddol, cynyddai yr aelodau a lluosogai y gwrandawyr.

Yn nechreu y flwyddyn 1815 penderfynasant o herwydd eu bod wedi amlhau mewn rhifedi ac yn gwella yn eu hamgylchiadau, y mynent ddyfod yn fwy i'r amlwg, a chael capel helaethach iddynt eu hunain mewn lle mwy cyfleus. Y mis Mawrth canlynol dechreuasant o ddifrif i wneyd ymdrech i gasglu, fel y byddai ganddynt arian mewn llaw cyn dechreu adeiladu. Fel pobl ddoeth a synwyrol eisteddasant i lawr i fwrw y draul cyn dechreu adeiladu. Cyfranasant yn haelionus yn eu plith eu hunain, a rhoddwyd llyfrau bychain yn llaw pawb o'r aelodau a'u cymerai i gasglu ceiniog yr wythnos neu fwy oddiwrth bawb a welai yn dda eu cynorthwyo. Yr oedd yno bawb yn gweithio, ac yn gweithio yn orchestol, oblegid cyn pen dwy flynedd yr oedd 400p. yn eu trysorfa. Ardderchog yn wir! Nid oeddynt ond 70 o aelodau, ac yn dlodion gan mwyaf; ond drwy gyfranu eu hunain yn ol eu gallu, a thuhwnt i'w gallu, a chael cynorthwy cyfeillion y tuallan iddynt eu hunain, gwnaethant i fyny y swm anrhydeddus a nodwyd. Tynodd eu ffyddlondeb a'u llafur sylw yr Annibynwyr Seisnig yn y dref. Un o'r rhai cyntaf fu yn nodded iddynt oedd Dr. Thomas Blackburn, meddyg cyfrifol yn y dref, a diacon parchus yn nghynnulleidfa Bethesda, Hotham Street, ac wedi hyny yn y Crescent, a daeth eraill allan gyda Dr. Blackburn i fod yn gynorthwyol iddynt.

Dechreuwyd edrych allan am le i adeiladu. Ni fynent feddwl am fyned yn mhell o gymydogaeth Edmund Street, oblegid yn y parth hwnw o'r dref yr oedd y Cymry yn gwladychu. Cafwyd darn o dir ar gongl Marybone a Great Crosshall Street; ond gwrthwynebai llawer fyned mor bell o ganol y Cymry. Am le yn Oldhall Street y buont yn edrych, ac yr oedd lle i'w gael heb fod yn mhell o'r *Exchange*, ond eu bod yn gofyn pris uchel yn eu tyb hwy am dano. Beth bynag, penderfynwyd ar gongl Great Crosshall Street. Tir *waste* oedd y pryd hwnw agos yr holl ffordd hyd Byrom Street a Scotland Road, a phwll dwfr mawr yn y llecyn lle y saif y capel yn awr. Prynwyd y tir gan Dr. Blackburn a Mr. Barton Haigh, yr hwn a fesurai tua 360 o latheni ysgwar, am bunt y llath, a chyflwynasant ef drosodd i ymddiriedolwyr yn cynwys heblaw hwy eu dau y Meistri Peter Samuel Charrier a Thomas Raffles, gweinidogion yr

efengyl, yn nghyd a John Job, Robert Bolton, Ormerod Heyworth, Timothy Bourne, Thomas Everard, Frederick Rowlinson, Mathew Roberts, Edward Hughes, a Robert Pritchard. Nid ydym yn gwybod fod yr un o'r ymddiriedolwyr yn perthyn i'r eglwys. Gallem gasglu oddiwrth eu henwau fod y tri olaf ar y rhestr yn Gymry, er nad oes genym ddim gwybodaeth am y ddau a enwir ddiweddaf. Am Mathew Roberts, Cymro ydoedd efe, ac nid oes ond ychydig flynyddoedd er y bu farw. Yr oedd yn ddiacon yn eglwys y Crescent. Bu ef yn garedig iawn i'r achos Cymreig. Rhoddodd fenthyg arian ar gapel y Tabernacl; a thua'r flwyddyn 1851 pan oedd yr eglwysi Cymreig yma ar gychwyn ymdrech y Jubili maddeuodd 250p. o arian oedd yn ddyledus iddo, gyda chwe' mis o lôg. Ac yn ei ewyllys gadawodd 500p. i'r eglwysi Cymreig, y rhai a dalwyd trwy law ei lysfab Isaac Oliver Jones, Ysw., (cyfreithiwr yn y dref hon,) a rhanwyd y 500p. yn gyfartal rhwng y pump eglwys Cymreig yn Liverpool a Birkenhead.

Wedi gwneyd y parotoadau angenrheidiol gosodwyd i lawr gareg sylfaen y capel newydd gan Dr. T. Raffles yn mis Ebrill, 1817. Galwyd ef Y TABERNACL. Areithiodd Dr. Raffles ar yr achlysur, a'r Meistri W. Williams o'r Wern, a John Elias,* yn Gymraeg. Mesurai oddifewn i'r muriau 60 troedfedd wrth 45 troedfedd, ac oriel oddiamgylch iddo, ac yr oedd wedi ei adeiladu yn gryf. Ond yn mhen blynyddoedd wedi ei adeiladu y codwyd yr oriel y tu cefn i'r pulpud. Costiodd 2,700p. ac yn ol fel y mae capeli yn myned y dyddiau hyn yr oedd yn rhad iawn. Yr oedd yn gapel mawr yn y dyddiau hyny, y mwyaf a feddai yr Annibynwyr Cymreig. Er fod yr oriel a'r pulpud yn uchel, etto ystyrid ef gan bawb yn un o'r hen gapelau mwyaf cysurus i bregethu a gwrando ynddo. Adeiladwyd ef gyda brys mawr fel yr oedd yn barod i'w agor erbyn yr amser apwyntiedig.

Rhaid i ni gofio fod yr eglwys yn gwneyd hyn i gyd, ac ar yr un pryd yn amddifad o weinidog; ond tra yn parotoi at gael capel newydd ac yn casglu yn egniol, yr oeddynt hefyd yn edrych allan am un i'w bugeilio. Wedi ymgynghori a Dr. George Lewis, y Meistri Williams o'r Wern, a Jones Treffynon, ac eraill, daethant i'r penderfyniad i roddi galwad i Mr. John Breese, myfyriwr yn athrofa Llanfyllin y pryd hyny, yr oedd wedi ei symud o Wrecsam yno ychydig cyn hyny. Cydsyniodd Mr. Breese a'r alwad, a dechreuodd ei weinidogaeth yn Mehefin, 1817, yn y cyfwng rhwng sylfaeniad ac agoriad y capel. Dechreuodd Mr. Breese ar ei waith o ddifrif yn Edmund Street. Bu yn pregethu yno am oddeutu pedwar mis.

Agorwyd y Tabernacl Medi 4ydd, 1817. Pregethodd Dr. Raffles, Dr. Stewart, a Mr. Peter S. Charrier. Yr oedd y Saeson wedi bod mor noddedig o garedig, a hwythau yn dibynu yn benaf arnynt am wrandawyr ac arian fel mai yn yr iaith Seisnig y dygwyd yn mlaen y gwasanaeth cyntaf yn y capel newydd. Yr oedd hwn yn ddydd "o lawen chwedl" iddynt. Yr oedd cael eu hunain yn y fath deml orwych yn addoli, a phrif weinidogion yn Saeson yn gweini iddynt, yn beth na ddychmygodd calon yr "ychydig bobl druain dlodion" a ymgasglent at eu gilydd yn Cavendish

* Cawsom sicrwydd fod Mr. Elias yno, ac yn areithio, gan Mr. Samuel Jones, hen flaenor parchus yn Pall Mall, yr hwn oedd bresenol ar y pryd. Mae yn cofio ei fod yn dyweyd "ei fod yn gobeithio y byddai y wir athrawiaeth i gael ei phregethu yno byth, ac na oddefid i heresiau dinystriol gael eu dwyn i mewn."

Street y gwelent ef byth. Y Sabboth canlynol pregethwyd yn Gymraeg gan Mr. Breese ei hun.

Yn y mis canlynol, Hydref 12fed, yr oedd cyfarfod urddiad Mr. Breese i gyflawni y weinidogaeth. Hwn a ystyriai y Cymry yn gyfarfod agoriad y capel, oblegid yn awr yr oeddynt yn mwynhau gweinidogaeth hen weinidogion Cymru, am y rhai yr oeddynt bob amser yn dyheu. Ar yr achlysur pregethwyd ar natur eglwys gan Mr. J. Roberts, Llanbrynmair. Holwyd y gofyniadau arferol gan Mr. W. Hughes, Dinasmawddwy. Dyrchafwyd yr urdd-weddi gan Mr. D. Jones, Treffynon. Pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan Mr. Roberts, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. W. Williams, Wern. Pregethwyd hefyd gan y Meistri R. Everett, Dinbych; B. Evans, Bagillt; R. Williams, Rhesycae; J. Davies, Aberhafhesp, a D. Griffiths, Talysarn.* Casglwyd yma yn fuan gynnulleidfa luosog, a llafuriodd Mr. Breese yn galed yn y lle am fwy na dwy-flynedd-ar-bymtheg. Pregethai dair gwaith bob Sabboth ac unwaith bob wythnos, ac wedi dechreu yr achos yn Watkinson Street, yn y pen deheuol i'r dref, yn 1827, bu yn cyrchu yno i bregethu bob nos Fawrth am fwy na blwyddyn. Yr oedd baich trwm o ddyled yn aros ar y capel, ac yn y flwyddyn 1825 aeth Mr. Breese i Lundain i gasglu, a bu yno am fwy na blwyddyn, ac heb fod yn llwyddianus iawn yn ei neges. Gwasanaethid yma yn ei le gan Mr. Evan Davies (Eta Delta), a dywedir na bu Mr. Breese byth mor gysurus yma ar ol hyny. Yn niwedd 1834 derbyniodd alwad o Heol Awst, Caerfyrddin, a symudodd yno i ddechreu ei weinidogaeth y Sabboth cyntaf yn Ionawr, 1835.

Wedi bod flwyddyn a haner heb weinidog rhoddwyd galwad i'r enwog William Williams o'r Wern, a dechreuodd ei weinidogaeth yma yn mis Hydref, 1836, a siriolodd calon yr holl eglwys ar ei ddyfodiad. Er fod yma gynnulleidfa luosog nid oedd rhifedi yr eglwys ar gychwyniad ei weinidogaeth yma ond 256, ond cynyddodd yn gyflym. Ychwanegid rhai at yr eglwys bob mis; adfywiwyd yr achos yn ei holl ranau, ac ni bu tair blynedd yn hanes yr eglwys mor llwyddianus a'r tair blynedd y bu ef yma. Ond gwaelodd ei iechyd a bu raid iddo ddychwelyd i'r wlad yn Hydref, 1839. Yr oedd yr eglwys erbyn hyny wedi lluosogi i fwy na 400 mewn nifer, ac wedi ymgodi yn fawr mewn moesoldeb, ac ysbrydolrwydd crefydd. Bendithiwyd yr eglwys yn y cyfnod yma a diwygiad grymus; a choffeir yn barchus am ymweliad Mr. B. W. Chidlaw o America, a Mr. W. Williams, Llandilo, a'r lle. Hoffwyd Mr. Williams mor fawr fel y rhoddwyd galwad iddo ef i ddyfod yma yn weinidog, ond dewisodd yn hytrach aros gyda'i gyfeillion yn sir Gaerfyrddin. Yn yr adeg yma penderfynwyd helaethu terfynau yr achos, ac adeiladwyd capel Salem, ac wedi ei gael yn barod yn Mehefin, 1841, aeth dros 150 o'r Tabernacl yno i ddechreu yr achos, y rhai gydag ychydig nifer o Bethel a gorpholwyd yn eglwys.

Parodd ymadawiad cynifer o aelodau gyda llawer o wrandawyr gryn ysigdod i'r achos yn y Tabernacl, ond yr oedd yno er hyny eglwys gref; ac yn nechreu y flwyddyn 1843 rhoddwyd galwad i Mr. William Rees, Dinbych, a dechreuodd yntau ei weinidogaeth yma y Sabboth cyntaf yn Mai y flwyddyn hono. Yr oedd nifer yr eglwys ar ei sefydliad yma uwchlaw

* *Evangelical Magazine*, 1818. Tudalen 34.

300 ac yn fuan lluosogodd y gynnulleidfa fel mai prin y gwelid lle y rhai a ymadawsant. Bu y blynyddoedd 1847 a 1848 yma yn flynyddoedd o fethiant masnachol fel y gorfodwyd canoedd o'r Cymry i adael y dref, yr hyn o angenrheidrwydd a effeithiodd ar yr holl gynnulleidfaoedd. Yr oedd beichiau trymion o ddyled yn aros, yn enwedig ar Salem a Birkenhead, ac yn 1852, yn mhen haner can' mlynedd i gychwyniad yr achos gwnaed ymdrech gyffredinol i ysgafnhau y ddyled, a llwyddwyd i gael ymwared o ran fawr o'r baich. Wedi llafurio am ddeng mlynedd yma yn barchus a phoblogaidd, derbyniodd Mr. Rees alwad o Salem, a dechreuodd ei weinidogaeth yno y Sabboth cyntaf yn Mai, 1853.

Cyn diwedd y flwyddyn hono rhoddodd yr eglwys hon alwad i Mr. John Thomas, Glynnedd, Morganwg, a dechreuodd ei weinidogaeth yma y Sabboth cyntaf yn Mawrth, 1854, ac wedi cael help gan Dduw y mae yn aros hyd y dydd hwn. Yr oedd nifer yr eglwys ar ei sefydliad yma yn 227. Gwnaed ymdrech dioed i dalu y gweddill o'r ddyled, 300p., oedd yn aros, heblaw 100p. o draul yr aed iddo i adgyweirio y capel, a chyn diwedd haf 1856 yr oedd yr holl ddyled wedi ei thalu. Cynyddodd yr eglwys yn raddol, ac yn y flwyddyn 1859-60 cafwyd yma adfywiad grymus fel y cynyddodd nifer yr eglwys i fwy na 400 o aelodau. Teimlwyd fod angen achos yn y pen gogleddol i'r dref, a chymerwyd ystafell yno yn nechreu 1858 gan nifer o gyfeillion i gadw ysgol Sabbothol a phregethu yn achlysurol, yr hyn oedd cychwyniad yr achos blodeuog sydd yn awr yn Great Mersey Street; ac yn mhen dwy flynedd ffurfiwyd yn agos i 60 o aelodau y Tabernacl, gydag ychydig o Salem, yn eglwys yno. Parodd ymadawiad cynifer gryn wagder yn yr hen gapel; ac yn enwedig wrth weled fod y Cymry yn gadael gwaelod y dref, a bod tair rhan o bedair o'r gynnulleidfa yn dyfod o ranau uchaf y dref, penderfynwyd yn 1866, ar ol hir siarad ac ymgynghori, i symud o'r hen gapel, ac adeiladu un arall yn uwch i fyny yn y dref. Cafwyd darn o dir yn Netherfield Road South, ar waelod Brow Side, ac adeiladwyd arno gapel hardd, yn mesur 73 troedfedd wrth 48 y tu fewn i'r muriau, yr hwn yn nghyd a'r tir a gostiodd 6500p. Agorwyd ef y Sadwrn a'r Sabboth a'r Llun olaf yn Ionawr, 1868, a pharhaodd gwasanaeth yr agoriad hyd y nos Sabboth canlynol. Traddodwyd y bregeth gyntaf ynddo gan yr hybarch D. Williams, Troedrhiwdalar, a dechreuwyd yr oedfa gan Mr. Henry Rees, gweinidog parchus y Methodistiaid yn y dref, a therfynwyd gan Mr. W. Griffith, Caergybi. Llwyddwyd i werthu yr hen gapel a chafwyd 2000p. am dano, a thrwy gydweithrediad yr eglwys y mae y ddyled erbyn hyn (diwedd 1874) wedi ei thynu i lawr i 2300p., ac ychydig o flynyddoedd etto o weithio cyffelyb a bydd y ddyled wedi ei llwyr dd leu. Mae yr eglwys yn awr yn rhifo dros 370 o aelodau, a'i chasgliadau rheolaidd yn uwch o lawer nag y buont mewn unrhyw gyfnod blaenorol yn ei hanes.

Codwyd y personau canlynol i bregethu yn yr eglwys hon.

Richard Owen. Daeth yma o sir Fon, a chefnogwyd ef gan Mr. Breese i ddechreu pregethu. Urddwyd ef yn Ebenezer, gerllaw Llanbedr, ond wedi bod yno ychydig flynyddoedd, enciliodd i'r Eglwys Sefydledig.

John Parsons. Bu yn athrofa Hackney. Urddwyd ef yn 1840 yn Brierly Hill yn swydd Stafford. Bu yno ddeng mlynedd, ac yna symudodd i Bromsgrove. Bu yno drachefn ddeng mlynedd mewn gwendid

mawr, a gwelodd aml a blin gystuddiau. Yn Medi, 1861, derbyniodd alwad o Lapford, swydd Devon, ac wedi bod yn nychu am fisoedd bu farw Mawrth 29ain, 1864, yn 52 oed, a chladdwyd ef yn mynwent y capel lle y llafuriodd. Yr oedd yn ddyn deallgar, o dymer heddychol a chrefyddol, a'i weinidogaeth yn mhob man lle y bu yn dra derbyniol a chymeradwy.

William Williams. Addysgwyd ef yn athrofa y Bala. Urddwyd ef yn Brymbo, ond y mae er's blynyddoedd bellach yn byw yn Beaumaris, heb ofal eglwysig, ond yn pregethu bob Sabboth.

Hugh Hughes. Aeth ef i America, ond nid yw yn pregethu er's blynyddoedd.

Evan H. Evans. Dechreuodd bregethu yn 1857. Addysgwyd ef yn athrofa Aberhonddu. Urddwyd ef yn Nhreforis, ac y mae yn awr yn Nghaernarfon, a'i enw mor adnabyddus fel nad rhaid iddo wrth lythyr canmoliaeth.

William J. Webster. Dechreuodd bregethu yn 1869. Addysgwyd ef yn athrofa Aberhonddu, ond oblegid gwaeledd ei iechyd ymfudodd i Awstralia lle y mae wedi ei urddo yn weinidog.

Owen Thomas. Mab y gweinidog presenol. Dechreuodd bregethu yn 1871. Mae yn awr yn fyfyriwr yn Manchester, yn athrofa swydd Lancaster.

Mae llawer o ddynion nodedig am burdeb eu cymeriad a'u gweithgarwch crefyddol wedi bod yn nglyn a'r eglwys hon o'i dechreuad. Nid ydym yn gwybod ond ychydig am y rhai fu yn perthyn iddi yn y pum'-mlynedd-ar-hugain cyntaf o'i hanes. Coffeir yn barchus am enw Thomas Llwyd fel dyn o grefydd loyw, ac o foesoldeb uchel, ac yn hynod o fanwl mewn dysgyblaeth. Joseph Jones, Price Street, a fu yn golofn gref i'r achos am lawer o flynyddoedd. Yr oedd mewn amgylchiadau bydol uwch na neb arall yn yr eglwys, yr hyn yn ychwanegol at ei gymeriad diargyhoedd a roddai iddo ddylanwad mawr. Yr oedd yn benderfynol a didroi yn ol yn mhob peth yr ymaflai ynddo. Gwaelodd ei iechyd, a bu farw o'r darfodedigaeth yn 1844, pan nad oedd ond 50 oed. Richard Jones oedd ffyddlon a gofalus yn mhob peth, a bu yn geidwad y capel am dymor hir. David Beynon oedd wr da a chywir, ond yn lled sych a chwta yn ei ffordd. Hugh Hughes a fu yn nglyn a'r achos yma am oes hir, ac a weinyddodd fel ysgrifenydd i'r eglwys am y rhan fwyaf o haner can' mlynedd. Yr oedd ei sel yn fawr dros yr achos, ond fel llawer o'i oes yr oedd yn lled lawdrwm ar bobl ieuaingc, a newydd ddyfodiaid. Cafodd fyw o gryfder hyd 80 oed, a bu farw yn gynar yn y flwyddyn 1854. Richard Evans a fu yma am lawer o flynyddoedd yn ddiacon gofalus. Daeth yma yn ieuangc o gymydogaeth Llanrwst, a chadwodd ei gymeriad yn loyw hyd y diwedd. Yr oedd yn ddyn synwyrol a deallgar, ac yn fedrus mewn cyfeillachau eglwysig. Bu yn gwaelu yn mlynyddoedd olaf ei oes, a bu farw yn niwedd 1859 pan nad oedd ond ychydig dros haner cant oed. John Edwards oedd wr ffyddlon, ac yn meddu ar ddawn gweddi tra effeithiol. Evan Owens a ddaeth yma tua'r flwyddyn 1843, o Nebo gerllaw Llanrwst, lle yr oedd wedi bod yn aelod a diacon. Yr oedd yn ddyn o deimladau cryfion a dwys, yn meddu gwybodaeth ysgrythyrol helaeth, ac yn effeithiol, ac weithiau yn angerddol, fel siaradwr, yn enwedig pan yn anerch pobl ieuaingc. Yr oedd yn onest a chywir yn mhob peth, ac yn haelfrydig ei galon a'i law. Yr oedd ei ewyllys tua thŷ ei Dduw, a chydag adeiladu y Tabernacl

newydd ni bu neb yn fwy selog a gweithgar. Yr oedd wedi meddwl cael byw i fwynhau a gwasanaethu crefydd ynddo, ond siomwyd ei holl ddisgwyliadau. Bu farw yn haf 1868, yn 51 oed. Gallasem gyfeirio at eraill y tu allan i gylch y diaconiaid, y rhai fu yn nodedig am eu ffyddlondeb.

Cyfarfu yr eglwys a gwahanol dymhorau, ac ar adegau chwythodd awelon cryfion drosti, ac fel y gallesid disgwyl mewn lle y mae cynifer yn myned ac yn dyfod, ni ddiangodd heb gyfarfod a dynion aflonydd ac anhywaeth, y rhai a beryglent ei heddwch, ac a wnaent eu goreu i ddyrysu ei chynlluniau; ond cadwodd trwy y cwbl heb ymraniad gweithredol; ac aeth yr holl ganghenau allan o honi yn y teimladau mwyaf caredig, a chyda dymuniadau goreu corff yr eglwys. Mae yr eglwys yn awr yn mwynhau heddwch mawr; a chan rodio yn ofn yr Arglwydd ac yn niddanwch yr Ysbryd Glan, y mae yn amlhau.

Diaconiaid presenol yr eglwys ydynt y Meistri Richard Jones, Hugh Mathews, David Roberts, Robert Davies, a John Davies.*

## PARK ROAD, LIVERPOOL.

O gylch y flwyddyn 1827, wrth weled y Cymry yn amlhau yn y pen deheuol i'r dref, meddyliodd amryw o'r aelodau perthynol i'r Tabernacl, Great Crosshall Street, fod yr adeg wedi dyfod i gychwyn ail achos Annibynol Cymreig yn y dref. Cymerwyd llofft uwchben ystabl yn Watkinson Street, ac ymunodd ychydig o frodyr i ofalu am y lle. Erbyn diwedd y flwyddyn 1827 yr oedd eu nifer yn un-ar-bymtheg. Mae yn werth cadw eu henwau ar gof. Evan Hughes, Daniel Owens, George Owens, William Roberts, John Williams, Robert Price, Owen Owens, David Price, Margaret Roberts, Margaret Price, Ellen Roberts, Ellen Sanbrook, Margaret Owens, Emma Johnson, Ellen Morgan, ac Elizabeth Parry. Nid oes o'r rhai uchod yn aros ond Mrs. Owens (Emma Johnson), gweddw y diweddar Mr. George Owens, yr hwn am flynyddau meithion a fu yn ddiacon gweithgar a gofalus yn yr eglwys. Cadwent eu haelodaeth yn y Tabernacl, ac elent yno i gymundeb; ond byddai ganddynt yn Watkinson Street ysgol a chyfarfod gweddi bob Sabboth, a deuai Mr. Breese atynt bob nos Fawrth i bregethu am yspaid deunaw mis. Llafuriodd y brodyr uchod yn ddiwyd i gasglu y Cymry yn nghyd, ac aeth yr ystafell fechan yn rhy gyfyng iddynt. Wedi eu calonogi gan eu llwyddiant edrychasant allan am le mwy cyfleus. Cafwyd *yard* yn Greenland Street, a chan fod y muriau i fyny yn barod, cymerwyd hono o dan ardreth blynyddol o 18p. Taflwyd tô drosti, a gwnaed y gwaith coed angenrheidiol oddimewn, yr hyn a gostiodd 300p. Agorwyd y capel ddydd Nadolig, 1828, pryd y pregethwyd gan Mr. Breese a Mr. Evans, Bagillt. Wedi cael capel newydd corpholwyd yr ychydig aelodau yn eglwys Annibynol, a dewiswyd Robert Jones a George Owens yn ddiacon-

* Yn y flwyddyn 1842 cynygiodd "Cymdeithas y Gwyr Ieuaingc" yn Liverpool, wobr, am y traethawd goreu ar "Ddechreuad a Chynydd yr Eglwysi Cymreig yn Liverpool." Y buddugol oedd "Un o honynt," Mr. Thomas Nicholas (Dr. Nicholas yn awr), yr hwn oedd ar y pryd yn yr ysgol yn Liverpool. Mae y traethawd hwnw yn awr ger ein bron, yn llaw ysgrif yr awdwr, ac iddo yr ydym yn ddyledus am y rhan fwyaf o ddefnyddiau yr hanes uchod, yn gystal ag am rai ffeithiau yn nglyn a hanes yr eglwysi eraill yn y dref.

iaid. Yr haf canlynol, gan hyderu ar addewid o gynorthwy gan y fam eglwys anturiasant roddi galwad i Mr. John Jones, myfyriwr o athrofa Hackney, Llundain, i fod yn weinidog iddynt. Nifer aelodau yr eglwys oedd dau-ar-bymtheg. Urddwyd ef Hydref 20fed, 1829. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Meistri J. Breese, J. Griffith, Manchester; D. Roberts, Dinbych, ac A. Jones, Bangor. Blwyddyn y bu Mr. Jones yma. Symudodd i Preshenlle, gerllaw Croesoswallt, yn Hydref, 1829; ond yr oedd yr eglwys yn mlwyddyn ei arosiad yma wedi cynyddu i 32. Wedi bod flwyddyn heb weinidog rhoddwyd galwad i Mr. Thomas Pierce, aelod a phregethwr cynorthwyol parchus, perthynol i'r eglwys yn Ninbych. Urddwyd ef yn y Tabernacl, Rhagfyr 24ain, 1832. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Meistri J. Breese, W. Williams, Wern; D. Roberts, Dinbych; E. Williams, Llansantsior; R. Rowlands, Henryd, a W. Rees, Mostyn. Nifer yr eglwys ar sefydliad Mr. Price oedd 38, ond trwy ei ymroddiad ef a'r aelodau, a bendith yr Arglwydd ar eu llafur, yr oedd eu nifer yn mhen pum' mlynedd yn 94. Teimlai yr eglwys erbyn hyn y dylasai gael lle eangach a mwy cyfleus i addoli, a sicrhawyd darn o dir i'r perwyl yn Bedford Street (Beaufort Street yn awr), a gosodwyd y gareg sylfaen i lawr yn mis Awst, 1837, gan Mr. D. Morgan, y pryd hwnw o Fanchester ac wedi hyny o Lanfyllin, ac agorwyd y capel Mai 6ed, 1838, pryd y pregethwyd gan Mr. Pierce a Mr. Pugh, Mostyn. Galwyd ef Bethel. Costiodd 2200p. a theimlid ei fod yn faich trwm ar ysgwyddau gweiniaid. Hyd yn hyn yr oedd y fam eglwys yn ei chynorthwyo i gynal y weinidogaeth, ond wedi i'r eglwys fyned i'w chapel newydd taflwyd hi yn hollol ar ei hadnoddau ei hun, a bu hyny yn help iddi i ddadblygu ei nerth yn ychwanegol. Gwelodd yr achos yma wahanol dywydd. Mwynhaodd adfywiad grymus yn 1840 pryd yr ychwanegwyd llawer at yr eglwys. Bu y blynyddoedd 1847-48 yn flynyddoedd o fethiant masnachol mawr, yr hyn a effeithiodd yn fawr ar yr eglwys oedd dan faich o ddyled o 1300p. heblaw cynal yr achos. Ni ddiangodd heb gael ei blino gan ddynion hyf ac anhywaeth, ond daliodd yr achos ei dir er pob peth. Yn mlwyddyn Jubili yr achos Cymreig yn y dref, symudwyd ymaith 500p. o ddyled y capel. Erbyn dechreu y flwyddyn 1857 yr oedd y ddyled wedi ei thynu i lawr islaw 500p., a phenderfynwyd i'w llwyr ddileu cyn fod y capel yn ugain oed. Dechreuwyd arni o ddifrif. Trwy gydweithrediad yr eglwys a help cyfeillion oddiallan cyrhaeddwyd yr amcan, ac ar y 10fed o Fai, 1858, cynhaliwyd cyfarfod Jubili i lawenhau fod y ddyled wedi ei thalu.

Trwy y blynyddoedd hyn yr oedd iechyd Mr. Pierce wedi gwaelu yn fawr, ac yn mis Gorphenaf, 1856, teimlodd fod yn rhaid iddo gyflwyno ei ofal a'i gyfrifoldeb gweinidogaethol i fyny i'r eglwys. Wedi deall hyny, gwnaeth yr eglwys, yn garedig iawn, ychydig ddarpariaeth ar gyfer ei gynhaliaeth yn y dyfodol; ond ni bu ef byw ond blwyddyn i dderbyn o ffrwyth ei haelioni. Bu farw Mai 30ain, 1857, yn 56 oed.

Wedi dibynu ar weinidogaeth achlysurol am fwy na thair blynedd, ac yn y cyfamser fwynhau gweinidogaeth prif weinidogion De a Gogledd, yn gynar yn 1859, wedi ystyriaeth bwyllog, rhoddwyd galwad i Mr. Noah Stephens, Sirhowy, sir Fynwy, a dechreuodd ar ei weinidogaeth yma y trydydd Sabboth yn Mehefin, a chadwyd cyfarfod ei sefydliad y Sabboth hwnw a'r nos Lun canlynol. Gweinyddwyd gan y Meistri J. Stephens, Brychgoed; R. Thomas, Bangor; W. Rees, J. Thomas, H. Griffith, Liver-

pool, ac H. E. Thomas, Birkenhead. Llafuriodd Mr. Stephens yma yn ddiwyd a chyson am flynyddoedd lawer. Teimlai ef a llawer yn yr eglwys fod safle y capel yn anffafriol i gael cynnulleidfa dda yn sefydlog, oblegid fod y Cymry gan mwyaf yn symud i fyny; ac wedi cael amser i ystyried y mater ac addfedu teimlad yr eglwys, penderfynwyd yn rheolaidd i symud, a sicrhawyd darn o dir mewn man cyfleus yn Park Road ar gongl Northumberland Street. Mae yn gapel hardd a chyfleus yn y *Gothic style*, gydag ystafelloedd priodol yn nglyn ag ef. Costiodd y capel a'r tir sydd dano 5957p. ond trwy ymdrech egniol yr eglwys a'r gynnulleidfa, a heb gael ond ychydig help gan neb y tuallan, y mae y ddyled wedi ei thynu i lawr i 3400p., a phe ceid gwerthiant ar yr hen gapel am bris cymhedrol ni byddai y baich ond ysgafn mewn cymhariaeth. Mae yr achos yn ei holl ranau wedi gwella yn fawr ar ol dyfod i'r capel newydd, a'r gynnulleidfa a'r eglwys wedi lluosogi. Yn anffodus i'r achos yma, yn niwedd y flwyddyn 1873, gwaelodd iechyd Mr. Stephens, ac wedi dihoeni am fisoedd bu farw Ebrill 9fed, 1874, yn 50 oed, ac er hyny y mae yr eglwys yn amddifad o weinidog.

Mae yr achos yma o'i gychwyniad wedi bod yn lled esmwyth a gwastad, a'i gynydd wedi bod yn gyson a graddol. Bu yma lawer o ddynion ffyddlon yn nglyn ag ef o bryd i bryd, a bu yma rai brofodd o wasanaeth neillduol iddo. Yr oedd Daniel Owens yn un o gychwynwyr yr achos, a'i wasanaeth yn werthfawr am flynyddoedd fel arweinydd y gân. Ystyrid ei bresenoldeb ef yn anhebgorol i gael cyfarfod hwylus, ac os na byddai yno byddai yn gyfyng am ganu. Un noson yn Watkinson Street yr oedd Mr Morgan, Llanfyllin, wedi dyfod yno i bregethu, ac wedi rhoddi pennill allan i ddechreu y cyfarfod, a phawb yn edrych ar eu gilydd heb neb yn dechreu, efe a waeddodd allan, "Oes yma neb yn medru canu bobl? Mesur hir, mesur hir ydi o." Gyda ei fod yn dyweyd hyny dyma swn traed yn dringo'r ysgol i'r llofft, a phen Daniel Owens yn ymddangos trwy y twll yn y llawr, ac yn anfon swn y mesur hir o'i flaen. Cafodd fyw i oedran teg, ac yr oedd yn nodedig fel hen ddirwestwr selog am y chwarter canrif olaf o'i oes. Bu Robert Price yn ddiacon yr eglwys am lawer o flynyddoedd, ac yn drysorydd gonest a gofalus iddi. Yr oedd mewn swydd o ymddiriedaeth bwysig yn nglyn a'r *Gas Works* yn y Park, a chanddo lawer o ddynion dano. Ystyrid ef gan bawb yn ddyn cywir a ffyddlon, ac yn un y gallesid ymddiried i'w air y cyflawnai beth bynag a addawai. Cafodd gystudd chwerw, ond daliodd ei hyder yn ddisigl yn yr Arglwydd. George Owens oedd un o'r cymeriadau mwyaf nodedig a fu erioed yn nglyn a'r achos Cymreig yn y dref. Daeth i'r dref tua'r flwyddyn 1826, o Fagillt, lle yr oedd wedi ei dderbyn yn ieuangc. Tyfodd i fyny gyda'r achos o'i ddechreuad. Ar ffurfiad yr eglwys dewiswyd ef yn ddiacon ynddi, a pharhaodd yn ei swydd heb fwlch na chwmwl hyd ei farwolaeth, a gweithredai fel ysgrifenydd iddi am bum'-mlynedd-a-deugain agos. Yr oedd yn gwir ofalu am yr achos yn ei holl ranau. Cymerai sylw neillduol o'r ieuengctyd, ac o'r dyeithriaid a ddeuai i'r dref, ac os gwelai fod y naill neu y llall yn eisiau elai i chwilio am danynt. Ymwelai a'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a chai cleifion yr eglwys ei sylw neillduol. Cafodd y gweinidogion fu yn yr eglwys ef yn gyfaill trwyadl, ac ymadawai y gweinidogion dyeithr a ddelai i'r dref a'r syniadau uchaf am dano fel un yn gwasanaethu swydd diacon yn dda. Yr oedd yn nodedig am ei haelioni. Cyfranai yn ol ei

allu, ac ar rai adegau tu hwnt i'w allu; ac yn yr ymdrech i dalu dyled Bethel, llafuriodd dros fesur gydag eralll i gasglu oddiar gyfeillion haelionus y tu allan i'r eglwys. Cydymdeimlai a'r achos yn gyffredinol, ac yr oedd ei ofal dros yr holl eglwysi, ac yn enwedig yn yr helbul gyda dyled Birkenhead cymerodd y rhan fwyaf o'r gofal a'r llafur, ac yr oedd ei bryder yn fwy yn ei gylch nag y bu erioed yn nghylch ei amgylchiadau bydol. Nid ydym yn petruso dyweyd, ar ol cael tymor hir i'w adnabod, ei fod yn un o'r diaconiaid gorau fu erioed yn ein henwad nac mewn unrhyw enwad arall. Dyoddefodd boenau mawrion yn ei gystudd diweddaf, ond bu farw yn gyflawn o dangnefedd yr efengyl yn niwedd haf 1873, yn 69 oed.

Diaconiaid presenol yr eglwys ydynt y Meistri Rees Rees, David Jones, Edward Jones, B. J. Owens, Edward Roberts, D. Davies, a William Parry. Nid ydym yn gwybod i ddim ond un pregethwr godi yn yr eglwys hon, sef David Rees, yr hwn sydd yn awr yn weinidog yn Bethania, Dowlais.

## COFNODION BYWGRAPHYDDOL.

John Jones. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1801, mewn amaethdy ar ucheldir Tal-llynogwen, heb fod yn mhell o Gapel Currig yn sir Gaernarfon. Symudodd ei rieni i Fangor pan oedd ef yn ieuangc, ac yno y derbyniwyd ef yn aelod, ac y dechreuodd bregethu. Wedi bod yn cadw ysgol yn ardal Llanelwy cafodd dderbyniad trwy ddylanwad Dr. Arthur Jones i athrofa Hackney. Urddwyd ef yn Greenland Street, Liverpool, Hydref 20fed, 1829. Wedi bod yno flwyddyn symudodd i Preshenlle, gerllaw Croesoswallt, aeth oddiyno i Runcorn i un o gapeli Arglwyddes Huntington, ac oddiyno i Common Hall Street, Caerlleon, lle y bu weddill ei oes. Yr oedd Mr. Jones yn ddyn da, cywir, ac yn ol barn pawb a'i hadwaenai yn nodedig o grefyddol. Nid oedd yn alluog na phoblogaidd fel pregethwr, ond bu yn dra ffyddlon. Gwaelodd ei iechyd yn fawr yn ei flynyddoedd olaf, a bu farw Tachwedd 9fed, 1851, yn 51 oed, a chladdwyd ef yn mynwent capel Queen Street, lle y daeth torf fawr i amlygu eu parch diffuant iddo.

Thomas Pierce. Ganwyd ef yn Ninbych,* Mai 24ain, 1801. Yr oedd ei rieni yn bobl grefyddol, a'i dad William Pierce, yn un o hen ymddiriedolwyr Capel y Graig, Machynlleth. Dygwyd ef i fyny dan weinidogaeth y Meistri Powell ac Everett, gweinidogion Dinbych, ac er ei fod yn wrandawr cyson ac yn ffyddlon gyda'r canu a'r ysgol Sabbothol, etto yn y flwyddyn 1824, yn ddioed wedi sefydliad Mr. D. Roberts yno, y derbyniwyd ef yn aelod. Yn fuan aeth i Manchester, lle yr oedd achos Annibynol Cymreig newydd ei gychwyn, a bu ef ynegniol gyda'r achos dros ysbaid byr ei arosiad yno. Priododd ag Ann, merch i Joseph Griffiths, un o brif gychwynwyr yr achos yn Manchester, ond ni bu hi byw ond pymtheng mis ar ol priodi; ac wedi ei chladdu dychwelodd i Ddinbych. Anogwyd ef yn fuan i ddechreu pregethu. Gwnaeth ef a'i gyfaill Caledfryn y prawf cyntaf ar bregethu yr un noson yn niwedd y flwyddyn 1826, ac o hyny allan pregethai fynychaf yn rhyw

* Teulu o Fachynlleth oedd ei rieni, a dywed rhai ei fod ef wedi ei eni cyn i'w rieni symud i Ddinbych, ond fel un wedi ei eni a'i fagu yn Ninbych y soniai ef am dano ei hun.

le bob Sabboth, gan ddilyn ei alwedigaeth trwy yr wythnos. Yn nechreu Mai, 1827, priododd a Mary, merch Hugh Roberts, yr hwn a fu am lawer o flynyddoedd yn flaenor y canu yn nghapel Lon Swan. Cafodd ynddi ymgeledd gymwys, a gadawodd hi yn weddw ar ei ol, ac y mae etto yn fyw, ac yn ffyddlon i grefydd er mewn llesgedd a henaint. Bu ar deithiau byrion i bregethu yn gyntaf gyda'i gyfaill Caledfryn, ac wedi hyny gyda'i gyfaill Mr. W. Rees, y pryd hwnw o Lansanan. Cyn diwedd y flwyddyn 1831 derbyniodd alwad gan yr eglwys fechan yn Greenland Street, Liverpool, a dechreuodd ar ei lafur yno y Sabboth cyntaf o'r flwyddyn ganlynol. Wedi i'r eglwys ag yntau gael blwyddyn o brawf ar eu gilydd urddwyd ef yn y Tabernacl, Rhagfyr 24ain, 1832. Ymroddodd yn ddiwyd i gyflawni y weinidogaeth, ac fel y gwelsom yn hanes yr eglwys, cynyddodd yr achos dan ei ofal yn raddol. Cafodd gydlafurwr caredig yn Mr. Breese am y tair blynedd cyntaf o'i weinidogaeth; ac wedi ei ymadawiad ef cafodd Mr. Williams o'r Wern am yr un yspaid yn gynghorwr doeth, ac yn noddwr caredig. Bu yn dra ffyddlon i wasanaethu yr eglwysi eraill, y rhai fuont yn amddifaid o weinidogion amryw weithiau yn ystod ei dymor ef; ac ymwelai ag aelodau yr holl eglwysi yn ddiwahaniaeth. Gwaelodd ei iechyd i raddau mawr yn mlynyddoedd olaf ei oes, a threuliau gryn lawer o bob haf yn y wlad er mwyn adnewyddiad nerth. Yn mis Gorphenaf, 1856, teimlodd fod yn rhaid iddo roddi ei ofal eglwysig i fyny gan na oddefai ei iechyd iddo barhau yn hwy, a theimlai fod datod ei gysylltiad a Bethel yn rhywbeth chwerwach nag angau. Gwnaeth yr eglwys yn garedig ychydig ddarpariaeth ar ei gyfer ar ol iddo fethu. Penderfynodd roddi iddo bunt yr wythnos tra y byddai byw, ac yn amgylchiadau yr eglwys ar y pryd yr oedd hyny yn beth mawr iawn. Llai na blwyddyn y bu byw i fwynhau eu caredigrwydd. Gwaelodd ei iechyd yn fawr y gauaf canlynol, ac wedi hir nychdod, yr hwn a ddyoddefodd yn amyneddgar, bu farw mewn llawn ymddiried yn nghyfamod a thrugaredd Duw, Mai 30ain, 1857, yn 56 oed, a chladdwyd ef y dydd Iau canlynol yn *Cemetery* Smithdown Road, lle y dilynwyd ef gan dorf fawr alarus i dy ei hir gartref; a gweinyddwyd yn y capel ac wrth y bedd gan amryw o'i frodyr yn y weinidogaeth. Traddodwyd ei bregeth angladdol yn Bethel gan ei gyfaill a'i gydlafurwr Dr. Rees, i gynnulleidfa orlawn, oddiar y geiriau olaf a ddiferodd dros wefusau yr ymadawedig, "Cyfamod tragwyddol a wnaeth efe a mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr."

Ni oddefa ein terfynau i ni ond prin gyfeirio at brif neillduolion ei gymeriad; ac y mae yn ddiangenrhaid i ni ddyweyd llawer gan fod Cofiant helaeth iddo gyda detholion o'i bregethau a'i weithiau barddonol wedi eu cyhoeddi gan ei fab-yn-nghyfraith Mr. H. E. Thomas, Birkenhead, ond yn awr Dr. Thomas, Pittsburgh. Pa fodd bynag, nis gallwn ymatal heb ysgrifenu ychydig eiriau.

Dyn o daldra canolig ydoedd, gwyneb lled hir heb lawer o gernflew arno, ac esgyrn y gruddiau yn lled amlwg. Edrychai yn ddwys, braidd yn brudd, a goslef felly oedd i'w lais, ond yr oedd yn hynod dyner a charedig, ac yn nodedig o hoff o gymdeithas ei frodyr. Gwedd athrawiaethol oedd i'w holl bregethau, oblegid dan nawdd yr ysgol hono y magwyd ef, ac yn ei olygiadau duwinyddol yr oedd yn Galfin cymhedrol fel dysgybl Dr. Edward Williams ac Andrew Fuller. Parotoai ei bregethau yn dda, a thraddodai hwy yn bwysig a difrifol, ac yn nyddiau ei nerth yr

oedd ei lais yn doddedig a thra effeithiol. Ni byddai byth yn adrodd hanesion, ac anaml y defnyddiau eglurhad, ond byddai ganddo yn aml darawiadau barddonol prydferth a grymus. Dywedai ambell i ymadrodd miniog a fachai yn y gydwybod. Clywsom un o'r dynion goreu a adnabuasom erioed, yn dyweyd mai ei ddull difrifol ef wrth bregethu mewn cymanfa yn Ninbych a gydiodd gyntaf yn ei feddwl. Yr oedd wedi myned yno yn fachgen gyda'i fam, a rhywbryd yn ystod y bregeth dywedodd yn gyffrous ac effeithiol y geiriau difrifol, "Ei law a gaiff afael ar ei holl elynion," ac ar y pryd estynai ei law allan; a theimlodd y bachgen ar y pryd fel pe buasai rhyw law yn ymaflyd ynddo, ac ni ollyngodd byth ei gafael o hono. Pregethai bob amser yn sylweddol a phwysig, ac ar brydiau yn dra effeithiol. Cyflawnodd ei weinidogaeth yn ei holl ranau, ac yr oedd yn gwir ofalu am bob dosbarth yn yr eglwys; ac yn nodedig o dyner ac anwyl o bobl ei ofal, yn enwedig pan y byddai rhai o honynt mewn profedigaethau.

Yr oedd yn fardd rhagorol. Dichon nas gellir ei gyfrif yn y dosbarth blaenaf o feirdd ei oes; beth bynag, gwyddom nad oedd ef yn cyfrif ei hun; ond yr oedd yn bur agos atynt. Ennillodd lawer o wobrwyon eisteddfodol pwysig o bryd i bryd, er nad ymgododd ei uchelgais erioed mor uchel a chynyg am y gadair. Ceir llawer o'i brif gyfansoddiadau yn nglyn a hanes ei fywyd, lle y gwelir ei allu fel bardd pell uwchlaw y cyffredin. Bydd ei enw yn barchus gan y genhedlaeth bresenol, a'i goffadwriaeth yn fendigedig gan y rhai a ddel ar ol.

NOAH STEPHENS. Ganwyd ef Awst 5ed, 1823, mewn lle a elwir 'Rhewl, plwyf Llanfynydd, ond cyn ei fod yn ddeufis oed, symudodd ei rieni i Ysgwyn-fach, yn mhlwyf Llandilo, sir Gaerfyrddin. Yr oedd ei hynafiaid yn bobl grefyddol, a'i rieni yn arfer "duwioldeb gartref;" ac felly, dygwyd ef i fyny o'i febyd i ofni yr Arglwydd. Pan nad oedd etto ond plentyn, derbyniwyd ef yn aelod yn Nghapel Isaac, a phan yn ddwy-arbymtheg oed dechreuodd bregethu. Yr oedd ei frawd hynaf, Mr. J. Stephens, Brychgoed, wedi ei urddo pan nad oedd ef ond bachgen; a dechreuodd ef a'i frawd, Mr. D. Stephens, Glantaf, a dau wr ieuangc eraill, bregethu yr un pryd. Nid yn fynych y gwelir tri mab o'r un teulu yn codi i bregethu, a phob un o'r tri yn cyrhaedd poblogrwydd a chyhoeddusrwydd mawr yn y weinidogaeth. Tair-blynedd-ar-ddeg-ar-hugain i eleni y gwelsom ef gyntaf erioed, mewn cyfarfod a gynaliwyd yn Salem, ger Llandilo; ac y mae genym adgofion cynes am y cyfarfod hwnw, oblegid mae yno y gwelsom gyntaf amryw o'r rhai a ystyriwn yn brif gyfeillion ein hoes. Ffurfiasom gydnabyddiaeth a chyfeillgarwch y pryd hwnw â Mr. Stephens, yr hwn a barhaodd yn ddidor, heb gwmwl arno, hyd ddydd ei farwolaeth. Daeth i Ffrwdyfal yn nechreu haf 1841, a chyn diwedd yr haf hwnw aethom ein dau ar daith trwy ranau o siroedd Caerfyrddin a Phenfro. Dyna y daith gyntaf erioed iddo ef. Dychwelodd i Ffrwdyfal, ac wedi bod yno dros ychydig symudodd i'r ysgol i Hanover; ac yno y bu hyd Nadolig 1842, pryd y derbyniwyd ef i athrofa Aberhonddu. Treuliodd bedair blynedd yno, a gwnaeth y goreu o'i amser. Yr oedd ei amser yn yr athrofa agos ar ben cyn ei fod wedi sefydlu ar le. Bu siarad am dano yn Llangatwg, ac Ystradgynlais, ac yr oedd gogwyddiad ynddo at y lleoedd hyny; ond yr oedd rhyw rwystrau yn cyfodi fel y cauwyd ei ffordd; ac erbyn yr adeg, yr oedd rhagluniaeth wedi agor y drws iddo yn Sirhowy, lle y cafodd alwad unfrydol, ac urddwyd ef y dydd

olaf yn y flwyddyn 1846. Treuliodd yno ddeuddeng mlynedd a haner yn hollol gysurus. Ennillodd barch a dylanwad mawr trwy yr holl wlad; ac yn Nghyfundeb y sir, edrychid i fyny ato fel cynghorwr doeth, a phregethwr talentog. Ymddadblygodd ei alluoedd fel pregethwr yn y cyfnod hwnw, yn mhell y tu hwnt i ddisgwyliad neb. Cydnabyddid ef gan bawb o'i ieuengctyd yn ddyn o feddwl clir, cryf, a gafaelgar, ac wedi ei ddiwyllio yn dda trwy ddarllen a myfyrio; ond nid oedd yn siaradwr hyawdl a phoblogaidd yn naturiol. Hoffid ef yn fawr gan y dynion mwyaf gwybodus yn mhob cynnulleidfa, o'i gychwyniad cyntaf allan; ond nid oedd ganddo lawer i foddio y rhai nas gallant brisio dim ond swn yn unig. Cafodd yn maes cyntaf ei lafur ddosbarth o ddynion goleuedig i werthfawrogi ei bregethau, a'i symbylu i gyfansoddi; ac yr oedd yno hefyd nifer o bobl wresog, y rhai a fu o lawer o help i dynu allan ei ddoniau. Yr oedd wedi cyfoethogi ei feddwl mewn canghenau o lenyddiaeth, nad oeddynt yn y cyfnod hwnw yn adnabyddus ond i nifer fechan o weinidogion yn ein gwlad; ac yr oedd yn dra chyfarwydd yn ysgrifeniadau meddylwyr galluocaf Germani; fel, er ei fod yn glynu yn ffyddlawn wrth hen wirioneddau yr efengyl, etto yr oedd gwedd o newydd-deb ar ei holl bregethau; ac yr oedd yn un o'r rhai hapusaf yn ei eglurhadau, a'r rhai hyny o radd uwch na'r cymhariaethau a ddefnyddid yn gyffredin. Daeth hefyd i gyffyrddiad a nifer o weinidogion doniol a phoblogaidd, y rhai a fu o lawer o help i ddadblygiad ei alluoedd. Gwnaeth cymdeithasu ag Ieuan Gwynedd tra yn yr athrofa, ac wedi hyny gyda'u gilydd, un yn Nhredegar, a'r llall yn Sirhowy, les dirfawr iddo i'w symbylu i fwy o ysbryd cyhoeddus, ac i roddi ton uchel i'w foesoldeb. Yr oedd Mr. Davies, Caerdydd, (Llanelli y pryd hwnw), ac yntau yn gyfeillion mynwesol; ac er fod gwahaniaeth rhyngddynt mewn llawer o bethau, etto buont o les dirfawr i'w gilydd; ac yn arbenig, effeithiodd y tan a'r angerddoldeb oedd yn Mr. Davies yn ffafriol iawn ar Mr. Stephens. Bu mynych gymdeithasu a Mr. Rees, Cendl, (Dr. Rees, Abertawy yn awr), o fantais neillduol iddo. Dywedodd wrthym ychydig ddyddiau cyn ei farw, ei fod yn ei hystyried yn un o fendithion gwerthfawrocaf ei fywyd, ddarfod i Ragluniaeth drefnu iddo dros gynifer o flynyddoedd, gael y fath gyfleusderau i gymdeithasu a Dr. Rees; ac yr oedd yr hen gyfeillachau cynes fu rhyngddynt ugeiniau o weithiau ar hyd heol Waunpond, o Sirhowy i Cendl, yn fyw ar ei feddwl yn misoedd ei gystudd.* Bu yr holl bethau hyny, yn gystal a syniadau cliriach a chywirach am wir amcan pregethu, yn foddion i ddadblygu ei alluoedd pregethwrol yn y cyfnod hwnw yn mhell tu hwnt i ddisgwyliadau neb. Yr ydym yn cofio yn dda mor rymus y tarawyd ni wrth ei wrando mewn un cyfarfod Calan, yn Nghastellnedd, ar ol i ni fod dros rai blynyddoedd heb gael cyfle i'w glywed, gan y cyfnewidiad hapus oedd wedi cymeryd lle ynddo, ac mor rymus ac effeithiol y traddodai.

Derbyniodd alwad o Bethel, Liverpool, yn Ngwanwyn y flwyddyn 1859, a dechreuodd ei weinidogaeth yno y Mehefin canlynol; ac yno y llafuriodd dros weddill ei oes. Bu yn fugail ffyddlawn a gofalus, ac yn hodedig o gydwybodol yn nghyflawniad ei ddyledswyddau; ac ni bu ei lafur yn ofer

* Yr wyf wedi ysgrifenu yr uchod yn hollol ddiarwybod i Dr. Rees; ond gan ei fod yn un o'r pethau diweddaf a ddywedodd Mr. Stephens wrthyf, bernais yn deg ei osod i mewn.—J. Thomas.

yn yr Arglwydd. Yr oedd yn barod i bob gweithred dda, ac ymestynai terfynau ei wasanaeth y tu hwnt i'w eglwys ei hun a'i enwad ei hun. Yn yr ymdrech fawr a fu i dalu dyled capel Birkenhead, cymerodd ei ran yn llawen, a theithiodd lawer trwy Gymru a Lloegr i'r perwyl, a hyny heb gael ceiniog erioed am ei lafur. Teimlai ef, fel eraill, fod yn rhaid i hyny gael ei wneyd, neu adael y baich i lethu yr eglwys yno, ac i fod yn asgwrn cynen rhwng yr eglwysi cylchynol. Parodd adeiladu y capel newydd yn Park Road lawer o bryder i feddwl Mr. Stephens, mwy felly nag a wyr neb, er iddo gael cydweithrediad mwyaf calonog pobl ei ofal; ac er fod cynydd yr eglwys a'r gynnulleidfa trwy y symudiad yn profi ddarfod iddynt wneyd yn iawn, etto, ar yr un pryd, nis gallasai myned i'r fath anturiaeth lai na pheri pryder mawr iddo ef, ac i swyddogion yr eglwys, y rhai a gydweithient ag ef.

Yr oedd gan bawb, trwy holl eglwysi y dref, ac o bob enwad, y parch dyfnaf i Mr. Stephens, er na byddai un amser yn celu ei olygiadau er mwyn boddio neb. Un o'r dynion mwyaf annibynol ei ysbryd a'i farn ydoedd ; ac er nad oedd un amser yn udganu ei onestrwydd, nac yn gwneyd honiadau uchel am ei egwyddorion, etto nid ydym yn petruso dyweyd na sangwyd daear erioed gan gywirach a ffyddlonach dyn. Yr oedd yn ddoeth a synwyrol i roddi cynghor os gofynid ef iddo, ond ni byddai byth yn ymyraeth a phethau na pherthynai iddo; ac er y medrai ddyweyd geiriau miniog, y rhai a gyrhaeddent i'r asgwrn, etto ni fynai ddrygu neb ac nid oedd dim a ffieiddiai yn fwy na gwenu ar ddynion yn eu gwynebau a'u hathrodi yn eu cefnau. Ni ddigwyddodd i mi erioed adnabod neb ag yr oedd ei gyfeillach yn fwy adeiladol. Byddai ganddo fynychaf ryw destyn buddiol i ymddiddan arno. Os digwyddai fod wedi bod yn darllen rhyw lyfr, cofiai ef yn dda, a rhoddai ei gynwysiad yn yr ymddiddan gyda rhyw sylwadau o'i eiddo ei hun arno. Ystyriem yn wastad mai yn ei gyfeillach mewn rhydd ymddiddan y gwelid ef i'r fantais oreu. Yr oedd rhyw gyfoethogrwydd dihysbydd yn ei feddwl, ac yr oedd ganddo gyflawnder o hanesion i egluro yr hyn a fyddai dan sylw. Nid dywedyd chwedlau er mwyn y chwedlau y byddai ef, ond byddai ganddo yn wastad ryw hanes neu ddywediad ffraeth o eiddo rhywun, i egluro yr hyn a ddywedid gan bawb, fel yr oedd ei gyfeillach bob amser yn fuddiol ac yn ddifyrus, oddigerth pan y digwyddai fyned yn ddadl boeth iawn, yna collai ei *humour* ac nid oedd sicrwydd na ddywedai eiriau a barai i'w wrthwynebydd deimlo. Yr oedd min ar ei watwareg, a deallid yn hawdd ar droad ei lygad, ac ysgydwad ei wefus uchaf, pan y bwriadai ollwng y saeth. Dichon, pe gwrteithiasai lai ar y gallu hwnw yr arbedasai i rai ei gamgymeryd ; ond yr oedd pob gwrthuni a ffug-onestrwydd, a bost, ac ymhoniad, mor annyoddefol ganddo, fel nas gallai ymatal heb eu dynoethi.

Nid ydym yn gwybod i ni erioed ddyfod i gyffyrddiad a neb yn meddu syniadau uwch am eirwiredd a chywirdeb yn yr oll a ddywedai. Cysylltai ystyr neillduol a geiriau, ac yr oedd bob amser yn dra gofalus i ddefnyddio y geiriau cymhwysaf a allasai gael i osod allan ei feddwl. Nid derbyn argraff oddiwrth eiriau pobl eraill y byddai ef, a rhoddi yn ei eiriau ei hun yr argraff a dderbyniasai, ond ail-adroddai bob peth yn wastad yn y geiriau y cafodd hwy. Nid oedd dim a'i hanfoddlonai yn fwy nag adroddiad llac, afradus, ac eithafol o unrhyw beth, ac yr oedd cywirdeb ynddo yn amlwg gyda phob peth.

Ar ol cael llawer cyfle i gymdeithasu ag ef dros dymor hir, a'i weled yn mhob man, gyda phob peth, a than bob math o amgylchiadau, y mae genym y syniad uchaf am dano, fel un o'r dynion goreu a adnabuom erioed. Nid ydym yn honi ei fod yn berffaith. Gwyddom nad ydoedd; ac nid oedd neb yn ymdeimlo yn fwy a'i anmherffeithrwydd nag efe ei hun; ond ni ddigwyddodd i ni etto gyfarfod a neb rhyddach nag ef oddiwrth ddiffygion moesol. "Israeliad yn wir" ydoedd; ac fel y dywedwyd am ei gyfenw gynt, y gellir dyweyd am dano yntau—"Noah oedd wr cyfiawn, perffaith yn ei oes; gyda Duw y rhodiodd Noah."

Ond ei ddyddiau ef a nesasant i farw. Ni bu erioed yn gryf iawn, er ei fod, trwy ofal, wedi cael iechyd da. Teimlodd fesur o wendid ddwy flynedd cyn marw, ond gwellhaodd yn raddol, ond nid i fod yn ddiboen. Dyoddefai oddiwrth annhreuliad, ac yr oedd yn amlwg ar ei wedd ei fod yn gwaelu, ac nid oedd yr yni hwnw ynddo a arferai fod; ond nid oedd yn cwyno ond ychydig, ac oblegid hyny nid oedd neb yn ofni fod perygl. Yn niwedd y flwyddyn 1873, dywedodd ei feddyg fod yn rhaid iddo gael gorphwys dros rai misoedd. Aeth i Casnewydd a Chaerdydd, ond dychwelodd adref heb fod yn ddim gwell, ond yn wanach. Meddyliodd y gwnai triniaeth y dwfr oer yn Matlock les iddo, ond wedi bod yno bythefnos deallwyd ei fod yn rhy wan i'w dyoddef, a chynghorodd y meddyg ef i ddychwelyd adref. Deallodd, erbyn hyny, nad oedd gobaith am ei adferiad, a rhoddodd ei hun i fyny i ewyllys yr Arglwydd, er fod yn amlwg arno fod ei bryder yn fawr yn nghylch ei wraig a'i blant. Dyoddefodd boenau dirfawr, ond yr oedd ei enaid yn gorphwys yn gyflawn ar drefn gras, a theimlai ei bod yn hollol y peth oedd eisieu arno. Lliniarodd ei boenau y ddau ddiwrnod diweddaf y bu byw, ond yr oedd yn amlwg fod awr ei ymddatodiad wedi nesau, a bu farw mewn tawelwch perffaith boreu ddydd Iau, Ebrill 9fed, 1874, gan adael gweddw a deg o blant amddifaid ar ei ol—un mab, a naw o ferched—a'r ieuengaf heb fod ond blwydd oed. Mor dywyll yw yr aruchwyliaeth! Dyma gristion cywir, gweinidog gofalus, pregethwr galluog, cyfaill didwyll, tad tyner, a phriod caredig, wedi ei gymeryd ymaith yn nghanol ei ddyddiau.

Claddwyd ef y ddydd Mawrth canlynol yn nghladdfa Smithdown-road, lle y daeth tyrfa fawr yn nghyd i ddangos eu parch iddo. "A gwyr bucheddol a ddygasant STEPHAN i'w gladdu, ac a wnaethant alar mawr am dano ef."

Buasem yn ysgrifenu yn llawer helaethach oni bai ein bod yn bwriadu yn fuan, os arbedir ni, i ddwyn allan gyfrol fechan o gofiant iddo ef a'i frodyr, Stephens o'r Brychgoed, a Stephens, Glantaf.

## GROVE STREET, LIVERPOOL.

Parodd y llwyddiant graddol a chyson a fu ar yr achos yn y Tabernacl yn nhymor gweinidogaeth Mr. Williams o'r Wern, a'r diwygiad nerthol a gafwyd yn ddioed wedi ei ymadawiad, i'r eglwys benderfynu fod yr adeg wedi dyfod iddi eangu ei therfynau i ranau canolbarthol y dref. Yr oedd siarad wedi bod am hyny er's blynyddoedd, ond teimlid yn awr fod yr amser wedi dyfod i weithredu. Yr oedd gorlawnder yr hen Dabernacl, yn gystal ar cynydd mawr yn mhoblogaeth Gymreig y dref yn y rhanbarth uwchlaw Lime Street yn gwneyd hyny yn hollol angenrheidiol.

Prynwyd tir yn gyntaf yn Bittern Street, ond gweiwyd wedi hyny fod hwnw mewn lle rhy guddiedig, ac oblegid hyny gwerthwyd ef drachefn. Cafwyd darn o dir cyfleus yn Brownlow Hill, mewn man amlwg ar gongl Elizabeth Street. Prynwyd ef dros yr eglwys yn y Tabernacl gan Meistri Joseph Jones, Price Street, a John Jones, Castle Street, oddiwrth y Corphoriaeth Trefol trwy law Mr. Thomas Morecroff, cyfreithiwr, ac un o ddiaconiaid capel Great George Street, a chafwyd ef am 15s. y llath, yn lle 1p., y pris arferol. Gosodwyd y gareg sylfaen i lawr Medi 1af, 1840, gan Dr. Raffles, ac anerchwyd y gynnulleidfa gan y Meistri T. Pierce, J. Roberts, Llanbrynmair; W. Williams, Caernarfon, a D. Griffith, Castellnedd. Galwyd ef SALEM. Costiodd 2468p., ac yr oedd yn barod i'w agor yn nglyn a'r gymanfa flynyddol yn Mehefin, 1841. Y nos Iau cyn y gymanfa cynhaliwyd gwasanaeth Saesonig ynddo. Dechreuwyd gan Mr. J. Kelly, Liverpool, a phregethodd Mr. R. Fletcher, Manchester. Nos Wener pregethodd Mr. W. Griffith, Caergybi, oddiar Marc xiii. 35, a Mr. W. Rees, Dinbych, oddiar Diar. xx. 34; a'r Sabboth pregethwyd ynddo trwy y dydd yn gystal ag yn y ddau gapel arall. Y dydd Llun dilynol ffurfiwyd yma eglwys o 168 o aelodau, 150 o'r rhai a ddaethai trwy lythyr gollyngdod o'r Tabernacl, a 12 o Bethel, a'r gweddill trwy lythyrau o leoedd eraill. Ni chychwynodd eglwys erioed, i'r olwg allanol, dan amgylchiadau mwy addawol. Dewiswyd William Evans, Edward Evans, John Thomas, Edward Davies, Ebenezer Powell, Robert Jones, Robert Price, a John Coates, yn ddiaconiaid. Wedi bod am ychydig yn dibynu ar weinidogaeth achlysurol yn Chwefror, 1842, cytunwyd yn unfrydol i roddi galwad i Mr. Robert Thomas, yr hwn ddwy flynedd cyn hyny a urddasid yn Ninasmawddwy. Derbyniodd Mr. Thomas y gwahoddiad, a dechreuodd ei weinidogaeth yma yn Hydref y flwyddyn hono. Bu yma yn barchus a chymeradwy, a'r gynnulleidfa yn dal yn gref a lluosog am chwe' blynedd a haner, hyd nes yn 1848 y derbyniodd alwad o Rhosllanerchrugog, ac y penderfynodd gydsynio a hi. Bu y ddwy flynedd ddilynol yn dymor cymylog yn hanes yr eglwys hon. Yr oedd y ddyled wreiddiol yn aros, os nad wedi chwyddo. Aeth yn llongddrylliad ar amgylchiadau rhai dynion lled amlwg yn yr eglwys, ac yn y brofedigaeth gwnaeth rhai o honynt longddrylliad am eu ffydd. Symudwyd rhai ymaith gan angau, a gadawodd eraill yr achos yn nydd ei gyfyngder, fel yr ymollyngodd y ffyddloniaid a adawyd ar ol i ddigalondid mawr. O dan yr amgylchiadau hyn gwnaed cais at Mr. David Davies, yr hwn oedd yn ddiacon parchus a chyfrifol yn Bethel, i ddyfod atynt. Wedi ystyriaeth bwyllog, ac ar anogaeth daer gweinidogion a diaconiaid yr eglwysi eraill, cydsyniodd Mr. Davies, ac er hyny hyd yn awr y mae wedi gweithredu fel trysorydd ffyddlon i'r eglwys hon. Dechreuodd pethau sirioli yn ddioed wedi ei ddyfodiad yma—tawelwyd meddyliau y rhai oedd ag arian ganddynt ar y capel—adferwyd hyder yn yr eglwys fod yr arian yn myned at yr amcan y cyfrenid hwy—ac yn raddol yr oedd y ddyled yn dechreu toddi. Ysgafnhawyd y baich i raddau mawr yn y cydymdrech a wnaed yn mlwyddyn Jubili yr achos Cymreig yn y dref, a chodwyd yr achos o hyny allan uwchlaw ofni unrhyw berygl. Yn nechreu y flwyddyn 1853 rhoddwyd galwad i Mr. William Rees i gymeryd gofal yr eglwys, a dechreuodd ar ei weinidogaeth yma y Sabboth cyntaf yn Mai y flwyddyn hono; ac y mae wedi parhau i lafurio yma gyda pharch a chymeradwyaeth mawr er's mwy nag un-flynedd-ar-hugain. Yn y flwyddyn 1865 barnwyd y buasai

yn fantais i'r achos i symud lle y capel, gan eu bod eisioes dan yr angenrheidrwydd o wneyd rhyw gyfnewidiad ynddo. Sicrhawyd darn o dir yn Grove Street, bron yn y fan lle y mae yr heol hono yn ymwahanu o Crown Street. Adeiladwyd yma gapel eang a hardd iawn. Costiodd rhwng pryniad y tir 6300p., ond y mae y ddyled erbyn hyn wedi ei thynu i lawr fel nad oes ond ychydig gyda 2000p. yn aros; ac ychydig flynyddoedd etto o weithio cyffelyb i'r hyn a fu y blynyddoedd diweddaf, a bydd y ddyled oll wedi ei thalu. Agorwyd y capel nos Iau, Chwefror 7fed, 1867, pryd y pregethwyd gan Dr. Rees, a pharhawyd cyfarfodydd yr agoriad nos Wener a nos Sadwrn, a'r Sabboth a'r nos Lun canlynol. Mae Dr. Rees, ar ol llafurio yma gyda chymeradwyaeth cyffredinol am yn agos i ddwy-flynedd-ar-hugain, ac yn y Tabernacl am ddeng mlynedd cyn hyny, yn teimlo nas gall, oblegid llesgedd a gwendid blynyddoedd, sefyll yn hwy ger bron arch yr Arglwydd; a bwriada gyda therfyn y flwyddyn hon (1874) i ymryddhau o'i ofal gweinidogaethol, ond dilynir ef i'w neillduaeth gan ddymuniadau goreu pobl ei ofal a holl eglwysi ei enwad yn y dref, mewn gobaith yr estynir ei ddyddiau am flynyddoedd lawer etto i fod yn efengylwr i'w genedl fel y mae wedi bod bellach am fwy na deugain mlynedd.

Nid ydym yn gwybod ond am ddau a godwyd i bregethu yn yr eglwys hon.

Henry Rees. Mab Dr. Rees, y gweinidog. Addysgwyd ef yn athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yn Nghaerlleon, lle y mae etto.

Elias Evans. Mae efe yn yr eglwys yn bregethwr cynorthwyol.

Mae yma lawer o bersonau rhagorol wedi bod yn yr eglwys o'i chychwyniad. John Thomas oedd yn nodedig am ei ddawn mewn gweddi. Robert Jones oedd wr hynaws a thyner ei deimladau. Edward Evans oedd hen wr craff a synwyrol, a min ar ei holl sylwadau. John Coates a fu am dymor hir yn nglyn a'r achos, a'i galon yn gynes at arch Duw. Yr oedd Robert Hughes a Robert Roberts yn ddynion ffyddlon a didramgwydd gyda'r achos. Bu John Ambrose Lloyd yn aelod defnyddiol yma am flynyddoedd, a gwasanaethodd fel ysgrifenydd i'r eglwys am dymor, a chyda'r canu yn arbenig, gwnaeth les dirfawr. Coffeir yn barchus am Hugh Hughes (Gethin), yr hwn oedd wr craff a deallgar, yn fardd galluog, ac yn meddu dylanwad mawr, a William Jones, yr hwn oedd bob amser yn nodedig am ei haelioni; heblaw eraill llai amlwg, y rhai y mae eu henwau yn perarogli hyd heddyw.

Diaconiaid presenol yr eglwys ydyw Meistri D. Davies, Bedford Street, Thomas Morris, John Evans, David Davies, Edward Lloyd, Owen Roberts, a Henry Roberts ac Elias Evans, y rhai ydynt hefyd yn bregethwyr cynorthwyol yn yr eglwys.

## GREAT MERSEY STREET, LIVERPOOL.

Bu llygaid rhai yn eglwys y Tabernacl am flynyddoedd ar y pen gogleddol i'r dref, wrth weled y Cymry yn amlhau yn ddirfawr yno, fel lle y dylesid cychwyn achos newydd. Yr oedd y ddyled oedd yn aros ar y Tabernacl, a baich trwm dyled Birkenhead yn anhawsder i gael corff yr eglwys i symud; ond yn 1856, wedi talu dyled y Tabernacl, penderfynodd y gweinidog a nifer o aelodau ffyddlonaf yr eglwys, llawer o'r rhai oeddynt

yn cyfaneddu yn y rhan yma o'r dref, i gychwyn achos yma; a chawsant gefnogaeth galonog y dynion goreu yn yr eglwys. Mr. Hugh Lewis a'i frodyr a flaenorent yn benaf yn y gorchwyl, a buont o help mawr i'r achos, ond yr oedd eraill gyda hwy a'u holl galon yn y gwaith. Cymerwyd ystafell eang yn Boundary Street yn y flwyddyn 1858, at gadw ysgol Sabbothol am ardreth blynyddol o 30p., ac agorwyd yr ystafell Sabboth, Ebrill 11eg. Pregethwyd am ddau o'r gloch, gan Mr. Thomas, Tabernacl, oddiar Galatiaid vi. 9; a'r Sabboth canlynol agorwyd yno ysgol, pryd y daeth 80 yn nghyd. Dewiswyd Mr. Thomas Jones yn arolygydd, a Mr. Hugh Lewis yn ysgrifenydd, a pharhaodd yr ysgol i fyned rhagddi yn llwyddianus. Deuai Mr. Thomas yma bob nos Fawrth, os byddai gartref, i bregethu, a phregethid yn achlysurol yma gan weinidogion dyeithr. Pregethid yma hefyd am ddau o'r gloch prydnawn yr ail Sabboth o bob mis, pryd y gwneid casgliad at draul y lle, oblegid dygid yr holl draul gan y cyfeillion eu hunain, a gwnaent hyny yn ychwanegol at eu cyfraniadau rheolaidd yn y Tabernacl. Wedi bod fel hyn am ddwy flynedd, a phob peth yn myned yn mlaen yn llwyddianus, barnasant mai gwell fuasai iddynt ymffurfio yn eglwys yn yr ystafell, ac wedi rhoddi y peth o flaen y gweinidog a'r eglwys, cytunwyd yn unfrydol i roddi llythyr gollyngdod iddynt. Cydeisteddasant mewn cymundeb yn y Tabernacl y Sabboth cyntaf yn Mai, 1860, a'r Sabboth canlynol, Mai 13eg, cynhaliwyd cyfarfod neillduol yn yr ystafell yn Boundary Street, ar achlysur corffoliad yr eglwys. Yn y boreu am ddeg, pregethodd Mr. W. Rees. Am ddau, dechreuwyd gan Mr. H. E. Thomas, Birkenhead, a thraddodwyd araeth fer ar natur a chyfansoddiad eglwys gan Mr. N. Stephens. Rhoddwyd hanes cychwyniad y symudiad, a'r dull y gweithredwyd, a darllenwyd llythyr gollyngdod yr aelodau—yn agos i 60, gydag ychydig nifer o Salem, a gofynwyd am arwydd o'u hymgyfamodiad i'w gilydd ac i'r Arglwydd, gan Mr. J. Thomas. Ar ol rhoddi i'r eglwys newydd ychydig gynghorion difrifol a phwrpasol, gweddiodd Mr. W. Griffith, Caergybi. Cydeisteddwyd wedi hyny wrth fwrdd yr Arglwydd. Llywyddid gan Mr. W. Rees, a chariwyd yr elfenau gan y Meistri John Edwards, (Tabernacl); George Owens, (Bethel); a David Davies, (Salem) Pregethwyd yn yr hwyr gan Mr. W. Griffith. Yn ddioed dewiswyd y Meistri Hugh Lewis, John Thomas, Thomas Jones, John Williams, a Thomas Lloyd, yn ddiaconiaid yr eglwys. Aeth yr achos rhagddo yn addawol iawn, ac wedi bod am fwy na blwyddyn yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol, rhoddwyd galwad i Mr. William Roberts, Pentrefoelas, yr hwn a ddechreuodd ei weinidogaeth yma y Sabboth olaf yn Medi, 1861, a'r Sabboth cyntaf yn Hydref, a'r nos Fawrth canlynol y cadwyd cyfarfodydd ei sefydliad, pryd y gweinyddwyd gan weinidogion y dref a'r Meistri W. Morris, Bryngwran; W. Morgan, Caerfyrddin, a W. Griffith, Caergybi. Ymaflodd Mr. Roberts yn ei waith o ddifrif. Sicrhawyd darn o dir at adeiladu capel yn Great Mersey Street, a dechreuwyd arno yn ddioed, a gwnaed ef yn gapel prydferth a chyfleus iawn, yn mesur 57 troedfedd wrth 42 troedfedd. Costiodd rhwng y tir 2350p. Agorwyd ef Mawrth 3ydd a'r 4ydd, 1863, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri W. Roberts, Penybontfawr; R. Thomas, Bangor; Dr. Mellor, a gweinidogion y dref, ac yr oedd 900p. wedi eu sicrhau erbyn diwedd yr agoriad tuag at dalu y ddyled. Mae yr achos yma wedi dyfod rhagddo yn raddol, a'r eglwys nad oedd ond tua 60 o nifer, yn cychwyn mewn ystafell gyffredin bymtheg

mlynedd yn ol, yn awr yn rhifo mwy na 200 o aelodau, mewn capel hardd, a'i ddyled ar ol rhoddi rhai canoedd o draul ychwanegol arno, wedi ei thynu i lawr i ryw 700p. Mae yr eglwys hon er ei chychwyniad cyntaf wedi myned trwy lawer o gyfnewidiadau oblegid symudiadau a marwolaethau, ond y mae y rhai oeddynt a'r llaw flaenaf yn nghychwyniad yr achos yn aros hyd yr awr hon.

Ni chyfodwyd yma ond un pregethwr, sef Mr. Jonathan Parry, yr hwn sydd yn awr yn fyfyriwr yn athrofa swydd Lancaster. Diaconiaid presenol yr eglwys ydyw y Meistri Hugh Lewis a John Thomas, a gweithreda Mr. Owen Lewis fel trysorydd; ac y mae Mr. David Hughes, yr hwn a ddaeth yma o'r Wyddgrug, yn bregethwr cynorthwyol yn yr eglwys.

## OLIVER STREET, BIRKENHEAD.

Dechreuwyd pregethu gan yr Annibynwyr yn y dref hon, yn nhy Mr. John Williams, joiner, yn Albion Street, yn ymyl y farchnad, ar yr ochr dde-orllewinol iddi, lle mae yn awr siop barbwr, ar yr 28ain o Ionawr, 1842. Pregethwyd yma yn rheolaidd gan weinidogion Liverpool, a dyeithriaid o Gymru. Fel yr oedd y dref yn cynyddu yr oedd y Cymry yn amlhau—rhai yn dyfod o drefydd Lloegr, a lluaws mawr o'r fam-wlad; ac yn eu plith, fel y gellid disgwyl, amryw yn aelodau ac yn wrandawyr gyda'n henwad ni. Wedi bod yn nhy Mr. Williams fel hyn am oddeutu dwy flynedd, aeth y lle yn rhy fach, a bu raid chwilio am le mwy; a chafwyd ysgoldy yn Chester Street, yn agos i Woodside Ferry, am ardreth blynyddol, gan un Mr. Carter. Cafwyd cyfarfod pregethu ar y 4ydd o Ionawr, 1844, ar yr achlysur o agor yr ysfafell i gynal moddion cyhoeddus. Pregethwyd yn y boreu gan Mr. Rees, Tabernacl y pryd hwnw; am 2, gan Mr. Pierce, Bethel; am 6, gan Mr. Thomas, Salem y pryd hwnw, yn awr o'r Bala. Cynaliwyd cyfeillach yn yr hwyr, am y waith gyntaf, pryd yr arosodd un-ar-ddeg ar ol. Yr oedd rhai o honynt yn arfer myned drosodd i'r Tabernacl i gymundeb. Yr amser yma y dewiswyd John Williams yn ysgrifenydd, a David Jones, un o ddiaconiaid Park Road yn awr, yn drysorydd. Wedi bod yn yr ystafell am oddeutu blwyddyn, yr oedd yn dechreu myned yn rhy gyfyng, ac yr oedd eisiau troi i edrych am le mwy etto. Ar y pryd hwn dyma gyfeillion o Liverpool yn dyfod yn mlaen heb ddim rhwymau arnynt ond cariad brawdol, ac yn adeiladu y capel hardd yma i'r gynnulleidfa fechan. Nid oedd dim ond un o'r ymddiriedolwyr yn byw yr ochr yma, sef y diweddar Mr. Hughes, adeiladydd, brodor o Ddinbych, yr hwn nid oedd yn aelod eglwysig—dim ond gwrandawr. Oddeutu mis Chwefror, 1846, dwy flynedd wedi symud i'r ysgoldy, aed i'r capel, pryd yr oedd yr aelodau wedi cynyddu i 84. Gyda hyn symudodd y trysorydd i Liverpool, a dewiswyd Mr. W. Edwards, dilledydd, yn ei le. Ar ddydd Gwener y Groglith, cynhaliwyd cyfarfod i agor y capel, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri J. Roberts, Llanbrynmair; W. Griffith, Caergybi; D. Price, Dinbych; W. C. Williams, Caernarfon; a gweinidogion Liverpool. Casglwyd yn y cyfarfod dros 80p. at y ddyled. Yn haf y flwyddyn hon cymerodd *strike* le yn mysg y seiri meini a'r priddfeinwyr, fel y gadawyd ugeiniau o dai a siopau ar haner eu codi am fisoedd. Ymadawodd amryw aelodau y pryd hyn, a bu y dref yn gystal a'r gwahanol enwadau Cymreig yn dyoddef

oddiwrth yr anghydfod blinderus hwn. Yr oedd ein haelodau ni wedi lleihau erbyn diwedd y flwyddyn hono o 84 i 48, a'r gwrandawyr mewn cyfartaledd. Parhaodd pethau yn weddol hyd fis Awst yn y flwyddyn ganlynol, pan y daeth y gair trwy y dref fod y dociau yn myned i sefyll. Ac un prydnawn Sadwrn trowyd 50 ymaith, ac felly y Sadwrn canlynol, a'r naill wythnos ar ol y llall nes i'r gwaith hollol sefyll cyn diwedd y flwyddyn, fel yr aeth yr aelodau gyda ni i lawr i 33. Yn mhlith eraill a ymadawodd, aeth Mr. W. Edwards, y trysorydd; ac yn mis Medi gosodwyd Mr. Mathew Jones yn ei le. Nid oedd y gwaith a'r gofal y pryd hwnw yn ddim wrth yr hyn ydyw yn bresenol, gan na chyrhaeddai y casgliad cyhoeddus a chyfraniadau yr aelodau ond rhwng chwech a saith swllt yr wythnos; a byddem yn meddwl ein bod yn myned yn mlaen yn ardderchog os cyrhaeddent i ddeg swllt. Yn nechreu y flwyddyn 1848 yr oedd pob tebygolrwydd yr ail gychwynai y gwaith mawr o wneyd y dociau. Y pryd yma rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. W. Morris o Glandwr, i fod yn weinidog iddi. Cynhaliwyd cyfarfod i sefydlu Mr. Morris, Ebrill 21ain yr un flwyddyn, pryd y cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan y Meistri D. Griffith, Bethel; R. Thomas; T. Pierce, Liverpool; S. Roberts, Llanbrynmair; ac E. Jacob, Abertawy. Addawai tair eglwys Liverpool yn garedig wneyd pymtheg swllt yr wythnos at ei gynal, a ninau i wneyd punt arall. Yr oedd hyn yn trymhau gwaith a phryder y trysorydd. Yr oedd gofalu am y weinidogaeth, talu am lanhau y lle, a biliau'r gas a phethau eraill, yn peri pryder parhaus, gan nad oedd ond rhyw chwech neu ddeg swllt yn dod i mewn yn wythnosol, ac o bedwar i wyth-swllt-ar-hugain y chwarter am eisteddleoedd. Ond gofalodd yr Arglwydd am ein cadw rhag suddo, trwy roddi yn nghalon ein noddwyr caredig yn Liverpool i'n cynorthwyo, fel y daeth yr hyn oedd yn angenrheidiol i ateb pob gofynion yn llawn i law nas gwyddom yn iawn pa fodd. Swm yr holl gasgliadau y flwyddyn ganlynol (1849) oedd 46p. 0s. 6c., a derbyniwyd o Liverpool y swm hardd o 55p. 13s., yr hyn a gatwyd hyd derfyn gweinidogaeth Mr. Morris. Dechreuasom ar 1850 heb un gobaith am ail gychwyniad gwaith y dociau. Edrychai pob peth yn isel a digalon—glaswellt yn tyfu ar hyd yr heolydd. Yr oedd dros 500 o siopau a thai yn weigion yma. Wedi ymrwyfo yn erbyn llanw aflwyddiant y dref, rhoddodd Mr. Morris ei weinidogaeth i fyny, ac ymadawodd yn mis Mai, 1850, i Bryngwran, Mon. Yn mis Awst yr un flwyddyn, ail gychwynwyd y dociau, a gosodwyd 2000 o ddynion ar waith mewn ychydig o amser. Nifer yr aelodau yn niwedd 1850 oedd 43. Wedi ymadawiad Mr. Morris deuai gweinidogion Liverpool yn aml i'n cynorthwyo, ac ymgymerodd Mr. George Owens ag ysgrifenu at weinidogion gogledd Cymru, yn benaf, i ddyfod atom yn eu tro. Daeth lluaws o honynt yn ewyllysgar heb ddim ond talu eu traul. Teilynga y fath ofal am achos gwan y ganmoliaeth uchaf. Dangosodd swyddogion Liverpool y tynerwch mwyaf atom, ond nis gallwn byth ddyfod i ben ag enwi cymwynasau Mr. G. Owens, yr hwn a gymerai y baich bron yn gwbl arno ei hun. Yn 1850 ymgymerasom a thalu llôg 500p., sef 25p. yn y flwyddyn, wedi bod am bum' mlynedd heb dalu dim o'r holl faich oedd ar ysgwyddau cyfeillion Liverpool, yr hwn a ddygasant am un-mlynedd-ar-ddeg ar ol hyn. Ni ddylem byth anghofio caredigrwydd o'r fath. Yn nechreu y flwyddyn 1851 yr oedd Cwmni Dociau Birkenhead yn ceisio am weithred Seneddol er codi rhagor o arian at orphen y gwaith; ond rhoddwyd ergyd i'n gob-

eithion drachefn trwy i'r ysgrif gael ei thaflu allan o Dy y Cyffredin ar y 25ain o Fehefin yr un flwyddyn. Yr wythnos ganlynol, o herwydd y methiant hwn, ataliwyd y gwaith, a throwyd o ddwy i dair mil o weithwyr allan. Ymadawodd y Cymry o un i un o'r dref—rhai o honynt wedi bod am fisoedd yn chwilio am rywbeth i'w wneyd, ac yn disgwyl tro ar bethau, ond yn gorfod gadael. Aeth nifer yr eglwys a'r gynnulleidfa bron i'r dim. Bu yr ysgrifenydd yn un o bedwar—tair chwaer ag yntau—yn cadw cyfeillach yma, a blaenorwyd llawer cyfarfod cyhoeddus gan y ddiweddar Mrs. Heywood, un o hen ddysgyblion yr enwog Dr. Arthur Jones. Yn niwedd y flwyddyn 1852 rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. Hugh Evan Thomas, myfyriwr yn athrofa y Bala, i ddyfod yn weinidog iddi. Dechreuodd Mr. Thomas ar ei weinidogaeth y Sabboth cyntaf yn Ionawr, 1853, a chynhaliwyd cyfarfod yn nglyn a'r gymanfa yr ail Sabboth yn Gorphenaf i'w urddo. Traethwyd ar natur eglwys gan Mr. W. Rees; holwyd y gofyniadau gan Mr. T. Pierce; pregethwyd ar ddyledswydd y gweinidog gan ei frawd Mr. W. Thomas, Beaumaris, ac ar ddyledswydd yr eglwys gan Mr. M. Jones, Bala; yr oedd hefyd yn y cyfarfod y Meistri D. Griffith, Bethel; W. Ambrose, Portmadog; D. Rees, Llanelli; M. Ellis, Mynyddislwyn; W. Jones, Hawen; R. Thomas, Rhos; P. Howell, Amana, ac E. Stephen, Dwygyfylchi. Nid oedd ond 27 o aelodau yn nechreuad gweinidogaeth Mr. Thomas. Ond gafaelodd yn ei waith a'i holl egni, a llafuriodd mewn amser ac allan o amser; ac nid gormod fyddai dweyd iddo gyflawni testyn siars ei frawd iddo ddiwrnod ei urddiad i'r llythyren, sef "Cyflawna dy weinidogaeth." Cyflawnodd yntau ei weinidogaeth er anrhydedd iddo ei hun a'r eglwys yr oedd yn weinidog iddi, ac er gogoniant i grefydd yn y dref. Ond y ddyled oedd yn aros ar y capel oedd yn llethu y cwbl. Er mai y cyfeillion yn Liverpool oedd yn gyfrifol am y ddyled, ac yn talu y llogau yn gystal a rhan o draul cynhaliaeth y weinidogaeth, etto yr oedd baich y ddyled yn lladd ymadferthoedd y gweinidog a'r eglwys, ac yn dychrynu llawer o wrandawyr ofnus rhag dyfod yn agos i'r lle. Cafwyd cryn help yn mlwyddyn Jubili yr achos Cymreig yn Liverpool, ond ni wnaeth hyny fawr fwy na thalu y llogau oedd wedi rhedeg, a chadw yr achos rhag suddo. Wedi talu y llogau yn rheolaidd, a thalu rhyw gymaint o gorff y ddyled, yr oedd mwy na 4700p. o ddyled yn aros yn nechreu y flwyddyn 1860. Yn anffodus codwyd deuddeg o dai ar yr un tir a'r capel, ac ymddiriedolwyr y capel yn gyfrifol am y cwbl. Mae yn ddiau eu bod hwy yn meddwl wrth weled pethau yn argoeli mor dda y ceid digon oddiwrth ardreth y tai i dalu llog arian y capel hefyd, ond wedi methiant y gwaith, ac i'r tai fyned yn wag dyryswyd eu holl gynlluniau. Aeth y rhai oedd a fynent yn benaf ag arwain yr eglwysi i'r trybini yma yn fuan ar gyfeiliorn, fel y disgynodd y gofal a'r cyfrifoldeb agos yn gwbl ar rai nad oedd un llaw ganddynt i dyuu y baich; a'r rhai nad oedd dim a fynent a myned i'r ddyled a fu yn offerynau i waredu yr eglwysi oddiwrtho. Bu y ddyled am flynyddoedd yn achlysur o lawer o gynen ac anghysur yn eglwysi Liverpool, oblegid fod un dosbarth am ei gwthio yn barhaus arnynt, a dosbarth arall am ymwrthod a hi gan nad oedd dim a fynent a'i thynu; ac ofnai y rhan fwyaf y byddai dyled Birkenhead yn faich arosol ar yr enwad. Awgrymwyd llawer cynllun gyda golwg arni, er na feddyliodd neb ar y pryd y gellid ei

thalu yn yr oes hon. Yn nechreu y flwyddyn 1860, fel y dywedasom, yr oedd mwy na 4700p. yn aros o ddyled ar yr holl eiddo. Dywedodd yr ymddiriedolwyr y rhoddent y capel a'r pedwar ty sydd yn nglyn ag ef drosodd i'r eglwys am 2500p., ac y cymerent hwythau yr wyth ty arall gyda'r 1200p. gweddill arnynt, i wneyd y goreu o honynt. Boddlonwyd i hyny, er na wnaed un cytundeb ysgrifenedig. Cymerodd eglwysi y Tabernacl a Bethel, y rhai oeddynt erbyn hyn yn rhydd o ddyled, gyfrifoldeb 500p. bob un i dalu eu llogau, gan adael y 1000p. arall i Birkenhead, a chyfrif y pedwar ty yn werth y 500p. gweddill. Meddyliodd Mr. Thomas, Birkenhead, gyda chefnogaeth ei frodyr yn Liverpool, am wneyd ymdrech i dalu 500p. o'r ddyled. Nid oedd neb ar y dechreu yn dychmygu y gallesid gwneyd mwy na hyny. Dechreuwyd yn ngwanwyn y flwyddyn, a rhoddodd Mr. Thomas, Tabernacl, a Mr. Stephens, Bethel, eu hysgwyddau yn egniol dan y baich. Llwyddasant tu hwnt i'w disgwyliadau. Cawsant symiau mwy nag a ddychmygodd eu calon. Gwrolwyd hwy i'r fath raddau fel y credasant fod *hyd yn nod llwyr ddileu* y ddyled yn beth *posibl*. Yr oeddynt erbyn mis Mai, 1860, wedi casglu 500p., a meiddiodd un o honynt ddyweyd yn nghyfarfod Tea Party Birkenhead, a gynhelid y mis hwnw, y byddent wedi cwbl ddileu y ddyled erbyn diwedd 1861. Edrychid arnynt fel rhai yn breuddwydio, os nad yn wir fel rhai wedi ynfydu, am eu bod yn siarad felly, ond yr oeddynt wedi rhwymo eu hunain a diofryd y mynent gyrhaedd yr amcan. Cerddasant o dy i dy, o swyddfa i swyddfa, ac o siop i siop yn Liverpool, nes bod eu traed lawer noswaith yn gwaedu. Aethant i Lundain a Manchester, a lleoedd eraill yn Lloegr, a chawsant ffafr gan lawer, er i eraill fod yn sarug wrthynt. Credodd eglwysi y Tabernacl a Bethel a Birkenhead erbyn hyn fod y gwaith i gael ei wneyd, a daethant hwythau allan yn galonog a haelionus. Apeliodd y tri gweinidog at eglwysi Cymru am eu help, a theithiasant y rhan fwyaf o dair-sir-ar-ddeg Cymru, weithiau gyda'u gilydd bryd arall ar wahan, a chawsant y derbyniad cynhesaf a charedicaf agos yn mhob man. Rhoddasant y rhan fwyaf o'r blynyddoedd 1860 ac 1861 at hyn o orchwyl, ac erbyn Nadolig y flwyddyn olaf a enwyd yr oedd y gwaith wedi ei wneyd, a chynhaliwyd cyfarfodydd yn Bethel am ddeg, Birkenhead am 2, a'r Tabernacl am chwech, i gydlawenhau fod y ddyled wedi ei thalu. Darllenwyd Adroddiad yn y cyfarfod nos dydd Nadolig yn y Tabernacl, o'r oll a gasglwyd, a'r treuliau a aeth i'w casglu ; a chynygiwyd penderfyniad o ddiolchgarwch gwresog i'r ddau Mr. Thomas a Mr. Stephens, am eu llafur hunanymwadol, gan Mr. George Owens, yr hyn a gefnogwyd gan Mr. John Evans, a phasiwyd ef nid yn unig yn unfrydol ond gyda brwdfrydedd mawr.

Dyma dalfyriad o'r hyn a ddarllenwyd ar y pryd:—Casglwyd yn Lloegr, a chan eglwysi y Tabernacl, Bethel, a Birkenhead, 1644p.; casglwyd yn Nghymru 515p. 2s. 6c.,* yn gwneyd y cyfanswm a gasglwyd yn 2159p. 2s. 6c. Talwyd o ddyled y capel, 2000p.; talwyd i'r gweinidogion fu yn gwasanaethu am 53 o Sabbothau a'u treuliau, 101p.; taliadau am argraffu, postio, &c., 13p. 16s.; treuliau teithio y casglwyr yn ystod y ddwy flynedd, 45p. 9s., yn gwneyd cyfanswm y taliadau yn 2160p. 5s. Gwelir oddiwrth y cyfrif hwn iddynt dalu 1p. 2s. 6c. yn fwy nag a dderbyniasant er mwyn cael y peth i ben, a'r syndod yw fod swm mor fawr

* Mae manylion yr holl gasgliadau hyn gan Mr. Mathew Jones, Birkenhead.

wedi ei gasglu gyda chyn lleied o draul. Bu Mr. Stephens oddicartref 21 o Sabbothau yn casglu, Mr. Thomas, Tabernacl, 20, a Mr. Thomas, Birkenhead, 12. Mae yr holl fanylion ar gael—pa le y buont, pwy oedd yn eu lle, a pha faint a dalwyd i bob un a fu yn gwasanaethu yn eu habsenoldeb. Teimlai Mr. Thomas a'r eglwys yn Birkenhead, a'r gweinidogion fu yn cynorthwyo, yn awyddus iawn am gyhoeddi adroddiad llawn ar y pryd o'r cwbl, ond nid oedd arian mewn llaw i hyny, ac yn sicr nis gallasai neb ddisgwyl i'r gweinidogion fyned i'r draul i wneyd hyny yn ychwanegol at y llafur a gymerasant a'r aberth dirfawr a wnaethant. Maent wedi gosod eglwys Birkenhead ac eglwysi Liverpool, ac yn neillduol y personau oedd yn gyfrifol am y ddyled dan rwymedigaeth byth iddynt. Barnasom yn briodol roddi hanes helaeth o'r ymdrech yma gan ei bod yn un nodedig yn hanes yr enwad, heblaw fod y fath lafur hunanymwadol yn haeddu ei gadw byth mewn coffadwriaeth.

Daeth yr achos yn Birkenhead rhagddo bob blwyddyn ar ol hyn. Cymerodd yr eglwys arni ei hun ofal cynhaliaeth y weinidogaeth heb help eglwysi Liverpool, yr hwn yn garedig a estynwyd am bymtheng mlynedd. Cynyddodd yr eglwys a'r gynnulleidfa, a siriolodd yr achos yn ei holl ranau. Bu Mr. Thomas yma yn hynod o barchus hyd ganol haf 1869, pryd y derbyniodd alwad o Pittsburg, America, ac y gwnaeth ei feddwl i fyny i ymfudo, er galar mawr i'r holl eglwys, ac eglwysi Liverpool hefyd. Wedi bod bedair blynedd heb weinidog rhoddwyd galwad i Mr. Hugh Jones, Cemaes, Mon, yr hwn a ddechreuodd ei weinidogaeth yma yr ail Sabboth yn Gorphenaf, 1873, ac y mae yn parhau i lafurio yma gyda chymeradwyaeth mawr. Mae y gynnulleidfa yn cynyddu, a'r eglwys yn rhifo yn agos i 250 o aelodau. Mae y cyfnewidiad yn agwedd yr achos yn yspaid ugain mlynedd wedi bod yn anhygoel; ac os nad yw y fechan wedi myned yn fil, yn sicr y mae "y wael wedi myned yn genedl gref."

Codwyd yma ddau neu dri i bregethu ar wahanol amserau, ond gan na ddaeth dim neillduol o honynt nid oes yr un o honynt yn werth eu crybwyll yma. Bu yma lawer o bersonau ffyddlon yn nglyn a'r achos o bryd i bryd, ac y mae yr eglwys i fesur mawr wedi ei gwaredu oddiwrth ddynion anhywaeth a therfysglyd. Mae heddwch wedi bod o fewn ei rhagfur, yn gystal a ffyniant yn ei phalasau.

Diaconiaid presenol yr eglwys ydyw y Meistri Mathew Jones, Henry Davies, John C. Jones, Thomas Williams, a David Williams.

O.Y. Cawsom yr hanes uchod agos yn gyflawn gan Mr. Mathew Jones, yr hwn sydd wedi bod yn nglyn a'r achos yn y lle er ei gychwyniad, ac felly yn hollol gyfarwydd ag ef yn ei holl dreigliadau.

## GARTSIDE STREET, MANCHESTER.

Yn y flwyddyn 1816 y dechreuodd yr Annibynwyr Cymreig bregethu yn y dref boblog hon. Mr. John Breese o Liverpool fu yn pregethu gyntaf yma. Yn mhen tua dwy flynedd wedi hyny, sef Hydref 18fed, 1818, ffurfiwyd yma eglwys gan Mr. W. Williams, Wern. Mewn anedddy yn Old Carter Lane, neu Portland Street, fel y gelwir hi yn awr, yr oeddid yn addoli y pryd hwnw. Mae rhan o *warehouse* Sir James Watts yn awr ar safle yr hen anedd-dy hwnw. Chwech oedd rhif yr aelodau pan ffurfiwyd yr eglwys, sef Joseph ac Anne Griffiths o'r Bala, Hugh a

Gwen Jones o'r un lle, ac un John Davies a'i wraig. Mae merch i Joseph Griffiths yn fyw ac yn awr yn aelod o'r eglwys hon, sef Mrs. Edwards, Pendleton, gweddw y diweddar Mr. Owen Edwards, un o ddiaconiaid y lle am flynyddau. Yn y flwyddyn 1822 symudwyd o Old Carter Lane i ystafell neu ysgoldy perthynol i eglwys St. Iago, yr hwn yn garedig a ganiatawyd at wasanaeth y gynnulleidfa fechan gan berson yr eglwys hono. Wedi bod yn y lle hwn am oddeutu dwy flynedd symudwyd i'r *Old Cloth Hall*, Salford, gyferbyn a'r Eglwys Gadeiriol, ond fod yr afon Irwell yn rhanu rhyngddynt. Erbyn hyn yr oedd rhif yr aelodau wedi lluosogi i'r fath raddau fel yr oeddent yn alluog i gynal gweinidog. Rhoddasant alwad i Mr. John Griffiths, yn awr o Fynydd Buckley, sir Flint. Cynaliwyd cyfarfodydd agoriad yr Hall a sefydliad Mr. Griffiths ar yr un Sabboth, yn mis Hydref, 1824, pryd y pregethwyd gan Mr. Griffiths a Mr. Williams o'r Wern. Yn Chwefror, 1826, gosodwyd careg sylfaen capel Gartside Street gan Mr. Breese o Liverpool, a Mr. Coombes, gweinidog y Saeson yn Salford. Agorwyd y capel Medi 17eg, 1826. Am 10 yn y boreu, pregethodd Mr. Breese, Liverpool, a Mr. Williams o'r Wern, oddiwrth Exod. xxv. 21, 22, a Luc xi. 12. Am 2, pregethodd Mr. Breese yn Saesonaeg a Mr. Isaac Harries, Wyddgrug, yn Gymraeg, oddiwrth Rhuf. i. 16, ac Act. x. 43. Am 6, pregethodd Mr. Breese a Mr Williams, oddiwrth Diar. i. 23, ac Exod. xx 8-10. Bu dyled y capel hwn yn faich tost ar yr eglwys, a rhai o weinidogion Cymru, y rhai a aethent yn gyfrifol am dano. Bu y Meistri Williams o'r Wern, Griffith, Bethel, a rhai eraill trwy Ddeheudir a Gogledd Cymru yn casglu er ei lleihau. Parhaodd Mr. Griffiths i weinidogaethu yma hyd y flwyddyn 1831. Dywed ef am dymor ei weinidogaeth yma fel y canlyn:—"Trwy holl dymor fy ngweinidogaeth i, hyd 1831, pryd y rhoddais ofal y lle i fyny, ffynodd heddwch mawr ac undeb yn ein mysg, a darfu i lawer gredu a throi at yr Arglwydd." Bu yr eglwys yn Gartside Street heb un gweinidog sefydlog wedi ymadawiad Mr. Griffiths hyd Tachwedd, 1836, pryd yr ymsefydlodd Mr. David Morgan, Machynlleth, yma, ac yma y bu hyd Tachwedd, 1839, pryd y symudodd i Lanfyllin. Yn y blynyddoedd hyny yr oedd elfenau anghydnaws yn yr eglwys, ac wedi bod am amser hir yn peri llawer o flinder iddi, ond yn fuan wedi ymadawiad Mr. Morgan torodd yr anghydfod allan a therfynodd mewn ymraniad. Ardrethodd y blaid a aeth allan o Gartside Street gapel gwag yn Great Jackson Street, ac ymffurfiasant yn eglwys yno. Dyma ddechreuad yr achos sydd yn bresenol yn Booth Street. Mae yr hen ymryson er's blynyddau bellach wedi ei anghofio, a'r rhan fwyaf, os nad yr oll, o'r rhai fuant a llaw ynddo wedi meirw, ac y mae y ddwy eglwys a'u gweinidogion yn heddychol ac yn cydweithredu yn hyfryd. Yn Tachwedd, 1842, dechreuodd Mr. David Roberts, yn awr o Wrecsam, ei weinidogaeth yma, a pharhaodd i lafurio yn y lle hyd ddechreu y flwyddyn 1845, pryd y symudodd i Cemaes, Mon. Yn Mai, 1846, dechreuodd Mr. Richard Jones, Sirhowy, ei weinidogaeth yma. Bu ef yma hyd ddechreu y flwyddyn 1865, pryd y symudodd i Lanidloes. Y gweinidog nesaf yma oedd Mr. D. Lloyd Jones, yn awr o Patagonia. Dechreuodd ef ei weinidogaeth yma yn Mehefin, 1867, ac yn agos i ddiwedd y flwyddyn 1869 symudodd i Ruthyn. Yn Tachwedd, 1870, dechreuodd Mr. R. Roberts, o Lanfaircaereinion, ei weinidogaeth yma, ac y mae efe yn parhau i lafurio yma gydag arwyddion gobeithiol o lwyddiant mawr. Costiodd y capel a'r ty perthynol iddo ar y cyntaf

ddwy fil a phedwar cant o bunau, ac erbyn Mehefin, 1847, yr oedd yr holl ddyled wedi ei thalu, ac yn hyny bu Mr. R. Jones a'r eglwys yn dra ymdrechgar. Yn 1871 gwnaed yma lawer o gyfnewidiadau ac adgyweiriadau, yr hyn a gostiodd 600p., ond y mae y swm hwn agos oll wedi ei dalu erbyn hyn. Mae y *ground rent* yma yn 25p. y flwyddyn, yr hyn oddiar 1826 hyd yn awr sydd dros ddeuddeg cant o bunau, felly gellir dyweyd fod yr addoldy hwn wedi costio o'r dechreuad hyd yn awr 4200p.

Bu yr eglwys hon am flynyddau yn cael ei haflonyddu gan ryw fan ymrysonau, yr hyn a anafai gysur crefyddol yr aelodau, ac a ataliai lwyddiant yr achos, ond y mae yn hyfryd genym allu cofnodi fod yma dangnefedd heddychol yn teyrnasu er's amser bellach. "Parhaed brawdgarwch."

Cyfodwyd y personau canlynol i bregethu yma.

William Daniel, yr hwn sydd yn weinidog parchus gyda'r Saeson yn Gawthorne, yn agos i Wakefield, er y flwyddyn 1843. Un genedigol o ardal y Wern yw ef.

Edward Jones, yr hwn a aeth i'r America, ac a fu yn gweinidogaethu yno am flynyddau lawer yn New York Mills, gerllaw Utica; ond y mae wedi marw er's blynyddau.

James Hughes Morgan, mab Mr. D. Morgan, Llanfyllin. Y mae ef er y flwyddyn 1844 yn weinidog yn Leeds, ond yn awr yn analluog o herwydd cystudd i gyflawni ei weinidogaeth.

W. Thomas (Gwilym Gwenffrwd).* Y mae efe yn awr yn byw yn yr Wyddgrug.

James Thomas, brawd Gwilym Gwenffrwd. Y mae efe yn genhadwr trefol *(Town Missionary)* yn Manchester.

Mae yma yn awr ddau wr ieuangc o'r enwau Robert Jones a W. Thomas newydd ddechreu pregethu, ac yn parotoi i ryw athrofa.†

## BOOTH STREET, MANCHESTER.

Saif y capel prydferth hwn rhwng Oxford Road ac Upper Booth Street, yn Chorlton-upon-Medlock, mewn man canolog i'r Cymry yn gyffredinol sydd y tu allan i'r ddinas. Dechreuwyd yr achos gan ychydig o gyfeillion a ymadawsant o Gartside Street, Chwefror 13eg, 1842, mewn ystafell yn Bethel Place, allan o Stretford Road, Hulme. Symudwyd oddiyno yn yr un flwyddyn i Great Jackson Street, i hen gapel Mr. J. Gwyther, yr hwn a brynwyd ganddynt yn lled rad. Dechreuwyd cynal moddion cyhoeddus yno ar y 12fed o Mehefin, 1842, pan y pregethwyd gan Mr. E. Roberts, Cwmafon, Morganwg, yn awr, ond myfyriwr y pryd hwnw yn Aberhonddu; a sefydlwyd yno eglwys Awst 7fed, 1842, gan Mr. Owen Owens, Rhesycae. Nifer yr aelodau ydoedd 11 o frodyr a chwiorydd. Y mae dau o honynt yn fyw yn awr, sef Mr. John Evans, yn British Columbia, ac Evan Evans, yn Machynlleth. Yn y flwyddyn 1845 rhoddwyd galwad unfrydol i Mr. D. Hughes, B.A., Llanelwy, a dechreuodd ar ei weinidogaeth Gorphenaf 19eg, 1846; ond llai na blwyddyn y bu yma, oblegid ymadawodd yn Mai, 1847. Rhagfyr 3ydd, 1848, rhoddwyd galwad serchog i Mr. Hugh Hughes (Tegai), Rhoslan, a dechreuodd ar ei weini-

* Mewn camgymeriad rhoddasom ef i mewn yn mysg y pregethwyr godwyd yn Nhreffynon. † Llythyr Mr. R. Roberts.

dogaeth Mai 13eg, 1849, a bu yma hyd y flwyddyn 1852. Yn 1853 rhoddwyd galwad unfrydol i Mr. Robert Evans (Trogwy), myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef y Sabboth cyntaf yn Awst yr un flwyddyn, a bu yma hyd y Sabboth cyntaf yn Gorphenaf, 1857. Ni bu yma yr un gweinidog drachefn tra yn Great Jackson Street. Ychydig iawn o lwyddiant fu ar yr achos yn y lle hwnw o gwbl, priodolid hyn mewn rhan i anghyfleustra y lle o gyrhaedd y Cymry, a'i agosrwydd i'r fam-eglwys, Gartside Street, heblaw i amryw bethau eraill fod yn anffafriol iddo. Yn y flwyddyn 1859 barnodd yr eglwys mai gwell fuasai symud eu pabell oddiyno i le mwy canolog, yr hyn a wnaethant, a dewiswyd y Temperance Hall fel y lle goreu, a gwelwyd yn lled fuan ddoethineb eu symudiad. Cynyddodd y gynnulleidfa a lluosogodd yr eglwys—"Arglwydd Dduw Israel a ymwelodd a hwynt, ac a wnaeth ymwared i'w bobl." Yna rhoddwyd galwad unfrydol i Mr. T. E. Evans, Rhosllanerchrugog, a dechreuodd yma y Sabboth cyntaf yn Mawrth, 1862. Wedi i Mr. Evans sefydlu yn y lle, tynodd ei bregethau effeithiol gynnulleidfa fwy nag o'r blaen, a gwelodd yr eglwys a'r gweinidog mai gwell fuasai cael capel newydd yn y gymdogaeth hono; ac wedi edrych allan penderfynwyd ar Booth Street East. Gosodwyd i lawr sylfaen y capel Gorphenaf 12fed, 1862, gan Syr James Watts. Amser byr gafodd Mr. Evans yn ei gapel newydd, o herwydd gorfodwyd ef gan afiechyd i roddi i fyny Medi 27ain, 1865, yr hyn a barodd drallod mawr i'r eglwys. Ni fu neb yn fwy hoff gan ei bobl. Gwnaeth Mr. Evans les dirfawr i'r eglwys a'r enwad yn ystod ei arosiad byr yn y ddinas. "Yr oedd iddo air gan bawb a chan y gwirionedd ei hun." Wedi i'r eglwys fod yn byw ar weinidogaeth achlysurol am dros ddwy flynedd, rhoddasant alwad unfrydol i Mr. D. John, Llanddeusant, Mon, a dechreuodd ar ei weinidogaeth y Sabboth cyntaf yn Ionawr, 1868. Cynaliwyd cyfarfod ei sefydliad yr ail Sabboth cyfisol, pan y pregethwyd gan Mr. D. Lloyd Jones, Gartside Street, a Dr. Rees, Liverpool. Nos Lun cynaliwyd cyfarfod cyhoeddus o dan lywyddiaeth John Parry, Ysw., Manchester, cyfaill calon i'r achos da; a chymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan y Meistri W. Griffith, Caergybi; W. Rees, D.D., Liverpool; H. Rees, Caer; A. Thomson, M.A., yn nghyd a holl weinidogion Cymreig y ddinas. Dechreuodd Mr. John yn ei faes newydd gyda dymuniadau goreu y bobl, a "thrwy gymorth gras" y mae yn parhau i lafurio yma gyda gradd o lwyddiant. Mae'r eglwys a'r gynnulleidfa wedi cynyddu o flwyddyn i flwyddyn, a "chariad a thangnefedd yn ffynu," nid yn unig rhwng yr eglwys a'i gweinidog ond hefyd rhwng yr eglwysi a'u gilydd. Costiodd y capel a'r ysgoldy yn agos 2500p., ac nid oes o ddyled ond 700p. "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen."

Codwyd yma un pregethwr, Mr. J. E. Owen, myfyriwr yn athrofa y Bala, ond sydd wedi derbyn galwad o Llanberis, ac ar sefydlu yno.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

THOMAS E. EVANS. Ganwyd ef yn Glynnedd, sir Forganwg, yn y flwyddyn 1831. Derbyniwyd ef pan yn ieuangc yn aelod o'r eglwys yno, a chyn diwedd y flwyddyn 1849 cymhellwyd ef i ddechreu pregethu.

Wedi bod am ddwy flynedd mewn ysgol barotoawl yn Abertawy dan ofal Dr. Evan Davies, derbyniwyd ef i athrofa Aberhonddu yn haf 1852. Ennillodd yno trwy ei hynawsedd, a'i gallineb, a'i foneddigeiddrwydd, serch ei athrawon a'i gydfyfyrwyr. Ar derfyniad ei amser derbyniodd alwad gan eglwysi Rhosllanerchrugog, Rhosymedre, a Rhiwabon, ac urddwyd ef yno Gorphenaf 22ain, 1856. Bu yn dra llafurus i gyflawni ei weinidogaeth. Yn ei amser ef y codwyd capeli newyddion hardd yn y ddau le olaf a enwyd, ac yn fuan wedi hyny rhoddodd eu gofal i fyny gan gyfyngu ei lafur i'r maes eang oedd ganddo yn y Rhos. Ennillodd barch a dylanwad mawr yno, ac aeth yr eglwys dan ei ofal rhagddi yn dra llwyddianus. Ymddygodd yn eu plith fel gwr Duw—yr oedd ganddo ddylanwad ar bob dosbarth a sefyllfa—a rhoddai dwysder a difrifwch ei ymddygiad argraff ar bawb nas gallesid gwneyd yn hyf arno. Yr oedd yn ddifrifol heb fod yn drymaidd. Pregethai yn bwyllog, eglur, cywir, ac yn aml yn dyner a gafaelgar iawn. Cyrhaeddai ei eiriau gydwybodau ei wrandawyr. Wedi treulio yn y Rhos fwy na chwe' blynedd* derbyniodd alwad gan yr eglwys oedd yn cyfarfod ar y pryd yn Temperance Hall, Manchester, ac yr oedd llawer iawu o gymhwysderau ynddo i fod yn weinidog Cymreig mewn tref Seisnig. Yr oedd ei olwg yn foneddigaidd, a phregethai Gymraeg a Saesonaeg gyda'r un rhwyddineb. Trwy ei gydymdrech ef a'i bobl weithgar codwyd capel hardd yn Booth Street, ac yr oedd yr achos yn myned rhagddo yn dra addawol ynddo wedi ei gael yn barod. Gwanhaodd iechyd Mr. Evans. Nid oedd wedi bod yn gryf er's blynyddau, a phrofodd awyr Manchester yn anffafriol iddo. Daliodd i weithio tra y gallodd ac yn hwy na'i allu. Ymladdodd yn galed cyn rhoddi i fyny y weinidogaeth, ond bu raid iddo ildio. Teimlai ef a'i bobl fod datod y cwlwm yn anhawdd iawn. Yr oedd ynddo ymlyniad angerddol wrth eglwysi Rhos a Manchester, ac yr oeddynt hwythau yn teimlo felly tuagato yntau, ac y mae ei enw yn anwyl ganddynt hyd heddyw. Cafodd garedigrwydd anarferol ganddynt, ac nid ganddynt hwy yn unig ond gan luaws eraill. Clywsom ef lawer gwaith yn siarad yn gynes am serch a chydymdeimlad yr eglwysi a'i frodyr yn y weinidogaeth. Derbyniwyd ef yn *eithriadol* ar Drysorfa yr Hen Weinidogion, yr hyn a fu o help mawr iddo ef a'i anwyl briod a adawodd yn weddw. Bu yn symud o fan i fan am iechyd, ond yn Mai, 1867, cymerodd dy yn agos i orsaf Gobowen, gerllaw Croesoswallt, yn ymyl capel bach Preshenlle, lle y pregethai yn aml, os goddefai ei iechyd, yn y misoedd dilynol; ond teimlai yn rhy wan i fyned yn mhell oddicartref. Bu farw yn lled ddisymwyth Rhagfyr 21ain, 1867, yn 36 oed. Cymerwyd ei gorff y dydd Gwener canlynol i hen fynwent gysegredig Llanfyllin, lle y gorphwys mewn gobaith gyda lluaws eraill o anwyliaid y rhai a hunasant yn yr Iesu.

## NEEDWOOD STREET, MANCHESTER.

Cychwynwyd yr eglwys fechan hon yn Tachwedd, 1868. Dechreuwyd cynal moddion cyhoeddus tua blwyddyn cyn hyny mewn ystafell yn

* Gwnaed camgymeriad yn hanes y Rhos wrth ddywevd iddo fod yno saith mlynedd a haner.

Rochdale Road. Y prif ddyn yr amser hwnw ydoedd un o'r enw Lewis Jones oedd yn aelod gyda'r Saeson, trwy ei ymdrech ef yn benaf os nid yn hollol y dechreuwyd yr achos hwn. Cafodd bob help wedi cychwyn i'w gynal a'i gario yn mlaen gan weinidogion a phregethwyr y ddinas. Erbyn diwedd 1868 cafwyd cynnulleidfa o 60 i 80 ynghyd fel y barnwyd y gellid ei sefydlu yn eglwys, ac er mai cymysgedig o wahanol enwadau oedd ar y dechreu, ar gais unfrydol y gynnulleidfa cyhoeddwyd hi yn eglwys Annibynol. Mae'r fechan hon wedi myned trwy lawer cyfnewidiad er yr amser hwnw, ond yn fyw er hyny. Bwriedir pan y ceir agoriad i godi capel bychan, ac y mae cryn dipyn o arian mewn llaw yn barod. Mae yn y lle hwn lawer o Gymry nad ydynt yn mynychu un lle o addoliad. Gweinyddir i'r gynnulleidfa fechan yma gan weinidogion Manchester, a chan y myfyrwyr Cymreig sydd yn y *Lancashire College.*

## CAERLLEON.

Yn nechreu y flwyddyn 1847 cymerwyd ysgoldy bychan yn Back Brook Street, er dechreu achos Annibynol Cymreig yn y ddinas hon. Pregethwyd boreu Sabboth gan Mr. W. Rees, Liverpool, ac ar ddiwedd yr oedfa corpholodd wyth o aelodau yn eglwys yn y lle, a gweinyddwyd swper yr Arglwydd iddynt. Nos Sabboth pregethwyd gan Mr. John Jones, Castle Street, Liverpool. Chwefror 16eg, 1847, cafwyd Tea Party yn yr ysgoldy er galw sylw y dinasyddion at y lle, a daeth lluaws mawr yn nghyd. Cafwyd anerchiadau yn Saesnaeg a Chymraeg gan weinidogion y gwahanol enwadau yn y dref, a chan y Meistri W. Rees, Liverpool, ac S. Evans, Llandegle. Aeth yr achos rhagddo yn raddol ar ol hyn. Bu y Meistri I. Harries, Wyddgrug, ac H. Pugh, Mostyn, yn arbenig, yn gefnogol iawn i'r achos. Bu Mr. E. Griffith, Llanegryn, yma am chwe mis yn ngauaf 1848 ar ei ffordd i America, lle y bwriadai ymfudo ddechreu yr haf dilynol; a siriolodd yr achos yn fawr yn nhymor ei arosiad ef yma. Am ddeuddeng mlynedd ar ol hyny bu yr eglwys heb weinidog sefydlog. Yr oedd yr ystafell mewn heol gul o'r neilldu, ond yn 1860 cymerwyd capel bychan cyfleus yn Pepper Street, dan ardreth flynyddol o 20p., a theimlai y cyfeillion erbyn hyny fod yr achos yn edrych i fyny. Rhoddwyd galwad i Mr. Henry Rees, (mab Dr. Rees, Liverpool), myfyriwr yn athrofa Aberhonddu; ac urddwyd ef Gorphenaf 7fed, 1862. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Meistri J. Morris, athraw Aberhonddu; H. Rees, Liverpool, (ewythr yr urddedig); W Rees, (ei dad); R. Thomas, Bangor; H. Pugh, Mostyn, ac eraill. Nid oedd nifer yr aelodau pan sefydlodd Mr. Rees yma ond 50, ond y maent wedi cynyddu yn barhaus, fel y mae yn awr 140 o aelodau. Penderfynodd yr eglwys a'r gweinidog gael capel newydd mewn man cyfleus, ac ymroddwyd o ddifrif i'w adeiladu. Agorwyd ef Mai 22ain a'r 23ain, 1870, ac yr oedd yn werth 2500p., ac y mae rhan dda o'r ddyled erbyn hyn wedi ei thalu. Mae yr eglwys yn un o'r rhai mwyaf heddychol, ac yn wastad yn cydweithio. Mae yma ddau o'r rhai oeddynt yma ar ddechreuad yr achos, sef Mr. Evans, Draper, a Mr. Foulkes; ac y mae yma eraill wedi dyfod i lenwi lle y ffyddloniaid a gymerwyd ymaith. Codwyd yma un pregethwr sef Morris Davies, yr hwn wedi hyny a ymfudodd i America.

## EARLSTOWN.

Mae y lle hwn o gylch haner y ffordd rhwng Liverpool a Manchester, lle y mae poblogaeth gynyddol, ac yn eu plith lawer o Gymry yn nglyn a chwmni y *London and North Western Railway*. Bu y gwahanol enwadau yn cydaddoli yma mewn ystafell am rai blynyddoedd, ond yn mhen amser ymneillduodd yr Annibynwyr, a barnasant yn ddoethach sefydlu eglwys Annibynol yn y lle. Corpholwyd hi gan Dr. Rees, Liverpool, tua'r flwyddyn 1861. Cafwyd tir at adeiladu capel, a bu y diweddar Richard Evans, Ysw., o Haydock, a'i feibion yn dra charedig iddynt. Gosodwyd careg sylfaen y capel i lawr Mehefin 10fed, 1865, ac agorwyd ef cyn diwedd y flwyddyn hono. Nid ydyw ond capel bychan, ond y mae yn ddigon i ateb angen y Cymry yn y lle. Dibynir am weinidogaeth yma ar bregethwyr Liverpool a Manchester, a gweinidogion yn achlysurol o Gymru. Mae Mr. D. M. Lewis, gynt o Pentraeth, yn aros yn y lle, ac yn pregethu yma weithiau, er nad oes cysylltiad gweinidogaethol rhyngddo a'r eglwys.

## WHEELER STREET, BIRMINGHAM.

Sefydlwyd yr achos Annibynol Cymreig yma gan Mr. J. Jones, Smethcott, yn awr o America. Pregethwyd am y tro cyntaf Medi 9fed, 1860, mewn ystafell perthynol i'r Temperance Hotel, Moor Street. Yn Tachwedd, yr un flwyddyn, ffurfiwyd eglwys yn yr un lle gan Mr. Jones. Rhif yr aelodau oedd deuddeg, sef y Meistri J. Pritchard, R. Morgan, H. Jones, D. Pritchard, R. Pritchard, T. Davies, E. Jones, J. Edwards, Mrs. Parry, a Misses J. Pritchard ac A. Morgan. Yn fuan ar ol ffurfio yr eglwys etholwyd y Meistri R. Morgan, J. Pritchard ac H. Jones yn ddiaconiaid, y rhai a gyflawnasant eu gwaith gydag egni mawr a llafur diflino. Nid oedd o'r deuddeg ond Mrs. Parry yn cadw tŷ—meibion a merched ieuaingc oedd y gweddill. Bu Mr. J. Parry yn weithgar gyda'r achos yn ei ddechreuad er nad ydoedd yn aelod. Gwnaeth y deuddeg ymdrech canmoladwy, ac aberth neillduol i ddwyn yr achos yn mlaen yn deilwng. Er fod ardreth yr ystafell a thraul y weinidogaeth yn faich lled drwm, etto carient ef yn llawen, o herwydd eu sel a'u gweithgarwch. Yn Mawrth, 1862, urddwyd Mr. J. Cadwaladr, o athrofa y Bala, yn weinidog ar yr eglwysi yn Birmingham a Wolverhampton. Pregethwyd gan y Meistri M. D. Jones, Bala; R. Parry, Llandudno, a J. Jones, Smethcott. Wedi llafurio am tua blwyddyn ymadawodd Mr. Cadwaladr ac ymfudodd i'r America, lle y llafuria yn llwyddianus yn awr. Yn 1863 daeth Mr. R. E. Williams, Rhuthyn, yn weinidog i eglwys Birmingham yn unig. Wedi i'r eglwys fod yn Moor Street am tua thair blynedd, symudodd i ystafell perthynol i'r hen Temperance Hall, Ann Street, lle yr arosodd am tua dwy flynedd; ond o herwydd fod yr ardreth yn drom symudodd i ystafell arall yn yr un lle, lle yr aroswyd am tua blwyddyn, ac oddiyno drachefn aethant a'r arch i ystafell arall yn yr un heol. Yn Awst, 1866, ymadawodd Mr. Williams. Yn 1867 rhoddwyd galwad i Mr. James C. Evans, o athrofa Aberhonddu, a chydsyniodd yntau a'r cais. Urddwyd

ef yn Hydref, 1867. Pregethwyd gan y Meistri J. Stephens, Brychgoed; W. Roberts, Aberhonddu, a J. Jones, Smethcott. Yn ystod gweinidogaeth Mr. Evans adeiladwyd ysgoldy yn Wheeler Street, yr hwn a ddefnyddiwyd am rai blynyddoedd yn lle i addoli. Yn 1868 y daeth yr eglwys o Ann Street i Wheeler Street i addoli. Yn Rhagfyr, 1869, ar ol llafurio yma am tua thair blynedd, ymadawodd Mr. Evans i Cana, Mon. Yn 1870 rhoddwyd galwad i Mr. J. Lewis, Corwen, cydsyniodd yntau a chynhaliwyd y cyfarfod sefydliad yn Tachwedd, 1870. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Meistri G. B. Johnson, J. Shillito, W. F. Callaway, J. Hotchkiss, J. Lewis (T.C.), Birmingham ; J. Peter, ac L. Ellis, Rhuddlan. Yn 1871 gosodwyd careg sylfaen y capel gan J. A. Cooper, Ysw., F.R.S.L., ac agorwyd ef yn Ionawr, 1872. Pregethwyd gan y Meistri W. Rees, D.D., Liverpool; D. M. Jenkins, Penmaenmawr; J. Rowlands, Rhos; E. Stephen, Tanymarian; J. Lewis, gweinidog; G. B. Johnson, a J. Shillito, Birmingham. Costiodd y capel a'r ysgoldy tua 1300p., a chyn diwedd y flwyddyn yr agorwyd ef yr oedd y ddyled i lawr i 470p. Hyd nes yr agorwyd y capel gallasai yr eglwys ddyweyd fel y dywedodd yr Arglwydd wrth genedl Israel, " Nid arhosais mewn ty * * eithr bu'm yn rhodio mewn pabell ac mewn tabernacl." Bu yr eglwys a'r gynnulleidfa yn nodedig am eu gweithgarwch wrth adeiladu y capel—merched ieuaingc mewn gwasanaeth y cyfranu 7 a 12 punt yr un, a gweithwyr yn cyfranu 8p., 12p. a 50p. yr un, heblaw talu 1s. 6c., 2s. a 2s. 6c. yr un bob wythnos at y weinidogaeth. Drwy ymdrech egniol a bendith yr Arglwydd y mae yr achos mewn sefyllfa lewyrchus yn bresenol.

## LOWER CASTLE STREET, CAERODOR.

Dechreuwyd yr achos Cymreig yn y ddinas hon tua y flwyddyn 1819, yn Baker's Hall, Merchant Street, lle y buwyd yn addoli hyd nes yr adeiladwyd y capel yn Lower Castle Street. Nid ydym wedi gallu dyfod o hyd i enwau y personau fuont a'r llaw flaenaf yn nghychwyniad yr achos yma, nac enwau y gweinidogion fuont yn pregethu yma gyntaf. Gweinidogion Mynwy a Morganwg yn benaf a gynorthwyent yma nes i'r eglwys fechan ddewis gweinidog iddi ei hun. Yn ngwanwyn y flwyddyn 1821 daeth Mr. Herbert Herbert o athrofa Llanfyllin, yma ar brawf, ac wedi iddo fod yma am ychydig fisoedd cydunodd yr eglwys i roddi galwad iddo. Urddwyd ef Awst 30ain, 1821. Gan nad oedd y capel etto wedi ei adeiladu, yn addoldy y Saeson yn Bridge Street y cynaliwyd cyfarfodydd yr urddiad. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan Dr. Ryland, gweinidog y Bedyddwyr; Mr. W. Thorpe, Caerodor; Mr. D. Davies, Penywaun; Mr. G Hughes, Groeswen, ac eraill. Bu Mr. Herbert yn llafurus iawn yma. Yn fuan wedi ei sefydliad yn y lle aeth i edrych allan am le i adeiladu capel. Cafwyd darn hirgul o dir yn Lower Castle Street, neu Castle Ditch, fel y gelwir yr heol yn gyffredin, ac adeiladwyd yno gapel cyfleus, ond nid prydferth yr olwg arno, o herwydd ei fod yn rhy hir i gyfateb i'w led. Cynwysa eisteddleoedd i tua dau cant a haner o bobl. Agorwyd ef Ionawr 8fed a'r 12fed, 1823. Ar y dydd cyntaf yr oedd y gwasanaeth i gyd yn Saesonig, a gweinidogion y Saeson fuont yn gweinyddu. Y Sabboth canlynol, sef y 12fed, pregethwyd yn Gymraeg gan Mr. Jonah Francis, Casnewydd; Mr. Hugh Owen, Aberafon; Mr. S.

Evans, Zoar, Merthyr, a Mr. R. Morris, Tredegar. O herwydd rhyw anghydfod yn yr eglwys rhoddodd Mr. Herbert ofal y lle i fyny yn Mehefin, 1825, a symudodd i'r Drefnewydd, Morganwg. Yn mis Medi, yr un flwyddyn, daeth Mr. Evan James, o athrofa y Drefnewydd, yma ar brawf, ac yn fuan cafodd alwad unfrydol, ond o herwydd gwaeledd iechyd amheuai y priodoldeb o roddi ateb cadarnhaol i'r alwad am rai misoedd. O'r diwedd gwnaeth ei feddwl i fyny i'w hateb, ac urddwyd ef yma Mai 30ain, 1826, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri Samuel Lowell, Caerodor; J. Liefchild, o'r un lle; James Phillips, Bethlehem, ac eraill. Bu Mr. James yn ddefnyddiol a pharchus iawn yma hyd fis Mawrth, 1830, pryd y symudodd i Bridgewater. Ei dymor ef oedd yr unig adeg wir lwyddianus fu ar yr achos hwn o'i ddechreuad hyd yn bresenol. Rhyw amser cyn diwedd y flwyddyn 1830 urddwyd Mr. William Gethin o athrofa y Drefnewydd, a bu yma hyd ddiwedd y flwyddyn 1836, pryd y symudodd i Gaerlleon-ar-Wysg. Ni bu yma fawr o lewyrch yn ei dymor ef. Dilynwyd ef yma am ychydig amser gan Mr. John Lewis, Taihirion; yr hwn a drodd allan yn ddyn anfoesol, ac a fu yn foddion i ddrygu yr achos yn ddirfawr. Wedi hyny bu un Joseph Jones yn weinidog yma am dymor. Trodd yntau allan yn gymeriad anheilwng iawn. Ar ei ol ef bu Mr. David Davies, Taihirion, yn gweinidogaethu yma am ddwy neu dair blynedd Wedi ei ymadawiad ef i Glantaf, bu yr eglwys am flynyddau yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol. Yr oedd yma tua dau cant o bunau o ddyled yn aros ar y capel ac yn cael ei deimlo yn faich trwm gan yr ychydig aelodau. Tosturiodd y diweddar Mr. Owens o Zoar, Merthyr, wrthynt a chasglodd yr arian angenrheidiol i dalu yr hen ddyled a digon hefyd i wneyd yr adgyweiriadau angenrheidiol ar yr adeilad. Yn 1857, ar gymeradwyaeth Mr. Owens, rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. Joseph Jones, Sardis, Llanwddyn, Maldwyn. Bu Mr. Jones yma am fwy na deng mlynedd, ond er ei fod yn ddyn da ac yn bregethwr sylweddol, o herwydd rhyw amgylchiadau anffafriol, ni bu fawr llwyddiant ar ei lafur yn y lle. Yn 1870 rhoddwyd galwad i Mr. Lewis Beynon o athrofa Aberhonddu, a bu ef yma hyd 1873, pryd y symudodd i Aberteifi, lle y mae yn bresenol. Nid oes neb wedi ei ddewis hyd yn hyn yn ganlyniedydd iddo. Yn rhyw fodd, tra dilewyrch y mae yr achos Cymreig yn y ddinas hon wedi bod o'r dechreuad hyd yn awr, oddieithr yn y tymor byr y bu Mr. Evan James yma, ac etto y mae niferi o ddynion ffyddlon ac ymdrechgar wedi bod yn perthyn iddo o bryd i bryd. Er's blynyddau bellach y mae Mr. D. J. Thomas, ŵyr y diweddar Mr. Jones, Gwynfe, sir Gaerfyrddin, wedi bod yn ymdrechgar iawn i gadw drws agored yma. Y mae yn pregethu yn achlysurol. Mae Mr. John Jones o'r *Bristol Cemetery*, a Mr. James James (Iago Emlyn), wedi bod yn gymorth i'r achos trwy bregethu yma yn awr a phryd arall pan y byddai galwad am bregethwr. Mae miloedd o Gymry yn preswylio yn y ddinas a'i hamgylchoedd, ac y mae yn resyn na ellid cyfodi yma achos Cymreig cryf. Yr ydym yn hyderu fod gwell amser i wawrio ar yr achos hwn yn y dyfodol.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

EVAN JAMES. Ganwyd ef yn Llwyncelyn, yn agos i Henllan, sir Gaerfyrddin, Medi 25ain, 1802. Yr oedd ei rieni yn aelodau defnyddiol o'r

eglwys yn Henllan, a chafodd ei fam yr hyfrydwch o weled tri o'i meibion yn weinidogion parchus a defnyddiol. Bu farw ei dad pryd nad oedd Evan James ond pymtheg mlwydd oed. Tuag amser marwolaeth ei dad derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Henllan. Yn dra buan wedi hyny dechreuodd bregethu. Yn Awst, 1821, derbyniwyd ef yn fyfyriwr i athrofa y Drefnewydd. Yn 1825 ymsefydlodd yn Nghaerodor, ac fel y nodwyd, urddwyd ef yno yn Mai, 1826. Symudodd oddiyno i Bridgewater; o Bridgewater symudodd i Bideford, oddiyno i Yeovil, ac yn Mehefin, 1854, ymsefydlodd yn Horsham, Sussex, lle y treuliodd weddill ei oes yn barchus a llwyddianus iawn. Bu farw yn yr Arglwydd Gorphenaf 27ain, 1869. Un plentyn fu iddo yr hon a fu farw yn 1863, yn mhen dwy flynedd ar ol iddi fyned i'r sefyllfa briodasol.

Yr oedd Mr. James yn ddyn boneddigaidd a gwir dda; yn bregethwr defnyddiol a derbyniol iawn, ac yn weinidog nodedig o lafurus a llwyddianus. Er ei fod yn ddyn o dymer addfwyn iawn yr oedd mor gadarn a'r graig yn ei ymlyniad wrth yr egwyddorion crefyddol a broffesai. Claddwyd ef yn mynwent ei gapel yn Horsham, a thraddodwyd ei bregeth angladdol gan Mr. Henry Quick o Brighton, oddiwrth Dat. xiv. 13.

## Y TABERNACL, AMWYTHIG.

Tua y flwyddyn 1840 tynwyd sylw gweinidogion Annibynol sir Drefaldwyn at yr alwad oedd am achos Annibynol Cymreig yn y dref boblog hon. Wedi cydymgynghori yn eu cyfarfodydd chwarterol am ddwy flynedd, deuwyd i'r penderfyniad i'w gychwyn. Cafwyd ystafell gyfleus yn Howard Street at gynal y moddion, a chynaliwyd y gwasanaeth cyntaf yma Gorphenaf 24ain, 1842, pryd y pregethwyd gan Mr. H. James, Llansantffraid. Ffurfiwyd yma eglwys y pryd hwnw. Nid oedd nifer yr aelodau ar y cyntaf ond pedwar, sef Mr. W. Williams, Miss Margaret Lewis, a Miss Elizabeth Jones, o eglwys yr Annibynwyr Saesonig a'r Swan Hill; a Miss Anne Baxter o eglwys y Methodistiaid Calfinaidd. Pregethwyd i'r gynnulleidfa fechan o Gorphenaf 1842, hyd haf y flwyddyn 1843, gan weinidogion Maldwyn, yn cael eu cynorthwyo yn fynych gan David Jones, Ysw., Llansantffraid, yr hwn a fu yn llenwi y pulpud yma amryw Sabbothau yn ystod yr amser hwnw. Am ranau o'r blynyddoedd 1843 a 1844 bu Mr. Evan Thomas, yr hwn wedi hyny a urddwyd yn Traliwm, yn pregethu yma agos bob Sabboth. Yn y flwyddyn 1844 rhoddwyd galwad i Mr. John Thomas, Dinasmawddwy, (yn awr o Fabian's Bay, Abertawy), i ddyfod yma yn weinidog sefydlog. Cynyddodd yr eglwys a'r gynnulleidfa yn fuan dan weinidogaeth gyffrous Mr. Thomas fel yr aeth yr ystafell yn Howard Street yn rhy fechan i gynwys y gwrandawyr. Felly bu raid edrych allan am le eangach. Yn 1845 adeiladwyd capel bychan a thlws ar Pride Hill, yr hwn a gostiodd 800p., ac a agorwyd dydd Nadolig, 1845. Gan fod y gynnulleidfa yn rhy wan i dalu y ddyled bu raid i'r gweinidog llafurus fyned allan i gasglu trwy wahanol ranau o Gymru, Lloegr, a Scotland, ac mewn ychydig amser casglodd y cwbl oedd yn angenrheidiol. Wedi i Mr. Thomas fod yn llafurio yma gyda gradd anghyffredin o lwyddiant am ddeuddeng mlynedd ymadawodd yn 1856, a chymerodd ofal yr eglwys Saesonig yn Ellesmere. Gadawodd yr eglwys yn yr Amwythig yn fwy na chant a haner o rif, a'r capel yn rhydd o

ddyled. Wedi ymadawiad Mr. Thomas bu yr eglwys am tua thair blynedd yn ymddibynu ar weinidogaeth achlysurol. Yn 1859 rhoddwyd galwad i Mr. John Davies, Henryd, sir Gaernarfon, a bu yntau yn weinidog yma nes iddo symud i Rhuthin yn 1864. Yn nhymor gweinidogaeth Mr. Davies yr adeiladwyd yr addoldy prydferth presenol, yr hwn a agorwyd Mehefin 8fed, 1862, ar y lle a elwir Dogpole. Y mae hwn yn addoldy nodedig o hardd a chyfleus. Ei gynllunydd oedd Mr. Thomas, Glandwr, Abertawy. Costiodd 1821p. 5s. 7c. Mae yn deilwng o sylw i'r eglwys hon o ddechreuad gweinidogaeth Mr. Thomas hyd 1862, gasglu at bob achos, heb gyfrif y casgliadau cenhadol, 4093p. 3s. 6½c. Yr oedd hyn yn swm anrhydeddus i gynnulleidfa fechan o Gymry mewn tref Saesonig i'w wneyd. Bu Mr. W. Williams, Mardol, a'i deulu yn selog, haelionus, a llafurus iawn gyda'r achos hwn o'i gychwyniad yn 1842 hyd y flwyddyn 1863, pryd, o herwydd rhyw gamddealldwriaeth, yr ymadawodd ef a rhai eraill o'r aelodau at y Saeson.

Yn y flwyddyn 1866 rhoddwyd galwad i Mr. John Davies, Sirhowy, y gweinidog presenol, yr hwn sydd yn llanw ei le yn dda yma, ac yn cael edrych arno fel gwas ffyddlon i'r Arglwydd gan yr eglwys, y gwrandawyr, a phawb o'i gydnabod. Nid ydym yn gwybod am neb a ddechreuodd bregethu yn yr aglwys hon.

## HANLEY, SWYDD STAFFORD.

Dechreuwyd yr achos Cymreig yn Hanley yn y flwyddyn 1850. Yr oedd lluaws o Gymry wedi bod yn cyfaneddu yno ac yn y trefydd cymydogaethol am chwe' milldir o gwmpas er's blynyddoedd cyn hyny. Rywbryd yn 1849 dechreuwyd pregethu Cymraeg yn Tunstall, tref o fewn tair milldir i Hanley, gan filwr Cymreig o'r enw Mr. David Thomas, yr hwn oedd ar y pryd mewn cysylltiad a chatrawd o filwyr yn Burslem, tref arall oddeutu haner y ffordd rhwng Hanley a Thunstall. Dygwyd y newydd am ddechreuad y pregethu Cymraeg i Mr. P. M. Williams (Pedr Mostyn), yr hwn oedd erbyn hyn wedi ymsefydlu yn Hanley. Aeth i wrando y milwr, ac ymunodd yn galonog yn y gwaith. Sefydlwyd eglwys yn Tunstall cynwysedig o wahanol enwadau, a chymhellwyd Mr. Williams i ddechreu pregethu. Ar ol bod yn cynorthwyo yr achos hwnw am dymor aeth i chwilio am y Cymry yn Hanley. Llwyddodd i gasglu yn nghyd gynnulleidfa mewn ty anedd lle y pregethai bob prydnawn Sabboth. Aeth y ty yn rhy fychan, a chafwyd benthyg rhan o ysgoldy y Wesleyaid yn Par Green wedi amser ysgol yn y prydnawn, ac weithiau ar nos Sabbothau. Cynyddodd y gynnulleidfa yn gyflym, a chafwyd ychwanegiad nerth trwy ddyfodiad llawer o Gymry crefyddol o sir Flint, ac yn enwedig o ardal Mostyn. Yn eu plith yr oedd dau bregethwr, sef Mr. Robert Roberts (A.), a Mr. Robert Jones (W.), y ddau o Mostyn. Teimlid yn ddigon cefnog bellach i gymeryd ystafell eang mewn man canolog yn y dref, a chafwyd cyfarfod agoriadol yn haf 1850, pan y gweinyddwyd ar yr achlysur gan y diweddar Mr. Hugh Pugh, Mostyn. Dyna yr adeg y sefydlwyd yr achos yn rheolaidd. Pregethai y tri wyr a enwyd bob Sabboth yn eu cylch yn Hanley, Burslem, Tunstall, Goldenhill, a Thower Hill, a hyny heb dâl na chydnabyddiaeth yn y byd. Nid oeddynt yn gweinyddu yr ordinhadau, a theimlid anhwylusdod mawr o'r her-

wydd. Bu llawer o ymddiddan a chynllunio pa beth a wneid i gyflenwi y diffyg. Penderfynwyd o'r diwedd anfon am Dr. Rees, Liverpool, a sefyll wrth ei farn ef. Cyfarwyddyd y Dr. oedd, ar i bob un o'r pregethwyr weinyddu yn yr ordinhadau yn ei dro. Swniai hyn yn ddieithr i glustiai rhai, ac yn enwedig i'r pregethwyr eu hunain. Pa fodd bynag, wedi ystyriaeth ddyladwy, barnai yr eglwys mai dyna fuasai y cynllun goreu i'w fabwysiadu. Ond pan ddaethpwyd at y pregethwyr, gwelid fod gan bob un ei farn neillduol ei hun ar y mater. Yr oedd Mr. Robert Jones, er ei fod yn Wesleyad, yn cydweled yn hollol, ac yn barod i ymgymeryd a'r gwaith yn un o dri. Amlygai Mr. P. M. Williams gydsyniad hollol a'r athrawiaeth, ond dadleuai fod ei swydd ef fel goruchwyliwr i Arglwydd Granville yn ei rwymo i ymwrthod a'r anrhydedd o fod yn weinidog yr efengyl. Gwrthodai Mr. Robert Roberts ag ymostwng i'r drefn ar un cyfrif, a chynygiai ar fod i ryw un person gael ei ddewis fel gweinidog. Wedi peth ymddadleu dewiswyd ef yn weinidog yr eglwys heb dâl, yn unig er mwyn gweinyddu yr ordinhadau yn rheolaidd. Achosodd hyn lawer o eiddigedd sectol ac oerfelgarwch personol. Er hyny parhaodd y gwahanol enwadau i gyd-addoli hyd nes y soniwyd am adeiladu capel. Yr oedd y blaid gryfaf o ddigon yn Annibynwyr, mewn rhif, mewn gallu i gyfranu, ac mewn medr i weithio, a phenderfynwyd cofrestru y capel fel un Annibynol. Y canlyniad fu i'r Wesleyaid dan lywyddiaeth Mr. Robert Jones ymgilio oddiwrth y fam-eglwys a chodi achos eu hunain. Agorwyd y capel yn Etruria Road, Hanley, Hydref 15fed a'r 16fed, 1854, pryd y pregethodd y Meistri Henry Rees a William Rees, Liverpool, a Samuel Roberts, y pryd hwnw o Lanbrynmair. Costiodd 33—p. Er holl anfanteision y blynyddoedd blaenorol, yr oedd llawer wedi ei wneyd mewn darparu dynion ieuaingc at y gwaith, a thrwy gyfranu haelionus a rheolaidd. Y mae yn ffaith nodedig fod tri o bregethwyr, nid anenwog, wedi eu magu yn nghymdeithas y gwyr ieuaingc a sefydlwyd yr adeg hono dan lywyddiad Pedr Mostyn. Y cyntaf oedd Mr. Moses Roberts, yr hwn a fu am amryw flynyddau yn bregethwr poblogaidd gyda'r Bedyddwyr, ac a fu yn gweinidogaethu yn y Felinfoel ac yn Nhreflynon. Yr ail oedd Mr. Moses Ellis, nai Mr. Ellis, Mynyddislwyn. Bu et o gymorth mawr i'r achos yn Hanley wedi hyn, ond efe a laddwyd ychydig flynyddau yn ol trwy ddamwain mewn gwaith glo yn agos i Burslem. Y trydydd oedd Mr. Robert Jones (nid y Wesleyad), yr hwn sydd yn awr yn byw yn Hanley, ac wedi bod er's blynyddau yn brif gynorthwy yr achos Annibynol Cymreig yno. Nid hir wedi agoriad y capel y bu Mr. Robert Roberts heb fyned at y Bedyddwyr; ac yntau hefyd a gododd achos i'r Bedyddwyr Cymreig yn y dref. Yn 1857 ymadawodd Mr. P. M. Williams a Hanley, ac yna daeth Mr. J. Hughes o'r Voel, i weinidogaethu yno am dymor byr. Tua'r adeg yma ymadawodd y Methodistiaid Calfinaidd a'r lle a chodasant achos eu hunain yn y dref. O hyny hyd yn awr cynaliwyd yr achos Annibynol yn anrhydeddus trwy ffyddlondeb a gofal nifer o frodyr ffyddlon. Oddeutu tair blynedd yn ol bu raid gwerthu y capel yn Etruria Road. Ar y 27ain o Orphenaf, 1874, gosodwyd careg sylfaen capel newydd hardd ac ysgoldy cyfleus yn nglyn ag ef, gan W. Woodall, Ysw., Y.H., Burslem, a George Melly, Ysw., A.S., Liverpool. Costia yn agos i ddeunaw cant o bunau, ac y mae erbyn hyn fil o bunau mewn llaw. Disgwylir y bydd yr adeilad wedi ei gorphen yn gynar yn 1875, ac y mae y cyfeillion yn hyderus na bydd y ddyled a erys

yr adeg hono yn faich rhy anhawdd i'w ddwyn. Bu ymadawiad Meistri P. M. Williams, a T. Humphreys, Lily House, gerllaw Treffynon, yn golled ddirfawr i'r achos yma, gan eu bod gydag ef o'r dechreuad; ac yn marwolaeth Mr. Moses Ellis, yr hwn oedd bregethwr parchus, cafodd yr eglwys ergyd drom. Bu farw John Williams hefyd, yr hwn oedd ddiacon gweithgar. Mae yma dri o bregethwyr cynorthwyol yn yr eglwys, sef y Meistri Robert Jones, yr hwn sydd wedi gwir ofalu am yr achos er's blynyddau, a John Roberts, a Robert Anwyl, y rhai a bregethant oll yn eu tro i'r eglwys; a cheir gwasanaeth rhyw weinidog o Gymru bob mis. Rhif yr aelodau yn awr ydyw 85, ac y mae yma gynnulleidfa gref.

## MIDDLESBOROUGH.

Pregethwyd y bregeth Gymraeg gyntaf yn y dref hon gan Mr. David Roberts, Caernarfon, yn 1849. Cychwyniad yr achos crefyddol Cymraeg ydoedd dosbarth a ffurfiwyd ac a gynhelid gan Mr. T. B. Clark, i ddysgu darllen ac esbonio yr ysgrythyrau. Brodor o Mynachlog, ac un o blant Soar, Castellnedd ydyw. Mae wedi bod ar lanau yr afon Tees am lawer o flynyddau, ac wedi parhau gyda'r achos goreu yn y cylchoedd, ac yn bresenol yn un o ddiaconiaid gwasanaethgar yr eglwys hon. Bu yr achos yn gymysgedig am flynyddoedd, ac yn cael ei gynal mewn gwahanol ystafelloedd yn y dref. yr hon sydd yn dra gwahanol yn awr i'r hyn ag oedd y pryd hwnw. Ffurfiwyd yr eglwys yma yn Mehefin, 1859, gan Mr. E. C. Jenkins, Rymni. Rhif yr aelodau 23. Etholwyd Mr. Daniel Richards yn ddiacon, a Mr. John Morgan yn ysgrifenydd. Yr oedd Mr. Rees Davies yn bregethwr cynorthwyol ac o lawer o ddefnydd ar y pryd. Daeth eraill i'r lle yn fuan, ac yn eu p ith Mr. John Clarke. O herwydd ansefydlogrwydd a chyfnewidiadau y lle bu yr eglwys yn fechan a gwan am gryn amser; ond er hyny, sicrhawyd darn ardderchog o dir er adeiladu capel arno yn 1861. Mae amser ac amgylchiadau wedi profi mai symudiad hapus, prydlon, a manteisiol ydoedd gwneuthur hyny ar yr adeg hono. Cynorthwywyd yn newisiad a phryniad y tir gan Dr. Rees, Abertawy, a Mr. E. Evans, Nantyglo. Er yn werth yn agos i 400p. cafwyd ef gan y perchenogion—"*The Middlesborough Owners*," am rhyw 200p. Prisir ef yn werth o leiaf 1000p. yn bresenol. Gan ei fod yn un o brif heolydd y dref, yn ffinio a rhai o'i phrif adeiladau, ac yn agos at orsaf y rheilffordd, bydd yn codi etto yn ei werth. Wedi addoli am beth amser mewn lleoedd ardrethol, codwyd *temporary room* i'r perwyl hyny ar gŵr o'r tir, pa un sydd yn bresenol o'r tu cefn i'r capel, ac wedi ei droi yn anedd-dai. Codwyd ef gan un Mr. Sharpe, yr hwn a fu yn hynod garedig i'r eglwys fechan. Buwyd yn addoli yn yr ystafell hono o ddiwedd 1861 hyd ddechreu 1874. Yn fuan wedi myned i'r ystafell newydd rhoddwyd galwad i Mr. T. C. Jones o athrofa y Bala, i ddyfod i'w "bugeilio yn yr Arglwydd." Cydsyniodd a'r gwahoddiad, ac urddwyd ef Awst 31ain, a Medi 1af, 1861. Pregethwyd gan y Meistri M. D. Jones, Bala; Dr. Rees, Abertawy; R. Gwesyn Jones, Merthyr; R. Jones, Llanidloes, a J. H Hughes, Newent. Wedi llafurio dros bum' mlynedd yn y lle, ymadawodd Mr. Jones, gan ddychwelyd i Gymru. Buwyd o'r adeg hono hyd Medi, 1868, heb weinidog sefydlog, ond pregethid ar gylch gan weinidogion a phregethwyr y cylch yma. Yn Mehefin, 1868, cydunodd yr eglwys hon ag eglwys

Stockton i roddi galwad i Mr. D. G. Morgan, myfyriwr yn Aberhonddu, ac urddwyd ef Medi 20fed a'r 21ain o'r un flwyddyn. Rhif yr eglwys yr adeg hon ydoedd 60, a'i rhif presenol ydyw 90. Mae y gynnulleidfa wedi cynyddu mewn cyfartaledd uwch. Er fod y Cymry wedi bod yn ansefydlog iawn yn y lle, gwelir fod yr eglwys a'r gynnulleidfa wedi ac yn lluosogi, ac yn ol yr arwyddion a'r rhagolygon presenol maent yn debyg o gynyddu yn gyflymach. Er meddu y tir am gymaint o amser—er cymaint yr angen a'r awydd am gael capel—ac er cymaint y cynllunio a'r siarad a fu yn ei gylch, ni chychwynwyd yn weithredol ar y gwaith hyd 1873. Gan fod y safle mor dda, yr adeiladau cylchynol mor hardd, a bod yn rhaid cael capel cyfatebol i hyny, ofnid yr anturiaeth yn barhaus. Ond penderfynwyd ffurfio pwyllgor, gwneyd y trefniadau angenrheidiol, a chychwyn ar y gwaith o adeiladu. Rhoddwyd y *contract* i Mr. Francis Buck, Middlesborough. Oddiar adnabyddiaeth bersonol a chyfeillgar Mr. Morgan, y gweinidog, â Joseph Dodds, Ysw., A.S. dros Stockton-on-Tees, llwyddodd i'w gael i osod y Gareg Goffadwriaethol. Gwnaeth hyny Gorphenaf 21ain, 1873. Wedi cyflawni y seremoni, a rhoddi araeth gampus a phwrpasol i'r amgylchiad, rhoddodd 50p. ar y gareg; ac wedi i foneddigion eraill gyflwyno eu rhoddion, a gwneyd casgliad trwy y dorf, yr oedd y cyfanswm yn 132p. 17s. 8c. Ebrill 18fed, 19eg, a'r 20fed, 1874, agorwyd y capel newydd gan y Meistri T. Thomas, Glandwr; E. Hughes, Penmain; W. J. Davies, Casnewydd-ar-Wysg; T. C. Jones, Llandderfel; O. Evans, Berry Edge; J. Parnaby, Middlesborough; E. Pryse, J. Davies, ac eraill. Cydnabyddir yn gyffredinol fod y capel yn un o'r rhai harddaf a mwyaf cyfleus yn y dref a'r cylchoedd. Rhwng y llawr a'r orielau cynnwysa eisteddleoedd ar gyfer 500, ac ysgoldy ar gyfer 250 o blant o dano. Ymddiriedwyd cynlluniad ac arolygiaeth y gwaith i Mr. T. Thomas, Glandwr; a dygwyd y cwbl oddiamgylch gan roddi pob boddlonrwydd i bawb. Aeth y draul yn 2454p., ond yr oedd yn agos i 1200p. wedi ei sicrhau erbyn yr agoriad. Er bod dyled fawr yn aros, mae yr eglwys yn teimlo yn galonog i'w gyfarfod; a chyda gwenau rhagluniaeth, a bendithion gras, gwelir y cwbl wedi ei dalu, a'r capel wedi ei lenwi a dynion yn ofni yr Arglwydd, ac yn cilio oddiwrth ddrwg.*

## STOCKTON-ON-TEES.

Derbyniasom yr hanes a ganlyn am yr eglwys hon, ac yr ydym yn ei gyhoeddi agos fel y cawsom ef.

"Yn nechreu y flwyddyn 1862 nid oedd ond Mrs. Jones, merch-ynnghyfraith y diweddar Mr. W. Jones, Penybontarogwy, awdwr y 'Geiriadur Duwinyddol,' yn perthyn i'r Annibynwyr Cymreig yn y dref, ac y mae y chwaer dda hono yn un o'r ffyddloniaid hyd yr awr hon. Yn ystod y flwyddyn daeth saith yn ychwanegol o'r hen wlad i'r lle, a chorphorwyd hwy yn fuan yn eglwys gan Mr. T. C. Jones, Middlesborough, y pryd hwnw, ond yn awr o Llandderfel. Bu yr achos am rai blynyddau yn gymysgedig, ac yn cael ei gynal mewn anedd-dai. Yn 1865 ffurfiwyd yr eglwys Annibynol bresenol. Neillduwyd y Mri. Daniel Stephens a James Phillips yn ddiaconiaid, pa rai sydd wedi bod, ac yn parhau yn ffyddlon

* Ysgrif Mr. D. G. Morgan.

yn eu swydd, ac ymdrechgar neillduol gyda'r achos. Penodwyd Mr. David Evans, yr hwn sydd wedi marw er's rhai blynyddau, yn ysgrifenydd, a Mr. Tudor Morgan, yr hwn sydd wedi dychwelyd er's blynyddau i Gymru, yn drysorydd. Yn fuan etholwyd y Meistri Benjamin Edwards a William Watkins yn ddiaconiaid ychwanegol. Aeth Mr. Watkins cyn hir i America, ond mae Mr. Edwards yn aros, ac wedi bod yn brif gynhalydd yr achos drwy y blynyddau. Dylid nodi fod cyfeillion caredig o Middlesborough yn dyfod yn aml a chyson i gynorthwyo yr eglwys fechan yn ei mabandod. Yr oedd hyn yn ganmoladwy iawn o'u tu, ac y mae ganddynt yr hyfrydwch o weled bod eu hymdrechion cynorthwyol wedi bod er daioni mawr. Yn Medi, 1866, penderfynwyd cael capel cyfleus i ateb angenrheidiau a rhagolygon y lle. Ffurfiwyd Pwyllgor i osod y penderfyniad mewn gweithrediad. Buwyd agos a phrynu hen gapel y *Primitive Methodists*, ond yn rhagluniaethol ni wnawd hyny, oblegid nid oedd y fan o ran safle na phoblogaeth yn ateb y pwrpas mewn golwg. Digwyddodd fod y diweddar Mr. E. C. Jenkins, Rhymni, ar ymweliad a'r wlad ar yr adeg, ac yn garedig aeth gyda rhai o'r cyfeillion at Charles Hill, Ysw., gan osod y mater ger ei fron. Penderfynwyd ar dir, ac addawodd Mr. Hill ar ran Cwmpeini y *Rail Mill* a'r *Malleable Iron Works*, eu cynorthwyo. Gwnaethant hyny trwy roddi llawer o briddfeini, calch, a pheth arian; a theilyngant gydnabyddiaeth galonog am eu caredigrwydd a'u haelioni. Yr oedd treuliau y capel a'r cwbl cysylltiedig ag ef yn 700p. yn y cychwyn. Gorfu i'r eglwys gynal ei moddion crefyddol am yn agos i flwyddyn mewn hen gapel yn y dref, ond daethant i'r capel newydd, er heb ei orphen, Mai 19eg, 1867. Ar y 6ed a'r 7fed o Hydref yn yr un flwyddyn, bu Mr. D. Jones, B.A., Merthyr Tydfil, a Mr. Edwards, (B.), Hartlepool, yn nghyd a gweinidogion a phregethwyr y cylchoedd, yn ei agor. Bu yn agos i'r bobl anghofio eu hunain yn yr hwyliau a gawsant yn nghyfarfodydd yr agoriad. Nes i'r eglwys gael gweinidog pregethwyd ar gylch gan y pregethwyr a'r gweinidogion cylchynol. Yn nechreu Mehefin, 1868, cydunwyd a'r eglwys yn Middlesborough, yr hon oedd yn wag wedi ymadawiad Mr. T. C. Jones, i anfon at athrawon athrofa Aberhonddu i ddanfon un o'r myfyrwyr i fyny, a farnent yn ateb y lle yn ol y desgrifiad a gawsant o hono yn y cais. Disgynodd y goelbren ar Mr. D. G. Morgan, yr hwn a ddaeth i dreulio mis Gorphenaf yn eu plith. Cafodd alwad unol a thaer i ddyfod i'w bugeilio yn yr Arglwydd. Dymunai yr eglwysi arno aros heb fyned yn ol, a chymeryd y gwaith rhag blaen. Nid oedd yn teimlo i wneyd hyny heb ddychwelyd i ymgynghori a'i athrawon, ei weinidog gartref, ac eraill. Wedi gwneyd hyny atebodd yr alwad yn gadarnhaol, ac urddwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth Medi 20fed a'r 21ain, 1868. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Meistri W. Roberts, Aberhonddu; H. Rees, gynt Ystradgynlais; E. Pryse, Branch End; Isaac James, Walker; J. Davies, Witton Park; P. Mostyn Williams, Manchester, a W. Rheidiol Pierce, (T.C.), yr hwn oedd gyfaill neillduol i'r urddedig; un yn fyfyriwr yn Aberhonddu a'r llall yn Nhrefecca. Daethant hefyd i fyny i'r wlad yma ar yr un adeg, a chydweithiasant yn egniol am rhyw flwyddyn. Ond Och! er nad oedd ond newydd ei urddo, ac heb fod ond ychydig fisoedd yn briod, ac yn nghanol ei gynlluniau, ei ragolygon, a'i lwyddiant, cymerwyd ef yn glaf

a bu farw, gan adael ei briod, ei berthynasau, ei gyfeillion, a'i eglwys i alaru ar ei ol. Rhif yr eglwys ar sefydliad Mr. Morgan yma oedd 45, a'r gynnulleidfa—yn eglwys a gwrandawyr—yn 140. Yn bresenol, sef ar ddiwedd 1874, yr eglwys 120, a'r gynnulleidfa 320. Gan nad oedd y capel newydd wedi ei baentio, na chael eadwraeth o'i amgylch, cafwyd hyny yn union wedi sefydliad y gweinidog, a thalwyd y draul, sef 60p., ar y pryd. Yr oedd y ddyled arosol yn awr tua 400p., ond trwy gydymdrechiad ffyddlon yn yr eglwys, cyngherddau, areithiau, a chasgliadau yn y dref, cliriwyd y cwbl erbyn dechreu 1873. Gydag ymdrechion cyffredinol, casglwyd symiau ychwanegol ardderchog gan y gweinidog a Mr. B. Edwards. Mehefin 15fed a'r 16eg, 1873, cafwyd Jubili, a mawr oedd y llawenydd cyffredinol ar yr amgylchiad. Areithiwyd a phregethwyd ar yr achlysur gan y Meistri R. Williams (Hwfa Mon), a W. J. Morris, Pontypridd. Cafwyd gwleddoedd nad anghofir yn y Jubili. Y gorchwyl nesaf ydoedd glanhau, ail baentio, adnewyddu rhanau, a chynesu y capel. Cafwyd y cwbl wedi ei wneuthur yn ganmoladwy iawn. A chafwyd "Grundy's Patent Heating Apparatus" wedi ei roddi i fewn, fel y costiodd y cwbl dros 80p.

Yn Mai, 1874, ffurfiwyd cangen-eglwys ac ysgol Sabbothol yn South Stockton. Yr oedd nifer y Cymry a'u plant, yn nghyd a phellder y ffordd i'r fam eglwys, yn galw am hyny; ac y mae wedi troi allan yn llwyddiant mawr. Cynhelir y cyfarfodydd gweddio wythnosol o dy i dy, a'r ysgol Sabbothol a chyfarfodydd y Sul yn y Temperance Hall, am ba un y telir rhent chwarterol.

Codwyd dau i bregethu yn yr eglwys hon.

S Morgan, yr hwn sydd wedi bod yn bregethwr cynorthwyol derbyniol am flynyddau yn y lle.

Morgan Morgan, brawd y gweinidog, yr hwn sydd yn bresenol yn yr ysgol yn darparu ar gyfer y weinidogaeth.

Er fod yr eglwys yn fechan a gwan, ac i'r *strike* fwyaf a gymerodd le erioed yn y wlad ddigwydd bron ar ddechreu y trefniadau i gael capel newydd, penderfynodd y ffyddloniaid i wasgu y gwaith da yn mlaen, ac anog a chalonogi eraill i'w dilyn. Bu Mr. G. Allen, gweinidog yr Annibynwyr Seisnig yn y dref, ac amryw o'i bobl, yn garedig ac o gynorthwy arbenig yn yr amgylchiadau. Coronwyd eu hymdrechiadau a llwyddiant mawr. Mae undeb, brawdgarwch, a chydweithrediad yn ffynu o'r dechreuad, ac yn parhau felly, a Duw yn raslawn yn cofio am ei eiddo, gan eu bendithio a'u llwyddo.

## WITTON PARK.

Saif y lle hwn oddeutu deuddeg milldir i'r dehau o hen ddinas enwog Durham. Cymro oedd un o gychwynwyr cyntaf y gwaith haiarn eang sydd yma, a Chymro ydoedd yr arolygwr cyntaf fu ar y ffwrneisiau blast. Daeth i fyny ac ychydig o Gymry i weithio dano; ond y mae yn debyg nad oedd ond un o honynt yn grefyddol. Yn mhen ychydig wedi hyny daeth ychwaneg i fyny, ac wedi i chwech o rai crefyddol ddod i'r ardal penderfynwyd cychwyn cyfarfod gweddi Cymraeg. Yr oedd hyny yn y flwyddyn 1853, a chafwyd benthyg ysgoldy y Wesleyaid Seisonig i'r dyben hyny. Pregethwyd y bregeth Gymraeg gyntaf yma gan y diweld-

ar Mr. Hughes, Dowlais. Y pregethwr sefydlog cyntaf a fu gyda y Cymry yma oedd un o'r enw Spencer Williams (W.), ac ar ei ol ef John Clarke (W.), a B. James (B.) Yn yr adeg hono cymerodd yr ymraniad cyntaf le yn mhlith y Cymry. Wedi i'r Bedyddwyr a'r Methodistiaid Calfinaidd sefydlu achosion eu hunain, bu yr ychydig Annibynwyr oedd yma yn cydaddoli a'r Wesleyaid, ond tua diwedd y flwyddyn 1862 daeth yma ddau Gymro o Walker i weithio, cafwyd allan mai Annibynwyr oeddynt, a phenderfynwyd sefydlu yma achos Annibynol. Cyfarfuasant a'u gilydd yn nhŷ Edward Ashton, ar ddydd Nadolig y flwyddyn hono, sef J. Bowen, E. Ashton, R. Williams, E. Jenkins, D. Davies, a dau arall na chawsom eu henwau. Penderfynwyd i gychwyn achos ar unwaith, ar y Sabboth cyntaf yn y flwyddyn newydd, sef 1863, a phenodwyd J. Bowen i wneyd hyny yn hysbys i'r eglwys lle yr oeddynt yn aelodau, cydsyniwyd a'u cais a chawsant eu gollwng yn rheolaidd. Cychwynwyd y Sabboth cyntaf trwy gynal cyfarfodydd gweddi yn nhŷ John Bowen, ac o herwydd fod cyfarfod neillduol yn cael ei gynal gan y Bedyddwyr y Sabboth hwnw, aethant gyda'u gilydd yno y prydnawn a'r hwyr, gan benderfynu cael cyfeillach grefyddol ar ol y moddion cyhoeddus, yn nhy E Ashton. Wedi y gyfeillach, penderfynwyd danfon am Mr. J. Davies, Walker, i ddod i bregethu atynt y Sabboth canlynol; daeth Mr. Davies, ac erbyn iddo gael allan eu bod yn hollol reolaidd, pregethodd iddynt y Sabboth mewn *Band Room*, y boreu a'r hwyr, a chynhaliwyd ysgol Sabbothol ganddynt yn y prydnawn, ac ar ddiwedd y dydd penderfynwyd fod Mr. Davies i ddyfod yno bob pythefnos o hyny allan, a'r Meistri James, Walker, a Jones, Middlesborough, yn achlysurol. Wedi hyn danfonwyd am Mr. W. Jenkins, Brynmawr, i fyny i gorpholi yr eglwys, ac yn mis Mawrth sefydlwyd eglwys Annibynol yn rheolaidd. Yr oedd Mr. Davies yn parhau i bregethu iddynt bob pythefnos, ac wedi cael prawf am rai misoedd o allu a chymhwysder Mr. Davies fel pregethwr, penderfynwyd rhoddi galwad iddo, derbyniodd yntau hi, ac yn mis Mehefin yr un flwyddyn, cafodd ei urddo i gyflawn waith y weinidogaeth, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri W. Jenkins, Brynmawr; I. James, Walker, a T. Jones, Middlesborough. Bu Mr. Davies yma yn llafurio yn galed am saith mlynedd. Pregethai ddwy waith bob Sabboth, a dilynai ei orchwylion bob dydd. Cafodd y fraint yn ystod y blynyddau yna o weled ei lafur yn llwyddo, ac aelodau newyddion yn cael eu derbyn; ond fel y mae yn bur gyffredin, ac yn neillduol ar hyd y parthau yma, yr oedd mynych symudiadau yn mhlith y Cymry yn gwneyd rhwygiadau mawrion yn yr eglwys, fel nad oedd rhyw gynydd mawr yn rhif yr aelodau wedi y cyfan. Yr oedd Mr. Davies yn barchus gan ei eglwys tra bu yn eu plith, a chafodd ei anrhegu ganddynt a llawer o lyfrau, &c. Tua mis Mai, 1870, derbyniodd alwad oddiwrth yr eglwys Gymreig yn West Hartlepool, ac atebodd hi yn gadarnhaol, a dechreuodd ar ei weinidogaeth yno yn ddioed, ac yno y mae hyd yn hyn. Yn fuan ar ol hyn gwahoddwyd Mr. D. G. Rees, Glandwr, Abertawy, i dreulio dau Sabboth gyda hwynt, a chyn iddo ddychwelyd arwyddodd yr eglwys yn unol eu taer ddymuniad am iddo ddod yn olynydd i Mr. Davies. Rhoddwyd galwad iddo, ac atebodd hi yn gadarnhaol. Dechreuodd ar ei weinidogaeth yr ail Sabboth o Hydref, a chynhaliwyd cyfarfodydd ei urddiad Tachwedd 7fed, 1870, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri T. Thomas, Glandwr; D. G. Morgans, Stockton, ac O. Evans, Berry Edge; ac yma y mae hyd yn hyn yn llafurio gyda gradd helaeth

o lwyddiant, ac wedi cael y traint o dderbyn degau o'r newydd oddiar pan y mae yma. Y mae yn mynwes ei bobl fel y prawf yr ymdrech sydd yn yr eglwys i'w gadw i fyw ar y weinidogaeth. Mae yr achos yn awr yn fwy llewyrchus nag y bu erioed, a'r capel yn llawer rhy fychan i gynwys y gynnulleidfa; ac y mae parotoadau yn cael eu gwneyd gogyfer a chael capel newydd, ac y mae mewn llaw amryw ugeiniau o bunau yn barod. Yn mhlith y rhai mwyaf ffyddlawn gellir enwi John Bowen a John Mathias, diaconiaid, a D. Davies, yr ysgrifenydd. Y mae y rhai hyn, yn nghyd a lluaws eraill, yn ddynion sydd yn teimlo dros yr achos ac yn aberthu llawer er ei fwyn. Y mae yr eglwys hyd yn hyn yn ymgynnull yn yr un lle ag y pregethwyd iddi gyntaf, ond ei fod wedi bod dan gyfnewidiadau lawer yn ystod gweinidogaeth y ddau frawd. Nid oes yma neb hyd yn hyn wedi ei gyfodi i bregethu. Diameu ond cael capel newydd y bydd yma eglwys lewyrchus yn fuan, ac y bydd yn fendith i luoedd o eneidiau yn y dyfodol, ac yn ogoniant i'w Duw.

## BERRY EDGE.

Ffurfiwyd eglwys yma Ebrill 29ain, 1860, gan Mr. D. Roberts, y pryd hwnw o Gaernarfon, ond yn awr o Wrecsam. Yr oedd yma ar ei chychwyniad aelodau o'r pedwar enwad, ond yr Annibynwyr oedd luosocaf, ac felly ffurfiwyd hi yn eglwys Annibynol. Rhoddwyd galwad i Mr. Wm. H. Thomas, a bu yma hyd ddechreu 1866, pryd y symudodd i'r Fochriw, sir Forganwg. Wedi bod yn dibynu ar weinidogaeth gynorthwyol am flynyddoedd, rhoddwyd galwad i Mr. Owen Evans, ac urddwyd ef Rhagfyr 18fed, 1870, ac y mae yn parhau i lafurio yma gyda chymeradwyaeth. Nid yw yr achos ond bychan, ac oblegid hyny y mae y gweinidog fel Paul yn gorfod gweithio a'i ddwylaw er ei gynaliaeth. Mae yma aelodau o wahanol enwadau, ond i gyd yn byw mewn heddwch.

## WEST CORNFORTH.

Er fod y lle hwn yn cynwys cryn lawer o drigolion nid oedd yr un achos crefyddol o'i fewn—Saesoneg na Chymraeg—yn y flwyddyn 1860. Yn yr adeg hwnw daeth Mr. John Davies a'i deulu, pa rai sydd wedi bod yn adnabyddus i luaws Cymry Gogledd Lloegr, i weithio a byw yma. Wrth weled sefyllfa druenus y gymydogaeth penderfynasant i geisio codi achos Cymraeg yn eu plith. Mewn trefn i gychwyn, aethant o dy i dy i chwilio am y Cymry a allent fod yn byw yn y lle. Casglent hwy am beth amser i addoli yn eu ty eu hunain; ond aeth yn rhy fychan, ac yn ngwyneb hyny cymerasant ystafell ar ardreth: ac heblaw treuliau eraill, talent ddau swllt yr wythnos eu hunain am dani am ddwy flynedd. Rhoddent hefyd letty ac ymborth y gweinidogion a phregethwyr a'u gwasanaeth yn rhad, fel y gellid cynal yr achos yn mlaen. Llwyddasant wedi hyny trwy Mr. E. Pryse, Branch End, gyda chwmpeini y gwaith i gael yr ystafell yn ddidâl, yr hyn a'u galluogodd i sicrhau pregethu mwy cyson yn eu plith. Yn 1862 sefydlwyd hwy yn eglwys gan Mr. T. C. Jones, Middlesborough. Am beth amser llanwai Mrs. Davies y swydd o ddiacones, ac adnabyddid hi yn gyffredin trwy y cylchoedd wrth y teitl "Diacones

Gogledd Lloegr." Bu y ddynes dda hon farw yn mis Medi, 1871, yr hyn oedd yn alar mawr i dorf o berthynasau a chyfeillion, ac yn golled neillduol i'r achos yn y lle. Trwy garedigrwydd Mr. Thomas, goruchwyliwr y gwaith, a'r hwn a fu farw yn ddiweddar, llwyddwyd i gael capel bychan hardd a chyfleus iawn. Ni chafodd Mrs. Davies weled y deml newydd, er cymaint ei dymuniad am hyny, ac er iddi gael ei gorphen y flwyddyn y bu hi farw. Gweinyddwyd ar yr agoriad gan y Meistri E. Pryse, Branch End; R. Jones, Spennymoor; D. G. Morgan, Stockton, ac eraill. Nid ydys wedi cael gweinidogaeth sefydlog o gychwyniad yr achos, ond pregethir ar gylch yma gan weinidogion a phregethwyr y cymydogaethau; ac y mae yr achos bychan yn myned yn mlaen yn gysurus trwy ymdrechiadau y Meistri R. Roberts, J. Davies, ac eraill sydd yn y lle.

## WEST HARTLEPOOL.

Bu yr achos Cymraeg yn Hartlepool yn gymysgedig am ychydig amser; ond ffurfiwyd yr eglwys yn un Gynnulleidfaol Tachwedd 28ain, 1869, gan Mr. D. G. Morgan, Stockton-on-Tees. Etholwyd Mr. A. Edwards yn ddiacon; Mr. David Evans—yr hwn sydd wedi marw—yn drysorydd, a Mr. W. Mathews yn ysgrifenydd. Yr oedd y frawdoliaeth yn dri-ar-ddeg mewn rhif ar gychwyniad yr achos. Daeth pedwar i mewn gan uno a'r eglwys y nos Sabboth y sefydlwyd hi; ac felly yr oeddynt yn ddau-ar-bymtheg. Ymunodd amryw eraill yn fuan, fel y teimlwyd yn y flwyddyn ddyfodol i roddi gwahoddiad cynes i Mr. J. Davies o Witton Park, i ddyfod i'w bugeilio yn yr Arglwydd. Er nad oedd yr eglwys fechan yn alluog i'w gynal heb ddilyn rhyw orchwyl beunyddiol at hyny, cydsyniodd a'u dymuniad; a daeth yn galonog, ac ymroddodd yn egniol at y gwaith ag oedd o'i flaen. Nid ydynt wedi bod yn alluog i gael capel i addoli ynddo, ond gwneir hyny mewn ystafell. Mae hyn, yn nghyd ag ansefydlogrwydd y Cymry yn y lle, wedi cadw yr achos dipyn yn wan. Sefydlwyd Mr. Davies yn y rhan olaf o'r flwyddyn 1870. Gwasanaethwyd ar yr amgylchiad gan y Meistri D. G. Morgan, Stockton; D. G. Rees, Witton Park; E. Bowen, Hartlepool, ac eraill. Y mae Mr. Davies yn parhau yn ymdrechgar yn y lle, ac yn gwneyd llawer o ddaioni; ond pe buasai rhyw drefn i gynorthwyo yr eglwys fechan i'w gynal yn hollol wrth ac yn y weinidogaeth, gallasai wneyd llawer mwy o ddaioni.

---

Nid ydym yn gwybod am ychwaneg o eglwysi Annibynol Cymreig yn Lloegr. Mae amryw achosion yma a thraw yn gymysgedig o wahanol enwadau, ac mewn rhai o honynt y mae cryn nifer o Annibynwyr; ond gan nad ydynt yn eglwysi Annibynol ni pherthyn i ni gofnodi eu hanes. Bu rhai eglwysi lled flodeuog mewn manau am dymor pan oedd y gweithfaoedd yn myned yn mlaen yn dda yn y lleoedd hyny, a llawer o'r Cymry yn cyrchu yno; ond gyda methiant neu gyfnewidiad yn y gweithfeydd

ymadawai y Cymry yn llwyr, ac felly darfyddai am yr achosion a sefydlwyd ganddynt. Felly y bu yn arbenig yn Walker, heb fod yn mhell oddiwrth Newcastle-upon-Tyne, lle y sefydlwyd yr achos Cymreig gyntaf yn Ngogledd Lloegr. Yn 1844 aeth Mr. John Thomas (Ieuan Morganwg) yno o Ddowlais, i fod yn Arolygydd gwaith haiarn yn y lle, ac aeth nifer o Gymry, a rhai o honynt yn grefyddol, i fyny gydag ef. Buont yn cynal moddion yn achlysurol am flynyddau; ac ar y 26ain o Dachwedd, 1848, corpholwyd hwy yn eglwys gan Mr. R. Thomas, Liverpool, (Bala yn awr). Bu rhai o weinidogion mwyaf poblogaidd Cymru yn gweinyddu iddi yn achlysurol; a bu yno yn olynol bedwar o weinidogion sefydlog. Mr. Benjamin Davies, yr hwn a fu yno o Chwefror, 1853, hyd wanwyn 1855. Yn Medi, 1855, urddwyd Mr. Benjamin Thomas, Pantteg, yn weinidog yno, ac wedi llafurio yn barchus yn y lle am flwyddyn dychwelodd i Gymru, ac y mae er's blynyddau lawer yn weinidog yn y Gurnos. Yn Medi, 1856, aeth Mr. Thomas Griffiths, yr hwn a fuasai yn weinidog yn Rhoslan, a chyn hyny yn Rhydlydan, yno, a bu yno am rai blynyddoedd. Ionawr 1af, 1862, urddwyd Mr. Isaac James o Clydach, sir Forganwg, i fod yn weinidog yno, a bu yno hyd nes y darfu y gwaith ac yr ymadawodd y Cymry a'r lle, ac y mae yn awr yn Middlesborough, ac yn pregethu yn rheolaidd er heb ofal eglwysig. Yn yr eglwys yn Walker y dechreuodd Mr. John Thomas (Ieuan Morganwg) bregethu, yr hwn wedi hyny a urddwyd yn Glynnedd, a bu yno hefyd amryw bregethwyr eraill yn aros am ychydig. Mae yr achosion bychain sydd yn wasgaredig ar hyd Loegr yn gorfod ymladd yn erbyn llawer o anhawsderau. Blinir hwy weithiau gan ddynion digymeriad sydd yn cymeryd mantais ar eu pellder o Gymru i wthio eu hunain arnynt; ac y mae ansefydlogrwydd y gweithfeydd yn peri symudiadau mynych, yr hyn i achosion bychain sydd yn anffawd fawr. Ond y mae y ffaith fod y Cymry, pa le bynag y gwasgerir hwy, yn ddioed yn ymofyn cyfle i gyfarfod a'u gilydd i addoli, ac yn ymroddi i gynal yr achos heb apelio at yr eglwysi, nac at drysorfa unrhyw genhadaeth, yn llefaru yn uchel am eu gogwyddiadau crefyddol; ac y mae yn ddiau fod y cyfleusderau hyn i addoli wedi cadw llawer rhag llwyr anghofio Duw, er wedi eu cymeryd o ganol manteision crefyddol Cymru uchelfreintiog.

# YR ATTODIAD.

---

Er yr holl ofal a thrafferth a gymerasom yr ydym yn gweled fod rhai gwallau wedi digwydd yn hanes rhai eglwysi; ac y mae rhai ffeithiau wedi dyfod i'r golwg nad oeddynt yn hysbys i ni pan yn ysgrifenu; heblaw y cyfnewidiadau sydd wedi cymeryd lle trwy symudiadau ac angau er y dechreuasom ar ein gwaith bellach er's yn agos i bum' mlynedd. Yr ydym wedi gwneyd ein goreu i gyflenwi pob diffyg. Apeliasom yn gyhoeddus trwy y Wasg at bawb a allasai roddi i ni ryw help i berffeithio yr hanes; ac anfonasom gylchlythyrau at y rhai a farnem ni yn gymhwysaf yn holl eglwysi Cymru i'n cynorthwyo i roddi yr hanes mwyaf cyflawn a diwall ag oedd yn bosibl o hanes eglwysi ein gwlad. Clywsom fod rhai yn achwyn ar ddiffygion eu hanes hwy a'u heglwysi, ond ni chawsom linell oddiwrthynt yn dangos y gwallau ac yn cyfarwyddo i'w diwygio. Bu raid i ni ddyweyd wrth fwy nag un o'r rhai a gwynent, na buasem yn rhoddi golwg mwy ffafriol arnynt hwy a'u heglwysi, mai nid ein gwaith ni oedd *gwneyd hanes iddynt fel y dymunent hwy*, ond *rhoddi eu hanes fel yr oedd.* Addawsom gyda'r parodrwydd mwyaf i gywiro yn yr Attodiad bob diffyg a ddangosid i ni; ond er ei ofyn eilwaith ac eilwaith nid oes ond ychydig wedi ei anfon atom, yr hyn sydd yn peri i ni gredu fod Hanes yr Eglwysi ar y cyfan yn lled ddiwall. Aethom heibio i amgylchiadau blinion a fu mewn eglwysi mor esmwyth ag y gallasem a bod yn ffyddlawn fel haneswyr; ac yn enwedig felly mewn amgylchiadau diweddar, lle y mae y personau oedd yn fwyaf amlwg ynddynt yn fyw; ac yr ydym yn bur sicr y cymeradwyir ni yn hyny gan ddedfryd unol y dynion mwyaf deallgar a chrefyddol yn ein heglwysi. Yn gystal a chywiro y diffygion, yr ydym yn dwyn hanes yr holl eglwysi, *cyn belled ag yr anfonwyd defnyddiau i ni*, i lawr hyd ddiwedd y flwyddyn 1874; ond bydd raid i ni o angenrheidrwydd wasgu y cwbl i gylch bychan; a buasai yn dda iawn genym pe buasai ein gofod yn llawer helaethach i ysgrifenu Cofnodion Bywgraphyddol y brodyr teilwng a fuont feirw er yr ysgrifenasom hanes yr eglwysi oedd dan eu gofal.

## SIR FYNWY.

LLANFACHES. Yn nechreu y flwyddyn 1870 symudodd Mr. J. P. Jones oddiyma i'r Drefnewydd, sir Drefaldwyn; ac wedi bod am ychydig gyda blwyddyn heb weinidog rhoddwyd galwad i Mr. W. J. Price, ac efe ydyw y gweinidog yma yn bresenol.

CASNEWYDD. (Heolyfelin). Mae yma gapel newydd hardd wedi ei adeiladu, yn ol fel y bwriedid fel y gwelir yn hanes yr eglwys. Yn ngwaelod tudalen 62, Cyf. I., yn lle "Jones" darllener y "Parch. H. James."

PONTYPOOL. (Ebenezer). Yn haf 1874 symudodd Mr. Hughes i Abersoch, sir Gaernarfon, ac y mae yr eglwys etto heb sefydlu ar weinidog.

BRYNBIGA. Rhoddiwyd galwad i Mr. John Mathews, o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Awst 21ain, 1872.

MYNYDDISLWYN. Yn haf 1871 rhoddwyd galwad i Mr. Lewis Williams, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef yma Tachwedd 8fed y flwyddyn hono; ac y mae yn parhau etto i lafurio yn y lle.

BRYNMAWR. (Rehoboth). Rhoddwyd galwad i Mr. David Evans, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef yma Medi 27ain, 1871. Llai na dwy flynedd y bu yma, rhoddodd yr eglwys i fyny, a derbyniodd alwad oddiwrth yr eglwys Seisnig yn Porthcawl, lle y mae yn llafurio yn barchus.

PENYWAUN. Yn y flwyddyn 1872 symudodd Mr. Morgan i gymeryd gofal yr eglwys Saesonig yn Ystrad-Cwmrhondda; ac wedi bod am ychydig heb weinidog rhoddwyd galwad i Mr. David Davies, a fuasai yn athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef Chwefror 12fed, 1874.

TREDEGAR. (Saron). Mehefin 3ydd, 1872, bu farw Mr. Hughes, gweinidog yr eglwys hon, yn 59 oed, ac ar ol llafurio yma am ddwy flynedd-arbymtheg; ac er hyny y mae yr eglwys hon yn amddifad o weinidog.

### COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

DAVID HUGHES, B.A. Ganwyd ef Mehefin 21ain, 1813, mewn amaethdy a elwir Cefnuchaf, yn mhlwyf Llanddeiniolen, yn sir Gaernarfon. Derbyniwyd ef yn aelod yn Bethel pan yn ieuangc, a dangosodd ef a'i frawd Griffith ogwyddiad cryf yn foreu am addysg a gwybodaeth. Pan yn 19eg oed dechreuodd bregethu, ac wedi derbyn addysg barotoawl derbyniwyd ef i athrofa Hackney, Llundain, lle yr oedd ei frawd o'i flaen. Heblaw tynerwch ei weinidog cafodd Dr. Arthur Jones, Bangor, yn noddwr caredig, trwy ddylanwad yr hwn yn benaf y llwyddwyd i'w gael i'r athrofa. Wedi myned trwy ei gwrs rheolaidd yno aeth i brif ysgol Glasgow, lle y graddiwyd ef yn B.A., a thra yno bu hefyd yn myfyrio duwinyddiaeth wrth draed Dr. Wardlaw.

Yn 1841 derbyniodd alwad o Lansantsior a Moelfra, sir Ddinbych, ac urddwyd ef yno Medi 14eg y flwyddyn hono; a bu yno rai blynyddoedd. Cymerodd ofal Llanelwy, a bu y lle hwnw yn unig dan ei ofal am ychydig wedi iddo roddi y ddau le cyntaf i fyny. Yn Hydref, 1846, derbyniodd alwad o Great Jackson Street, Manchester, ac wedi bod yno ychydig gyda blwyddyn symudodd oddiyno i Fangor, lle y bu am y naw mlynedd dilynol yn cadw ysgol, ac yn pregethu ar y Sabbothau lle y gelwid am ei wasan-

aeth. Ysgrifenodd lawer i'r wasg yn ystod y blynyddoedd hyny. Yn nechreu Tachwedd, 1855, cymerodd ofal yr eglwys yn Saron, Tredegar, lle y bu yn barchus a chymeradwy dros weddill ei oes. Gwaelodd ei iechyd, a bu farw Mehefin 3ydd, 1872, yn 59 oed, a chladdwyd ef yn Cemetery Tredegar, pryd y gweinyddwyd gan amryw o'i frodyr yn y weinidogaeth.

Yr oedd Mr. Hughes yn ddyn gwybodus a dysgedig, yn ddarllenwr diflino, ac yn weithiwr diorphwys. Yn ei lyfrgell yr hoffai dreulio ei amser, a'i lyfrau oedd ei brif gymdeithion. Ysgrifenodd lawer, ac y mae pob peth a ddaeth odditan ei law yn bur a dilwgr, ac o duedd i oleuo ac adeiladu y darllenydd. Heblaw lluaws mawr o erthyglau o'i eiddo a gyhoeddwyd mewn gwahanol gofnodolion, dygodd allan "Eiriadur Ysgrythyrol" yn ddwy gyfrol fechan. Efe hefyd a olygodd yr argraffiad diweddaf o "Eiriadur Saesoneg a Ghymraeg Caerfallwch." Ond ei brif waith oedd "Y Geiriadur Ysgrythyrol a Duwinyddol," a gyhoeddir yn awr. Dengys ol llafur dirfawr, ac y mae ei enw mewn cysylltiad ag ef yn sicr o ddisgyn yn barchus i oesau dyfodol. Fel pregethwr yr oedd yn dyner ac effeithiol ei arddull, a'i athrawiaeth bob amser yn bur ac efengylaidd, ac ar adegau pregethai gyda dylanwad anarferol. Gadawodd weddw a dau blentyn, ac y mae ei fab Mr. G. D. Hughes yn awr yn athrofa Caerfyrddin, yn ymbarotoi i'r weinidogaeth.

BLAENAFON. (Bethlehem). Yn nechreu y flwyddyn 1872, gan fod iechyd Mr. T. Griffith, y gweinidog, yn gwaelu, rhoddwyd galwad i Mr. John Edwards, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, i gydlafurio ag ef, ac urddwyd ef Mehefin 7fed, 1872. Llafuriodd Mr. Edwards yma yn barchus am ddwy flynedd, nes y gwnaeth ei feddwl i fyny yn 1874 i ymgyflwyno i'r achos Cenhadol yn Mexico, o dan arolygiad Bwrdd Cenhadol Cynnulleidfaol America. Gwaelodd iechyd yr hen weinidog, Mr. Griffith, hefyd, a bu farw Medi 15fed, 1874, yn 63 oed, fel y mae yr eglwys ar hyn a bryd yn amddifad o fugail.

### COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

THOMAS GRIFFITH. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1811, mewn lle a elwir Penycae, yn mhlwyf Llanwnda, yn sir Benfro. Dangosodd dueddiadau crefyddol yn foreu, a phan yn ddeuddeg oed derbyniwyd ef yn aelod yn Rhosycaerau. Aeth pan yn ieuangc i Ferthyr Tydfil i weithio wrth ei alwedigaeth fel crydd, ac ymunodd a'r eglwys yn Zoar, ac yno y dechreuodd bregethu. Wedi cael ychydig addysg yn Penywaun derbyniodd alwad o Blaenafon, lle yr urddwyd ef Mehefin 6ed, 1838, a llafuriodd yno hyd ei farwolaeth, Medi 14eg, 1874, yn 63 oed.

Yr oedd Mr. Griffith yn ddyn synwyrol a gwybodus, yn bregethwr pur a sylweddol, ac yn fugail tyner a gofalus. Ychydig oedd o ysbryd cyhoeddus ynddo, ac nid oedd ynddo ddim awydd am ymwthio i sylw, yr hyn a godai yn benaf oddiar ei dueddfryd naturiol wylaidd a distaw. Perchid ef yn fawr gan bobl ei ofal, a chan ei frodyr yn y weinidogaeth; a thra y daliodd ei iechyd bu yn dra ffyddlon yn nghyfarfodydd ei sir. Gwaelodd ei iechyd yn fawr yn ei flynyddoedd olaf, fel yr oedd yn aml yn analluog i gyflawni ei weinidogaeth. Cydnabyddid ef gan bawb yn

ddyn da, ac yn ei gystudd diweddaf er fod y dyn oddiallan yn "llygru yr oedd y dyn oddimewn yn adnewyddu."

CENDL. (Carmel). Yn niwedd 1872 darfu cysylltiad Mr. R. Hughes a'r eglwys hon, ac er hyny y mae yr eglwys heb weinidog. Mae Mr. Hughes yn awr yn weinidog yn Bethel, Cwmbran.

RHYMNI. (Seion). Yn fuan wedi i ni yn 1870 ysgrifenu hanes yr eglwys hon, enciliodd y gweinidog, Mr. W. P. Davies, i'r Eglwys Sefydledig; ac wedi bod ychydig gyda blwyddyn heb weinidog rhoddwyd galwad i Mr. W. G. Williams, Trawsfynydd, sir Feirionydd, i ddyfod yn weinidog yma, ac y mae yn parhau i lafurio yn y lle gyda derbyniad.

CASNEWYDD. (Tabernacl). Ar ol ymadawiad Mr. P. W. Darnton yn Mai, 1870, bu yr eglwys am fwy na blwyddyn heb weinidog, yna rhoddasant alwad i Mr. William Jansen Davies, Llanymddyfri, yr hwn a symudodd yma, ac y mae yn parhau yn barchus a phoblogaidd yn y lle.

CEFNYCRIB. Mae yr eglwys fechan yma wedi ei hamddifadu yn fawr trwy farwolaeth ei gweinidog rhagorol, Mr. H. Daniel, yr hyn a gymerodd le Gorphenaf 26ain, 1874, a hyd yma nid oes yr un gweinidog wedi ei sefydlu yn y lle.

COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

HERBERT DANIEL. Gan i'r byr gofiant a ganlyn am Mr. Daniel ymddangos yn y *Diwygiwr* am Tachwedd, 1874, nis gallwn wneyd yn well na'i osod i mewn yma agos yn gyflawn fel y mae.

"Ganwyd ef mewn lle a elwir Cae-far-bwll, gerllaw Ebenezer, Pontypool, ar y 30ain Fawrth, 1801. Enwau ei rieni oeddynt Daniel a Mary Daniel, eill dau o blwyf Trefethin, ac felly eu hachau o'u blaen mor bell yn ol a'r nawfed genedlaeth. Efe oedd yr ieuengaf o un-ar-ddeg o blant. Pan yn ddwy flwydd a thri mis oed, bu farw ei fam, yr hyn fu yn golled fawr i'r teulu, yn enwedig iddo ef. Yr oedd sefyllfa addysg yn isel iawn yn y wlad y pryd hyny; dim ysgolion dyddiol i'w cael yn un man; felly ni chafodd fawr manteision boreuol. Pan yn ddeng mlwydd oed aeth i wasanaeth, a pharhaodd i wasanaethu yn y naill fan a'r llall yn y gymydogaeth hyd nes yr oedd yn ddeunaw oed. Yna aeth i weithio dan y ddaear, a gweithiodd yn galed am tua phum' mlynedd. Yn y tymhor hwn, trwy ei ofal, ei gynildeb, a'i drefnusrwydd, bu yn alluog i ystorio ychydig arian, a darparu erbyn y dyfodol.

Un noswaith yn nhy John Moses, ewythr iddo, yr oedd gweinidog dyeithr yn pregethu, ac yntau yno yn fachgen ieuangc yn gwrando. Yn y cyfarfod hwnw, trwy offerynoliaeth y gweinidog dyeithr, aeth gair Duw i'w galon, ymaflodd yn ei gydwybod, argyhoeddodd ef o bechod, a dychwelodd ef at yr Arglwydd. Yn fuan ar ol hyn aeth i'r gyfeillach yn Ebenezer, ac yn mis Hydref, 1817, derbyniwyd ef yn aelod gan Ebenezer Jones, gweinidog y lle, pan yn un-ar-bymtheg oed; ac am flynyddau bu yn ffyddlon, ymdrechgar, a defnyddiol iawn fel aelod. Dangosodd ei fod yn Gristion didwyll, ac hefyd ei fod yn meddu cymhwysderau a galluoedd i fwy o gyhoeddusrwydd, felly anogwyd ef gan yr eglwys a'r gweinidog i ddechreu pregethu. Bu yn anhawdd iawn ganddo ar y dechreu gydsynio â'u cais, ond yn fuan rhoddodd ffordd, ac ymaflodd yn y gwaith a'i holl egni, ac yr oedd yn dderbyniol ac yn gymeradwy iawn fel pregethwr. Mewn ychydig amser ar ol dechreu pregethu, aeth i'r ysgol i Pontypool, ac oddiyno i Abergavenny at Mr. E. Skeel, a bu yn yr ysgol am yn agos i dair

blynedd. Yn y tymhor hwn cafodd amryw alwadau o wahanol fanau, ond gwrthododd gydsynio â hwy, a phenderfynodd ddychwelyd adref, ac ymsefydlu yn Cefncrib, ac felly y bu.

Ar yr 2 ddydd o Orphenaf, 1828, pan yn 27 oed, priododd â merch ieuangc hardd, rinweddol, a gwir dalentog o'r ardal, sef Miss Ruth Jenkins, merch i Mr. John Jenkins o Cefncrib, a buont gyda eu gilydd yn gysurus a dedwydd iawn am 28 o flynyddau. Ganwyd iddynt 14 o blant, 7 o ba rai sydd yn fwy yn awr. Fel teulu yr oed iynt yn rhagori. Nid yn aml y gallesid cyfarfod â theulu mor ddedwydd a chysurus. Yn y flwyddyn 1856, bu farw Mrs. Daniel yn 52 mlwydd oed. Parodd hyn ofid, galar, a thristwch mawr yn y teulu. Archollwyd eu teimladau a rhwygwyd eu calonau, a gwelir yr effeithiau hyd y dydd heddyw. Pan fu farw Mrs. Daniel, yr oedd pump o'r plant gartref gyda eu hanwyl dad, tair merch a dau fab; ond yn mhen tua 10 mlynedd fe'u gwasgarwyd oll, a gadawyd ef wrtho ei hun. Felly ar y 7 o Fai, 1867, priododd yr ail waith â Mrs. Anne Williams, gweddw y diweddar Mr. B. Williams, Llanelli, Brycheiniog, a buont yn hollol ddedwydd gyda eu gilydd hyd nes i angeu eu gwasgaru.

Yn y flwyddyn 1832, derbyniodd alwad o Tabor, Maesycwmwr, ac ar yr 28 o Fai, urddwyd ef yno. Bu llwyddiant mawr ar ei lafur yn ardal Maesycwmwr am amryw flynyddau, a bu yn foddion i ennill ugeiniau lawer at Iesu y Gwaredwr.

Yn Medi, 1837, aeth Mr. Daniel, ar gais yr ychydig oedd yn cyfarfod yn Sardis, Pontypool, i'w ffurfio yn eglwys Annibynol, a derbyniodd alwad oddiwrthynt i gymeryd eu gofal, hyd nes y buasent yn dyfod yn ddigon cryf i gynal gweinidog, ac felly y bu. Llafuriodd yn eu plith, a bu yn llwyddianus iawn. Nid oeddynt ond wyth o aelodau pan y sefydlodd hwy yn eglwys, ond yn mhen deunaw mis yr oeddynt yn ddeg-ar-hugain, a'r gynnulleidfa wedi lluosogi yn ddirfawr. Yna rhoddodd eu gofal i fyny, a rhoddasant hwythau alwad i Mr. T. Williams, Maendy, Morganwg, yr hwn a ymsefydlodd yn eu plith; ond trodd pethau allan yn annymunol iawn yn ei amser ef, a gorfu iddo ymadael mewn ychydig amser. Yna rhoddasant alwad drachefn i Mr. Daniel. Atebodd yntau yr alwad yn gadarnhaol, ac ymsefydlodd yn eu plith yr ail waith. Y pryd hwn rhoddodd ofal Tabor, Maesycwmwr i fyny, a rhoddodd ei lafur yn gyflawn i'r eglwys yn Pontypool.

Yn y flwyddyn 1841, ffurfiodd hefyd eglwys Annibynol yn Cefncrib. Yr oedd yno gapel bychan wedi ei adeiladu, ond nid oedd yno yr un eglwys wedi ei ffurfio, na dim o ddyled y capel wedi ei dalu, hyd nes i Mr. Daniel i gymeryd at y lle. Wedi i'r ychydig oedd yno i gael eu gwneyd yn eglwys, a'u dwyn i deimlo eu hannibyniaeth a'u cyfrifoldeb, yn nghyd a llafur, ymdrech, a diwydrwydd Mr. Daniel ac eraill, llwyddasant. Y mae yno yn awr gapel hardd, eglwys dda, a chynnulleidfa luosog. Yn y flwyddyn 1862, rhoddodd yr eglwys yn Pontypool i fyny. Teimlodd ei fod yn myned yn mlaen mewn dyddiau, y ffordd yn mhell o Cefncrib i Pontypool, a'r eglwys a'r dref yn cynyddu. Anogodd hwy i ddewis gweinidog, ac felly gwnaethant. Ymadawodd a hwy wedi llafurio yn eu plith am 25 o flynyddau, a mawr oedd galar y naill ar ol y llall. Efe fu yn offeryn i adeiladu y capel newydd, a chasglodd ganoedd lawer tuag ato, yr hwn sydd yn bresenol yn un o'r addoldai harddaf a helaethaf yn nhref Pontypool. Ond parhaodd i lafurio yn Cefncrib hyd ei farwolaeth, yr hyn

a gymerodd le boreu Sabbath, y 26ain o Orphenhaf, 1874. Yr oedd efe yn un o gedyrn y weinidogaeth, yn ddyn mawr yn Israel, ac yn wr cadarn ac anrhydeddus yn y wlad; un o'r gweinidogion puraf, dysgleiriaf, ac eangaf ei ddylanwad yn sir Fynwy. Yr oedd ei wybodaeth eang, ei synwyr cryf, ei onestrwydd, ei gydwybodolrwydd, ei fanylwch, a'i weithgarwch wedi ei godi i safle bwysig, a'i wneyd yn wrthddrych o sylw ac o ymddiriedaeth yn y wlad. Teimlai pawb fod awdurdod yn ei air, a phwysigrwydd yn ei gynghor. Byddai y tlawd a'r cyfoethog, yr uchel a'r isel, yn aml yn ymgynghori ag ef, ac yn teimlo yn ddyogel i weithredu yn ol ei gyfarwyddiadau. Fel dyn yr oedd o alluoedd meddyliol cryfion, o synwyr cyffredin anarferol, ac o'r teimladau tyneraf. Fel cymydog a chymwynaswr, yr oedd braidd heb ei ail, yn un o'r dynion mwyaf defnyddiol a gwasanaethgar yn y Dywysogaeth. Fel cristion yr oedd yn bur a dysglaer ei gymeriad. Gellir dyweyd am dano fel y dywedwyd gynt am Cornelius, "Ei fod yn wr defosiynol, yn ofni Duw, yn nghyd a'i holl dy, yn gwneuthur llawer o elusenau i'r bobl, ac yn gweddio Duw yn wastadol." Fel gweinidog, yr oedd yn un o'r rhai mwyaf medrus i adnabod a llywodraethu dynion, a'u harwain yn ffyrdd crefydd a duwioldeb. Ond wele y mae wedi syrthio—wedi myned i ffordd yr holl ddaear, a chanoedd lawer yn wylo ar ei ol.

Ar y 9fed dydd o Orphenaf, 1874, cymerwyd ef yn glaf yn y *bronchitis*, Dyoddefodd boenau dirfawr, a bu yn gyfyng iawn arno hyd foreu y Sabboth, y 26ain o'r mis, pryd y gorphenodd ei yrfa mewn llawenydd, ac y dechreuodd ei Sabboth tragywyddol yn y nef. Teimlai yn ystod ei fyr gystudd yn hollol dawel, ac yn gwbl ymroddgar i ewyllys ei Arglwydd. Dywedai nad oedd arno ofn marw, ei fod mewn undeb a chyfamod â'r Gwr fu farw ar Galfaria, ac yn ei gysylltiad ag ef ei fod yn gallu ymlawenhau yn wyneb angau a'r bedd, a chanu yr hen benill hwnw a ganwyd gan ei anwyl briod pan yr oedd ar groesi i'r ochr draw—

"'Rwyf yn foddlon iawn i 'madael,
Trefna'r awr a threfna'r fan,
Ond yn ymchwydd yr Iorddonen,
Dal fy ysbryd llesg i'r lan:
Na'd fi suddo dan y tonau,
Pan fo angeu'n fawr ei rym,
Dwg fi trwodd yn dy freichiau,
Na'd i'm henaid ofni dim."

Y dydd Gwener canlynol ymgasglodd tyrfa fawr yn nghyd i wneuthur y gymwynas ddiweddaf i'w gorff marwol. Yr oedd yno lawer o weinidogion a diaconiaid o bob enwad. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y gweinidogion canlynol:—W. Williams, Abercarn; E. Hughes, Penmain; T. Rees, D.D., Abertawe; D. Richards, Caerphili; Jansen Davies, Casnewydd; D. Davies, Varteg; D. M. Davies, Risca; T. L. Jones, Machen, a D. Davies, New Inn. Gadawodd weddw a saith o blant ar ei ol, tri mab a phedair merch, y rhai oll sydd wedi ymsefydlu yn y byd, ac yn troi mewn cylchoedd pwysig ac anrhydeddus.

Rhyw dair blynedd a haner yn ol, prynodd dy hardd a thlws yn ymyl capel Ebenezer, ac yn niwedd Ebrill, 1871, symudodd o Cefncrib, ei hen drigfa, i'w dy newydd; ac felly bu farw yn ymyl y fan y ganwyd ef.

SIRHOWY. (Ebenezer). Mae Mr. D. E. Jones, M.A., wedi rhoddi gofal yr eglwys hon i fyny gyda diwedd y flwyddyn 1874, ar ei benodiad gan y Bwrdd Presbyteraidd i fod yn athraw yn athrofa Caerfyrddin. Yn

enwau y pregethwyr a godwyd yn yr eglwys hon, Cyf. I., tudalen 195, gwnaed camgymeriad trwy ddyweyd am John Silin Jones ei fod yn fyfyriwr yn athrofa Caerfyrddin; dylesid dyweyd athrofa Aberhonddu.

ABERTILERWY. Rhoddwyd galwad i Mr. William Morlais Davies, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, i fod yn weinidog i'r eglwys yn y Tabernacl, Abertilerwy, ac urddwyd ef Ionawr 1af, 1874, ac y mae yn parhau i lafurio yma gyda mesur helaeth o lwyddiant Mae yr eglwys wedi ymgymeryd a chodi capel newydd hardd, sylfaen yr hwn a osodwyd i lawr Gorphenaf 21ain, 1874. Mae argoelion ffafriol am ddyfodol yr achos yma.

BETHEL, CWMBRAN. Derbyniodd Mr. R. Hughes, (Cendl), alwad gan yr eglwys, a dechreuodd ei weinidogaeth yma y Sabboth cyntaf o'r flwyddyn 1874.

ABERSYCHAN. Yn 1871 derbyniodd Mr. W. A. Griffith alwad oddiwrth yr eglwys Saesonig yn Shepherd's Bush, Llundain, a symudodd yno. Yn haf 1873 rhoddodd yr eglwys alwad i Mr. John P. Williams, yr hwn a fuasai yn fyfyriwr yn athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Gorphenaf 3ydd, y flwyddyn hono, ac y mae yn parhau i lafurio yn y lle.

CASNEWYDD. (Mynydd Seion). Yn y flwyddyn 1872 ad-drefnwyd y capel yma trwy draul o 1,100p., a gwnaed ef yn dy nodedig o hardd, ac y mae agos i dair rhan o bedair o'r ddyled eisioes wedi ei thalu. Yn haf 1874 derbyniodd Mr. D. S. Davies alwad gan yr eglwys yn Llanfyllin, a chydsyniodd a hi. Rhoddodd yr eglwys hon i fyny yn niwedd Awst, ac nid oes etto weinidog wedi ymsefydlu yma.

RHYMNI. (Moriah). Amddifadwyd yr eglwys yma o weinidog trwy farwolaeth Mr. E. C. Jenkins, yr hyn a gymerodd le Ionawr 11eg, 1872. Ar ol bod flwyddyn a haner heb weinidog rhoddwyd galwad i Mr. David S. Evans, a fuasai yn fyfyriwr yn athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef Gorphenaf 7fed, 1873, ac y mae yma etto yn gymeradwy yn yr eglwys.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

EDWARD CHARLES JENKINS. Ganwyd ef yn Llanofer yn agos i Abergavenny, yn Ebrill, 1801. Derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Hanover, dan ofal Mr. Emanuel Davies, yn Mehefin, 1813, pan nad oedd ond 12 oed. Pan yn 20 oed dechreuodd bregethu, ac am yn agos i ddeng mlynedd pregethodd lawer yn gynorthwyol trwy yr holl wlad oddiamgylch. Derbyniodd alwad o Salem, Trelyn, lle yr urddwyd ef Tachwedd 4ydd, 1830. Nid oedd nifer yr aelodau yn rhoddi galwad i Mr. Jenkins yn ddim ond wyth, ond gwelodd ef dderbyn canoedd i'r eglwys. Bu am flynyddoedd yn myned ddau Sabboth o'r mis i Libanus, ac wedi hyny i Watford. Yn 1841 cymerodd ofal eglwys Moriah, Rhymni, yr hon a fu dan ei ofal hyd ei farwolaeth. Bu yn hir yn gofalu am dani mewn cysylltiad a Salem, ond gan fod maes eang yn Rhymni yn gofyn ei holl lafur, rhoddodd yr eglwys yn Salem i fyny yn 1868. Yr oedd Mr. Jenkins yn ddyn synwyrol a deallgar, o foes ac ymddygiad boneddigaidd, yn barchus gan bawb o'i gydnabod, ac fel pregethwr yr oedd yn wastad yn sylweddol, ac yn fynych yn dra effeithiol. Yn mysg ei bobl gartref yr hoffid ef fwyaf. Llafuriodd yn galed gyda chadw ysgol a phethau eraill i ddwyn ei deulu i fyny yr hyn a wnaeth yn barchus, a bu ei wraig rinweddol o gynorthwy mawr iddo yn hyny. Dyoddefodd boenau mawrion yn ei gystudd diweddaf, ond rhyddhawyd ef oddiwrthynt oll Ionawr 11eg,

1872, pryd y bu farw mewn tawelwch yn 70 oed. Claddwyd ef y Llun canlynol yn mynwent Salem—lle beddrod y teulu—ac yr oedd yno ddeg-ar-hugain o weinidogion o wahanol enwadau wedi dyfod yn nghyd i ddangos eu parch iddo, gyda thyrfa fawr o alarwyr.

PENYCAE, (Saesonig). Mae yr eglwys yma yn awr yn amddifad o weinidog trwy ymadawiad Mr. W. A. Edwards i gymeryd gofal yr eglwys yn Pembroke Dock.

RHYMNI. (Gosen). Rhoddodd Mr. Roberts, Graig, ofal yr eglwys yma i fyny, a rhoddwyd galwad i Mr. A. J. Evans, athraw ysgol o Gwernogle, yr hwn a urddwyd yma Rhagfyr 15fed, 1873.

CWMBRAN. (Elim). Wedi ymadawiad Mr. Lumley, rhoddwyd galwad i Mr. John Rees, o athrofa Aberhonddu, yr hwn a urddwyd yma Mehefin 29ain, 1871.

RISCA. Yn 1874 derbyniodd Mr. Davies alwad o Glynnedd, Morganwg, a symudodd yno cyn diwedd y flwyddyn, ac y mae yr eglwys yma er hyny heb weinidog.

CROSSKEYS, neu Pontywaun fel y gelwir ef yn awr. Wedi i Mr. Davies, Risca, roddi y lle hwn i fyny rhoddwyd galwad i Mr. J. Michael, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Medi 1af, 1873.

PONTYPOOL. (Mount Pleasant). Yn y flwyddyn 1871 derbyniodd Mr. Jenkins alwad o Dursley, a symudodd yno. Derbyniodd Mr. Thomas Llewelyn Jones, myfyriwr o athrofa swydd Lancaster, alwad unfrydol, a dechreuodd ar ei weinidogaeth y dydd cyntaf o Ionawr, 1873, ac urddwyd ef ar yr 8fed o'r Mai canlynol. Mae yr achos wedi adfywio yn fawr er ei ddyfodiad. Mae yr ysgol Sabbothol, nad oedd dros 90, wedi cynyddu i 350; a'r gynnulleidfa wedi cynyddu fel y gorfodir llawer i fyne i ymaith o eisiau lle. Mae y gweinidog ieuangc llafurus wedi rhoddi deheulaw cymdeithas i 180 eisioes, ac nid aeth un cymundeb heibio er ei sefydliad heb fod rhyw rai yn cael eu hychwanegu at yr eglwys. Mae tua 250 yn dyfod yn nghyd i'r cyfarfod gweddi yn lle rhyw 80 a arferai ddyfod, ac yn ystod deng mis talwyd 600p. o'r ddyled ar y capel, fel nad oes ond 450p. yn aros. Parha yr achos i fyned rhagddo a bydd raid yn fuan gael capel llawer helaethach.

NEW TREDEGAR. Cyn diwedd y flwyddyn 1872 rhoddodd yr eglwys yma alwad i Mr. J. R. Davies, yr hwn oedd yn weinidog yn Rhosymeirch, Mon, a symudodd yma, ac y mae yn parhau i lafurio yn y lle.

BLAENAFON. (Saesonig). Wedi ymadawiad Mr. D. Thomas i Lundain, rhoddwyd galwad i Mr. Samuel Owen, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef yma Ionawr 16eg, 1873, ac efe yw y gweinidog yn bresenol.

Dyna yr oll o'r ychwanegiadau y daethom o hyd iddynt yn yr eglwysi yr ydym eisioes wedi rhoddi eu hanes. Sefydlwyd yr eglwysi canlynol er hyny.

## SALEM, (SEISONIG).

Wedi adeiladu Salem newydd yn y flwyddyn 1860-61, ymneillduodd yr eglwys Gymreig i hwnw, a'r hen gapel a adawyd yn anghyfanedd, a'r hen fynwent a aeth yn anialwch. Ond yr oedd gadael y lle felly yn peri loes i lawer mynwes, oedd a pherthynasau yn gorwedd yno, a'r gofyniad parhaus oedd, "Pa'm na wneir rhywbeth a'r hen gapel?" Darfu i'r diweddar Mr. E. C. Jenkins, D. Seys Lewis, Ysw., a Mr.

Abiathar Jenkins, ymddiddan a'u gilydd yn nghylch cychwyn achos Seisnig yn yr hen addoldy; ac nid rhyfedd fod yr hen weinidog yn bryderus yn nghylch y lle, oblegid llafuriodd yn galed yno am lawer o flynyddau meithion i godi yr achos Cymraeg. Hefyd yr oedd chwech o'i anwyliaid yn gorwedd yno, yn nghyda'i anwyl briod, gyda'r hon y mae ef ei hun erbyn heddyw. Gan fod yr adeilad wedi gwaethygu cymaint wrth fod yn segur am gynifer o flynyddau, y gofyniad naturiol oedd, pa fodd yr oedd dwyn y draul o'i adgyweirio? Penderfynwyd gosod y mater o flaen y boneddwr haelfrydig S. Morley, Ysw., A.S., yr hyn a wnaeth Mr. Lewis gyda llwyddiant. Felly gosodwyd yr hen dy mewn ffordd i addoli ynddo. Y peth nesaf oedd, pwy geid i gychwyn yr achos? Yr oedd ychydig yn yr eglwys Gymreig nad oeddynt yn teimlo yn gartrefol, o herwydd nad oeddynt yn deall Cymraeg gystal a'r Saesoneg, felly ymadawodd chwech drwy lythyrau cymeradwyaeth o'r eglwys Gymreig, a chynaliwyd gwasanaeth cyhoeddus am y waith gyntaf yn y Saesonaeg yn yr hen Salem dydd Sul, y 10fed o Dachwedd, 1872. Yr oedd Mr. D. Daw, Brynmawr, wedi ei apwyntio i bregethu y Sabboth hwnw, ond methodd a dyfod, a chymerwyd ei le gan ei fab, Mr. Young Daw. Rhifodd yr ysgol Sabbothol y tro cyntaf 75, ac y mae yn parhau yn flodeuog hyd heddyw. Ar ddiwedd yr addoliad nos Sul, cadwyd cyfeillach gan y rhai oeddynt wedi dyfod o'r eglwys Gymreig, a mawr oedd eu llawenydd i weled chwech yn aros ar ol gyda hwynt. Y nos Fawrth canlynol corpholwyd yr eglwys Saesonig. Gwasanaethwyd gan y Meistri E. Hughes, Penmain; L. Williams, Mynyddislwyn, a D. Seys Lewis, Penrhiwfranc. Derbyniwyd y rhai canlynol drwy lythyrau o Salem Gymreig:—Arthur Thomas Jenkins, Mary Jenkins, David Jones, John Lewis, Jane Mathews, ac Elizabeth Lewis. Daeth Sarah Thomas a'i llythyr o Mynyddislwyn. Derbyniwyd y chwech canlynol drwy ddeheulaw cymdeithas, y rhai a ddaethant i'r gyfeillach y nos Sul cyn hyny:—Frederick Smith, Ann Smith, Ann Jones, Benjamin Prince, John Evans, a John Samuel Smith. Neillduwyd y brodyr Arthur Thomas Jenkins a David Jones, y naill i fod yn ysgrifenydd a'r llall i fod yn drysorydd yr eglwys, ac i weinyddu fel diaconiaid. Felly cychwynwyd yr achos Seisonig yn hen Salem gyda thri-ar-ddeg o aelodau, pump yn ychwaneg i'r hyn oedd yr eglwys Gymreig yn rhoddi galwad i'r diweddar Mr. Jenkins 42 mlynedd cyn hyn. Yr oedd gwir angen am achos Seisonig yn mhlith yr Annibynwyr yn y lle hwn, oblegid daeth yma rai o'r enwad i'r lle i weithio, a chan nad oedd achos Annibynol Saesonig i'w gael aethant at yr enwadau eraill yn y gymydogaeth lle gallent gael yr efengyl yn eu hiaith eu hunain. Y mae gwenau y nefoedd yn amlwg ar yr achos yma o'r cychwyniad; mae yr eglwys yn bresenol yn rhifo 27. Mae'r aelodau a'r gwrandawyr wedi bod yn ffyddlon iawn i osod y capel a'r fynwent mewn trefn dda; ac wedi myned i draul o tua 80p. (yn ychwaneg i'r hyn wnaed ar y cychwyniad o arian Mr. Morley), i wneyd eisteddleoedd newyddion, arliwio y capel, &c., a thalasant 50p. i'r eglwys Gymreig am y meddiant o'r capel a'r fynwent. Tystiolaeth pawb yw, na welsant y lle erioed yn edrych cystal. Y mae dyled o 100p. yn aros ar y capel yn awr, Hydref 1af, 1874. Rhoddwyd galwad i Mr. Arthur Thomas Jenkins, mab Mr. Jenkins, Salem, yr hwn a ddechreuodd bregethu yn Ebenezer, Pontypool, ac urddwyd ef y 23ain o Fehefin, 1874. Nos Lun, yr 22ain, pregethwyd gan y Meistri D. Jones, Cwmbwrla, ac H. Oliver, B.A., Casnewydd. Boreu dydd Mawrth, am

haner awr wedi deg, pregethodd Mr. Oliver, ar natur eglwys; holwyd y gweinidog ieuangc gan Mr. T. L. Jones, Machen; gweddiwyd yr urdd-weddi gan Mr. W. Williams, Abercarn. Am haner awr wedi dau, pregethwyd y siars i'r gweinidog gan Dr. T. Rees, Abertawy, ac i'r eglwys gan Mr. E. Hughes, Penmain. Yn yr hwyr pregethodd y Meistri J. Farr, Aberdar, a W. Williams, Abercarn. Dechreuwyd y gwahanol oedfaon gan y Meistri J. Elias, Salem; J. E. Griffiths, Fochriw; J. R. Davies, New Tredegar, a J. Jones, Salem. Y mae Mr. Jenkins yn dechreu ei weinidogaeth dan amgylchiadau cysurus; ac arwyddion fod yr Arglwydd yn coroni ei lafur ef a'r eglwys â llwyddiant.

## RHIWDERYN.

Lle cynyddol yw Rhiwderyn, o fewn pum' milldir i Casnewydd, a thair a haner o Machen. Ychydig flynyddau yn ol dechreuwyd gwaith Alcan yn y lle gan y Meistri Phillips a Marse, yr hwn erbyn hyn sydd yn un o'r gweithfeydd mwyaf llwyddianus yn Neheudir Cymru. Yn fuan wedi cychwyn y gwaith, dechreuwyd pregethu yn fisol, ac wedi hyny yn bythefnosol, gan Mr. T. L. Jones, Machen, o dy i dy yn yr ardal—weithiau yn Gymraeg ac weithiau yn Saesoneg, ac yn fynych yn haner yn haner. Yn mhen ychydig daeth gweinidogion Casnewydd i gynorthwyo; ond yr oedd pwys y gwaith o hyd yn gorphwys ar Mr. Jones, ac erbyn hyn yr oedd amryw o aelodau Machen yn byw yn y lle. Ar yr 16eg o Fawrth 1873, sefydlwyd eglwys reolaidd yn y *Long Room* perthynol i'r gwaith. Pregethwyd ar "Genhadaeth Crist i'r eglwys a chenhadaeth Crist i'r byd," ac yna darllenwyd llythyrau saith o aelodau o Machen, ac yr oedd yno amryw yn ymuno ar y pryd, yn gwneyd y nifer yn 18, y rhai a ffurfiwyd yn eglwys Annibynol yn y lle trwy roddi iddynt ddeheulaw cymdeithas, ac yna eisteddwyd i gofio angau y Gwaredwr. Cymerodd Mr. Jones ofal yr eglwys hyd nes y caent weinidog; ond gan fod ganddo ormod o waith yn barod yn Machen a Rhydri nis gallasai roddi ond ychydig o'i amser yn Rhiwderyn. Yn mis Tachwedd yr un flwyddyn, daeth Mr. G. D. Bird o Droedyrhiw, Merthyr, yma i aros, ac y mae wedi bod yma yn gweithio yn ddyfal hyd yn hyn, ac y mae yn debyg o aros a bod yn ddefnyddiol yn y lle. Mr. E. Phillips yw prif nerth yr achos yn y lle, ac y mae ei haelfrydedd tu hwnt i bob canmoliaeth. Yn yr un ystafell y mae yr eglwys etto; ond y mae tir wedi ei gael at gapel mewn man hynod o gyfleus, ac mae y cynlluniau wedi eu tynu, a bwriedir cael capel tlws yn werth tua mil o bunau. Mae yr holl wasanaeth er ffurfiad yr eglwys yn cael ei gario yn mlaen yn yr iaith Saesonig. Daw hwn yn lle pwysig yn fuan, ac mae yn debyg y bydd yma eglwys gref yn mhen ychydig flynyddoedd.

## SIR DREFALDWYN.

Llanbrynmair. Nid oes genym ddim i'w gywiro na'i ychwanegu yn hanes yr eglwys hon, ond fod y capel wedi myned dan adgyweiriadau yn ystod y flwyddyn 1874, a bwriedir gwneyd cyfnewidiadau pellach.

Llanfyllin. Wedi bod er marwolaeth Mr. Davies heb weinidog, yn haf 1874 rhoddwyd galwad i Mr. David Stanley Davies, Mynydd Seion,

Casnewydd, a dechreuodd ei weinidogaeth yma yr Hydref canlynol, ac y mae yn cychwyn yma yn addawol iawn. Mae y capel wedi ei ad-drefnu a'i brydferthu yn hardd iawn.

MACHYNLLETH. Digwyddodd camgymeriad yn hanes yr eglwys hon, Cyf. I., tudalen 293, wrth son am bryniad claddfa yn y lle. Yn lle "prynodd yr eglwys yn y lle yn nglyn a'r Methodistiaid o gylch dwy erw o dir," dylesid dyweyd—prynodd yr Annibynwyr yn y dref a'r amgylchoedd; oblegid yr oedd aelodau o eglwysi Annibynol eraill yn gweithio yn egniol, ac yn cyfranu yn haelionus at gael y gladdfa Ymneillduol, Yn mysg y pregethwyr a godwyd yma dylasai fod enw Lewis Thomas, mab yr hen bregethwr parchus Evan Thomas; yr hwn ar ol gorphen ei efrydiau yn athrofa Aberhonddu sydd o herwydd ei iechyd wedi myned i Awstralia. Mae y capel yma yn myned dan gyfnewidiad trwyadl yn awr, fel y bydd pan orphenir ef yn un o'r capeli goreu yn y wlad.

DERWENLAS. Yn nechreu 1872 gwaelodd iechyd Mr. Edwards yn fawr, a chyda dechreu yr haf aeth tua Ceidio, maes cyntaf ei lafur, er mwyn adnewyddiad nerth, ond bu farw yno Mehefin 13eg, 1872, yn 57 oed, a cheir byr grybwylliad am dano yn nglyn a hanes Ceidio. Cyn pen blwyddyn rhoddodd yr eglwysi yn Derwenlas, Glasbwll, a Zoar, alwad i Mr. Thomas Griffith, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin; ac urddwyd ef Gorphenaf 18fed, 1873, ac y mae yma etto yn gweinidogaethu. Codwyd yma un pregethwr, sef William D. Edwards, mab Mr. Edwards, y gweinidog, ac y mae yn awr yn athrofa y Bala.

CARNO. Yn niwedd y flwyddyn 1872 gwaelodd iechyd Mr. R. Ellis, y gweinidog, a bu farw Ionawr 27ain, 1873, yn 28 oed; ac y mae yr eglwys yma er hyny heb sefydlu ar weinidog.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

ROBERT ELLIS. Ganwyd ef yn Llanystymdwy, yn sir Gaernarfon, yn 1844. Mab ydoedd i Mr. R. Ellis, Rhoslan. Symudodd gyda'i rieni i'r Brithdir yn 1847, ac yno y derbyniwyd ef yn aelod pan yn ieuangc, ac y dechreuodd bregethu. Bu am ychydig yn yr ysgol yn yr Amwythig ac yn Manchester, a derbyniodd alwad o Carno a Llanwnog, lle yr urddwyd ef Hydref 13eg, 1866. Ennillodd gymeradwyaeth uchel fel pregethwr. Yr oedd o dymer hynaws, ac o ddawn ennillgar a deniadol. Gwaelodd ei iechyd a bu farw Ionawr 27ain, 1873, yn 28 oed.

PENARTH. Yn nechreu haf 1872 rhoddodd yr eglwys hon a'r eglwysi yn Jerusalem, Canaan, a Byrwydd, alwad i Mr. Morgan Evans, Merthyr Cynog, ac y mae yn parhau i weinidogaethu yn y cylch eang hwn.

LLANFAIRCAEREINION. Yn nechreu y flwyddyn 1872 symudodd Mr. D. S. Thomas, Glandwr, Penfro, i gymeryd gofal yr eglwys hon a'r eglwysi yn Siloh a Penuel. Yr oedd 100p. o ddyled yn aros ar y capel er pan adeiladwyd ef yn 1844, ond yn 1873 talwyd y cwbl, ac yr oedd 20p. yn weddill mewn llaw at baentio y capel, a chael esgynlawr yn lle yr hen bulpud uchel oedd ynddo, gyda rhyw gyfnewidiadau eraill. Costiodd 90p., ond talwyd y cwbl ar unwaith, fel y mae y capel yn ddiddyled, a'r eglwys mor galonᵒ ag y bu mewn unrhyw gyfnod yn ei hanes.

PENUEL. Yr oedd 60p. o ddyled yn aros yma er yr agorwyd y capel yn 1830, ond gan fod ardreth y ty yn ymyl y capel yn myned i dalu y llog, ni feddyliai neb am dalu yr hawl ymaith. Yn nechreu 1874 cynygiodd Mr. D. S. Thomas, y gweinidog, os casglai yr eglwys a'r gynnulleidfa 40p. y casglai yntau 20p. Derbyniwyd ei gynygiad, a thalwyd y ddyled. Dangoswyd ffyddlondeb mawr gan bob aelod a gwrandawr yn Penuel. Cafodd Mr. Thomas 10p. o Drysorfa y sir, a 5p. bob un gan William Roberts a Margaret Williams gynt o Pant-tanhouse, gerllaw Penuel, fel y gwnaeth ei swm i fyny o dri lle.

CROESOSWALLT. Yn nechreu y flwyddyn 1872 rhoddwyd galwad i Mr. R. E. Williams, gynt o Birmingham, a bu yma am ychydig gyda dwy flynedd Ymadawodd cyn diwedd 1874. Y mae yr eglwys yn awr wedi rhoddi galwad i Mr. John Thomas, Wern, a bwriada ddechreu ei lafur yma yn mis Mawrth, 1875.

LLANRHIADR-YN-MOCHNANT. Cyn diwedd 1872 derbyniodd Mr. Morris alwad o Langollen, a symudodd yno, ac y mae yr eglwys yma er hyny heb sefydlu ar weinidog.

FOEL, LLANGADFAN. Yn hanes Hugh Hughes, Foel, Cyf. I., tudalen 368, camarweiniwyd ni yn hollol i ddyweyd na bu Hugh Hughes erioed yn briod. Bu yn briod mae yn ymddangos dros rai blynyddau, ond claddodd ei wraig pan yn ieuangc.

TRALLWM. Wedi ymadawiad Mr. Rowlands i Gaerfyrddin yn 1871, daeth Mr. E. Goodall o Great Bridge, swydd Stafford, yma y flwyddyn ganlynol, ac efe yw y gweinidog presenol.

LLANIDLOES. Rhoddodd Mr. R. Jones ofal yr eglwys yma i fyny yn 1874, ac nid oes yma etto neb wedi ei sefydlu yn ei le.

GLYNHAFREN. Mae yr eglwys yma wedi bod yn amddifad o weinidog er symudiad Mr. Evans i Samah; ond y mae yn awr wedi rhoddi galwad i Mr. John E. Thomas, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin.

DREFNEWYDD, (Saesonig.) Rhoddodd Mr. J. P. Jones yr eglwys yma i fyny yn 1873, ac y mae yn awr wedi ymsefydlu yn Mhenybontarogwy. Nid oes yma yr un gweinidog ar hyn o bryd.

## SIR FEIRIONYDD.

BALA. Rhoddodd Mr. Peter ei weinidogaeth i fyny yma yn fuan ar ol codi y capel newydd; ac yn y flwyddyn 1873 rhoddwyd galwad i Mr. R. Thomas, Bangor, i fod yn weinidog yma, yr hwn oedd eisioes wedi ei ddewis i fod yn Ddarlithydd Duwinyddol i'r athrofa yn y lle. Dechreuodd ei weinidogaeth yn Hydref y flwyddyn hono, ac y mae yr achos wedi sirioli yn fawr ar ol ei ddyfodiad.

Er mwyn cywirdeb dylesid dyweyd yn Cyf. I., tudalen 410, mai ar symudiad Mr. M. Jones i'r Bala y symudwyd yr athrofa yno, yr hon oedd yn flaenorol wedi ei chychwyn dan ei ofal yn Llanuwchllyn.

LLANUWCHLLYN. Yn 1873 derbyniodd Mr. R. M. Thomas alwad o Rhesycae, sir Flint, a symudodd yno cyn diwedd y flwyddyn hono, ac y mae yr eglwys yma er hyny heb sefydlu ar weinidog.

PENYSTRYD. Wedi ymadawiad Mr. Williams yn 1869, bu yr eglwys yma heb weinidog hyd nes yr unodd yr eglwys hon a'r eglwysi yn Nhrawsfynydd a Jerusalem i roddi galwad i Mr. Bennet Jones, myfyriwr

o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Mai 29ain, 1873, ac y mae yn parhau i lafurio yn y tri lle. Bu eglwys Trawsfynydd dan ofal Mr. W. G. Williams am ychydig wedi ei ymadawiad oddiyma, hyd nes y symudodd i Seion, Rhymni. Y mae capel hardd wedi ei godi yn Nhrawsfynydd, yr hwn sydd yn addurn i'r lle.

Yn mysg y pregethwyr a godwyd yma dylasem grybwyll enwau John Gwilym Roberts, brawd Robin Meirion, yr hwn sydd yn awr yn Llundain, ac Ellis Jones, Llangwm. Ar ol i ni ysgrifenu hanes yr eglwysi hyn bu farw yr hybarch Edward Davies, gan yr hwn y cawsom y rhan fwyaf o ddefnyddiau hanes yr eglwysi yn mhlwyfi Trawsfynydd a Ffestiniog, ac er ei fod wedi rhoddi gofal yr eglwysi i fyny flynyddau lawer cyn ei farwolaeth yma y mae yn briodol i ni wneyd crybwylliad am dano.

COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Edward Davies. Ganwyd ef yn Llanrhiadrmochnant, yn mis Mai, 1786. Arferai pan yn fachgen wrando gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, a daeth yn ieuangc yn ddarllenwr da, ac yn eangach ei wybodaeth nac odid un o'i gyfoedion. Pan mewn ffair yn ei wlad, ac yn edrych ar y gwagedd oedd yn myned yn mlaen yno, tarawyd ef gan ei gydwybod a'r geiriau "Beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw?" a gadawodd y lle, ac aeth tuag adref. Symudodd yn fuan i sir Feirionydd, ac yn Llanelltyd, gerllaw Dolgellau, y derbyniwyd ef yn aelod, ond ar ol ei ddychweliad i Lanrhiadr y dechreuodd bregethu. Derbyniodd alwad o Capelhelyg a Rhoslan, sir Gaernarfon, lle yr urddwyd ef Medi 16eg, 1816. Yr oedd yr achos yn isel yn y lleoedd hyny ar ei sefydliad ef yno, ond gwelodd adfywiad nerthol yn fuan. Llafuriodd yno hyd 1822, pryd y derbyniodd alwad o Trawsfynydd a Maentwrog, a symudodd yno, lle y treuliodd weddill ei oes. Yn 1839 rhoddodd i fyny ofal Maentwrog, oblegid fod y maes yn rhy eang iddo, ac yn 1856 ymryddhaodd o'i ofal gweinidogaethol yn Nhrawsfynydd, ond parhaodd i bregethu hyd y gallodd dros weddill ei oes. Yr oedd ei iechyd wedi ei anmharu yn fawr yn ei flynyddoedd diweddaf, a bu farw Ionawr 5ed, 1872, yn 86 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Penystryd.

Yr oedd Mr. Davies yn wr cadarn nerthol o gorff a meddwl, yn ddeallgar yn mhob cangen o wybodaeth, ac yn nodedig o fedrus yn mhob gorchwyl yr ymaflai ei law ynddo. Cyflawnai bob math o orchwylion, a phe cyflwynasai ei amser a'i dalent at law-weithyddiaeth a pheirianwaith, diau y buasai yn un o weithwyr cywreiniaf ei oes. Yr oedd yn fardd ac yn gerddor, yn gystal ag yn dduwinydd ac yn bregethwr. Bu yn ysgrifenydd i gyfundeb Meirionydd, ac i athrofa y Bala am flynyddau lawer; ac yr oedd ei lawysgrif yn un o'r rhai goreu. Gwr pwyllus ydoedd fel pregethwr, ac ymadroddwr rhwydd, a'i bregethau yn wastad yn llawn o addysg dda. Buasai fod mwy o dân ynddo yn ei wneyd yn fwy poblogaidd gan y lluaws; ond i wrandawyr astud yr oedd pob peth a ddywedai er eu hadeiladaeth. Ysgrifenodd lawer i'r *Dysgedydd* a chyhoeddiadau eraill, a chymerai ei ran yn nadleuon duwinyddol ei oes. Calfiniad cymhedrol o ysgol Dr. Williams ydoedd fel ei frodyr yn y cyfnod hwnw, a rhoddai i'r pyngciau hyn le mawr yn ei weinidogaeth a'i ymddiddanion.

Maentwrog. Wedi ymadawiad Mr. Williams oddiyma i America yn 1870, rhoddwyd galwad i Mr. James C. Jones, myfyriwr o athrofa y Bala,

ac wedi hyny o Brif Ysgol Glasgow, ac urddwyd ef yma Tachwedd 5ed, 1871, ac y mae yn parhau i lafurio yn y lle.

BRITHDIR. Er marwolaeth Mr. Ellis yn 1874 y mae yr eglwysi yma ac yn Rhydymain heb weinidog

### COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

ROBERT ELLIS. Ganwyd ef Tachwedd 1af, 1801. Efe oedd mab hynaf yr hybarch Thomas Ellis, Llangwm. Derbyniodd addysg grefyddol yn foreu ar aelwyd ei rieni, a chafodd hyny o fanteision addysg ddyddiol a allai ysgolion ei gymdogaeth roddi iddo; a bu am ychydig pan yn fachgen yn yr ysgol yn Wrecsam dan ofal Dr. Lewis, athraw yr athrofa yno. Derbyniwyd ef yn aelod pan yn 19 oed, a chan iddo briodi yn ieuangc aeth i fyw i gymydogaeth Bethel, gerllaw Bala, a thra yno y dechreuodd bregethu. Claddodd ei wraig yn fuan a gadawyd ef yn weddw gydag un ferch; a rhoddodd i fyny amaethu, ac aeth i gadw ysgol gan gadw ei lygaid ar fyned i'r weinidogaeth. Derbyniodd alwad o Rhoslan a Tabor, sir Gaernarfon, lle yr urddwyd ef Mai 27ain, 1830, a llafuriodd yno am un-mlynedd-ar-bymtheg. Tra yno priododd a Miss Jones, Aberkin, o'r hon y ganwyd iddo feibion a merched. Bu Mr. Ellis yn dra defnyddiol yn maes cyntaf ei lafur; adfywiodd yr achos yn fawr, ac wedi ei sefydliad ef yno y codwyd capel yn Llanystymdwy. Cyrhaeddodd boblogrwydd mawr fel pregethwr trwy yr holl sir; ac yn enwedig yn adeg y diwygiad yn y blynyddoedd 1839 a 1840 nid oedd neb yn fwy felly. Clywsom ef yn gorchfygu y cynnulleidfaoedd cryfaf; yr oedd rhyw ddwysder dwfn yn ei lais, a min a nerth ar bob peth a ddywedai. Yr oedd yn ddyn hardd, o wyneb siriol ac agored, yn nodedig o ddiymyraeth, ac er dim ni fynai wneyd niwed i neb. Yr oedd yn llawn o natur dda, ac fel yr oedd yn heneiddio yr oedd mwy o hyny yn dod i'r golwg yn ei bregethu. Medrai gadw cynnulleidfa yn fyw mewn sirioldeb a'i ffraethder syml a naturiol. Ond ychydig o hyny a ddeuai i'r golwg yn ei bregethau yn mlynyddoedd cyntaf ei weinidogaeth, oddigerth yn achlysurol pan yn ymdrin a chymeriadau y Bibl.

Yn 1846 derbyniodd alwad o'r Brithdir a Rhydymain, a llafuriodd yno gyda pharch a chymeradwyaeth cyffredinol hyd ddiwedd ei oes. Claddodd ei ail wraig yn mhen blynyddoedd wedi iddo symud i'r Brithdir, a gadawyd yntau gyda thyaid o blant ar haner eu magu, a gwelodd lawer o helbulon wrth eu dwyn i fyny heb un fam. Aeth dau o'i feibion i'r weinidogaeth, ond buont feirw yn ieuangc, ac aeth hyny yn ddwfn iawn at ei galon. Ond yr oedd yn parhau yn gryf hyd o fewn blwyddyn i'w farwolaeth. Cafodd trwy ei oes iechyd da, a phan yn 70 oed yr oedd ei symudiadau mor hoyw a llanc. Cerid ef gan bawb a'i hadwaenai, ac yn mysg pobl ei ofal yr oedd fel canwyll eu llygaid. Priododd y drydedd waith rai blynyddoedd cyn ei farwolaeth, â gweddw o ardal Rhydymain, yr hon a fu yn ymgeledd gymhwys iddo, a'r hon a adawodd yn unig ar ei ol. Bu farw Ebrill 20fed, 1874, yn 73 oed, ond bydd ei enw a'i goffadwriaeth fyw yn hir, yn enwedig yn sir Gaernarfon a sir Feirionydd.

DOLGELLAU. Yn niwedd y flwyddyn 1871 derbyniodd Mr. E. A. Jones alwad oddiwrth yr eglwysi yn Nghastellnewydd, Capel Iwan, a Brynseion, a symudodd yno; a bu yr eglwys yma heb weinidog hyd 1873, pryd yr ymsefydlodd Mr. David Griffith, Portdinorwic, yma, ac y mae yn parhau yn gymeradwy yn y lle.

LLANELLTYD. Cyn diwedd 1871 derbyniodd Mr. R. Thomas alwad o Bethania, Ffestiniog, a symudodd yno, a bu Llanelltyd, Ganllwyd, a Llanfachreth, heb weinidog hyd haf 1873, pryd y rhoddwyd galwad i Mr. John Roberts, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Awst 21ain y flwyddyn hono. Gwnaethom gamgymeriad yn hanes y Ganllwyd wrth ddyweyd am y pregethwyr a godwyd yno, fod Richard Williams, yr hwn a aeth i America, wedi marw yno. Urddwyd ef yn Nintysix, swydd Oneida, ac aeth oddiyno i Wisconsin, ac y mae er hyny wedi bod yn byw yn Big Rock Ill, ond heb ofal eglwysig. Y mae yn awr ar ymweliad a Chymru.

ABERMAW. Yn y flwyddyn 1872 derbyniodd Mr. D. Evans alwad o Cymmer, sir Forganwg, a symudodd yno. Cyn hir rhoddwyd galwad i Mr. John Johns, Ystalyfera, ond ni bu ei arosiad yma ond byr, ac wedi myned oddiyma enciliodd i'r Eglwys Sefydledig. Y mae yr eglwys ar hyn o bryd heb weinidog. Y mae yma gapel newydd hardd wedi ei adeiladu mewn lle tra chyfleus. Pregethir yn Saesonaeg ynddo yn yr haf, ac y mae ystafell eang odditano fel y gellir cynal moddion ynddi yr un adeg ag y byddo moddion yn y capel, fel y gallo y Cymry a'r Saeson fod ar wahan. Y mae Mr. James Jones wedi bod yn dra egniol i dalu dyled y capel, ac y mae wedi ei thynu i lawr fel na theimlir hi mwy yn faich rhy drwm i'w ddwyn.

BETHANIA, FFESTINIOG. Gwelsom yn *Seren Gomer*, 1819, tudalen 27, mai Tachwedd 20fed, 1818, yr agorwyd y capel hwn y tro cyntaf. Cyn diwedd 1871 rhoddodd yr eglwys yma alwad i Mr. R. Thomas, Llanelltyd, ac y mae yma er hyny yn llafurio gyda chymeradwyaeth mawr. Y mae yma dy helaeth a chyfleus i'r gweinidog wedi ei godi yn ymyl y capel.

TANYGRISIAU. Yn gynar yn 1872 rhoddodd Mr. Roberts i fyny ofal yr eglwys hon, ac er hyny ni bu yma weinidog sefydlog.

RHIWBRYFDIR. Cam hysbyswyd ni yn hollol gyda golwg ar y ty sydd yn ymyl y capel yma. Adeiladwyd ef yn gwbl gan yr eglwys hon, ac y mae yn feddiant hollol iddi; ac ni bu a fynai yr eglwys yn Nhanygrisiau ag ef mewn un modd. Wedi ymadawiad Mr. Roberts yn 1871 bu yr eglwys hon heb weinidog hyd yn agos i ddiwedd 1874, pryd y rhoddwyd galwad i Mr. John A. Roberts, B.D., o Waterville, America, ac y mae yn dechreu ei weinidogaeth yma yn addawol iawn.

ARTHOG. Yn 1872 symudodd Mr. P. Davies oddiyma i Tynant, Tabor, a Seion, sir Aberteifi; a bu yr eglwys yma ac yn Llwyngwril, heb weinidog hyd Mehefin 30ain, 1874, pryd yr urddwyd Mr. William Griffiths, o athrofa y Bala, yn weinidog yma.

LLANEGRYN. Yn niwedd 1871 rhoddodd Mr. R. P. Jones yr eglwys yma i fyny, a symudodd i Pencadair; ac nid oes hyd yn hyn weinidog wedi ei sefydlu yma.

CORWEN. Yn 1873 cymerodd Mr. J. Pritchard, Graigfechan, gerllaw Rhuthyn, ofal yr eglwys hon, ac y mae yn parhau yn barchus yma.

## SIR FORGANWG.

Y mae ychydig o gyfnewidiadau wedi cymeryd lle mewn amryw o eglwysi y sir hon er pan yr ysgrifenasom eu hanes, ac y mae yma rai

eglwysi newyddion wedi cael eu ffurfio. Y rhai canlynol yn unig yw y rhai y mae cyfnewidiadau gwerth eu crybwyll wedi cymeryd lle ynddynt.

Y FELINDRE. Darfu cysylltiad gweinidogaethol Mr. David Morgan a'r eglwys hon yn 1873, ac yn 1874 dewiswyd Mr. David Brace yn weinidog yma mewn cysylltiad a Phantycrwys, ac efe yw y gweinidog yma yn bresenol.

CWMBWRLA. Dylasem grybwyll yn hanes yr eglwys hon, mai trwy lafur, sel, ac ymdrechion diflino Mr. William Harries, un o ddiaconiaid yr eglwys yn Ebenezer, y dygwyd pethau i addfedrwydd i ffurfio eglwys Annibynol yn y lle hwn. Yr oedd amryw o aelodau Ebenezer yn ofni y buasai ffurfio eglwys yma yn gwanychu y fam-eglwys, ond barnai Mr. Harries a'r ychydig a gydweithredent ag ef yn wahanol, ac felly aethant rhagddynt er pob gwrthwynebiad ac oerni o du rhai ddylasent fod yn gefnogwyr iddynt. Cafodd Mr. Harries ganiatad gan yr eglwys yn Ebenezer i fyned i Gwmbwrla i gynorthwyo y cyfeillion yno i gychwyn yr achos, ac wedi iddo weled fod cychwyniad effeithiol wedi cael ei roddi iddo dychwelodd i'w le i'r fam-eglwys. Bu Mr. D. John, yn awr o Manchester, a Mr. F. Samuel, yn awr o Zoar, Abertawy, y rhai y pryd hwnw oeddent yn aelodau yn Ebenezer, yn pregethu yma amryw weithiau pryd y sefydlwyd pregethu cyson yma ar y Sabbothau.

PANTYCRWYS. Yn 1873 rhoddwyd galwad i Mr. David Brace i ddyfod yn weinidog yma mewn cysylltiad a Bethel, Glantwrch. Yn ddiweddar darfu ei gysylltiad a Bethel, a chymerodd ofal y Felindre mewn cysylltiad a'r lle hwn.

BETHEL, GLANTWRCH. Yn nechreu y flwyddyn 1872 symudodd Mr. L. P. Humphreys oddiyma i Sardis a Myddfai, a dilynwyd ef yma cyn dechreu y flwyddyn ganlynol gan Mr. David Brace, ond y mae ei gysylltiad ef a'r lle wedi darfod er 1874, ac y mae yr eglwys heb weinidog er hyny.

Y WERN, YSTALYFERA. Yn 1872 symudodd Mr. J. H. Jones, o Brynseion, Dowlais, yma, ac y mae yn parhau yma yn barchus a defnyddiol.

TANYGRAIG. Yn niwedd y flwyddyn 1873 cymerodd Mr. B. Williams ofal yr eglwys fechan hon mewn cysylltiad a Chanaan, ac y mae yr achos yn myned rhagddo yn nodedig o lewyrchus. Bwriedir gosod oriel yn y capel y gwanwyn hwn (1875). Mae nifer yr aelodau a'r gwrandawyr wedi llawer mwy na dyblu er pan y mae y lle dan ofal Mr. Williams.

LIBANUS, TREFORIS. Yn hanes yr eglwys hon (Cyf. II., tudalen 56,) crybwyllasom fod yma fwriad i adeiladu capel newydd. Y mae hyny yn awr wedi cael ei wneyd, a thyma y capel helaethaf ac ardderchocaf yn yr holl Dywysogaeth. Y cynllunydd oedd Mr. John Humphreys. Yr oedd y draul tua deuddeng mil o bunau. Mae yma gynnulleidfaoedd dirfawr o luosog yn gwrandaw bob Sabboth. Cynaliwyd cyfarfodydd agoriad y deml ardderchog hon Rhagfyr 22ain, 1873, a'r dyddiau canlynol. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Dr. T. Rees, a'r Meistri T. Jones, ac R. T. Howell, Abertawy; E. H. Evans, Caernarfon; W. Morgan, Caerfyrddin; J. H. Jones, Ystalyfera; O. Evans, Llanbrynmair, ac eraill. Mae amryw filoedd o'r ddyled wedi eu ddileu yn barod, ac ni bydd y bobl weithgar hyn yn hir cyn talu y geiniog olaf o hono, er cymaint y swm.

EGLWYS SAESONIG YSTALYFERA. Yn niwedd y flwyddyn 1872 rhoddodd Mr. J. John ofal yr eglwys hon i fyny, ac aeth i'r Abermaw. Yn haf y flwyddyn 1874 urddwyd Mr. W. Fairhurst yn weinidog yma, ac y mae yn ymddangos fod ei lafur yn dderbyniol a llwyddianus yma.

Capel Sion, Abertawy. Mr. Griffith Roberts yw y gweinidog yma er y flwyddyn 1873.

Taibach. Yn y flwyddyn 1872 rhoddodd yr eglwys hon alwad i Mr. Griffith Roberts, gynt o Gefncoed-y-cymmer, a bu yma am oddeutu blwyddyn, pryd y symudodd i Gapel Sion, Abertawy. Yn 1874 ymsefydlodd Mr. Henry Lewis, Merthyr Cynog, fel gweinidog yma.

Y Wern, Aberafon. Yn 1873 symudodd Mr. J. G. Thomas oddiyma i Solfach, ac nid oes neb wedi cael ei sefydlu yma yn ei le hyd yn bresenol.

Glynnedd. Bu Mr. W. Gibbon, Capel Isaac, yn weinidog yma am tua naw mis yn 1873, ac yna symudodd i Lanymddyfri. Yn niwedd y flwyddyn 1874 ymsefydlodd Mr. D. G. Davies, o Risca, yma, fel gweinidog, ac y mae yn debygol o fod yn llwyddianus yn y lle. Mae y capel yn awr yn cael ei adgyweirio a'i adeiladu agos oll o newydd. Bydd y draul o ddeuddeg i dri-chant-ar-ddeg o bunan. Rhoddwyd tir hefyd yn ddiweddar at helaethu y fynwent gan Mr. Williams, Aberpergwm.

Melin-y-cwrt. Mae yr eglwys hon yn ddiweddar wedi cael tir yn agos i orsaf Resolven, at adeiladu capel newydd hardd o werth tua phymtheg cant o bunau. Bydd y capel hwn yn fwy cyfleus o lawer i boblogaeth yr ardal na'r hen gapel, ond gadewir yr hen addoldy fel y mae at bregethu ar angladdau ac achosion eraill. Bwriedir i'r capel newydd fod yn barod erbyn diwedd y flwyddyn hon (1875). Mewn cysylltiad gweinidogaethol ag eglwysi eraill y mae yr eglwys hon wedi arfer bod o ddechreuad yr achos hyd yn bresenol, ond yn awr, pan y mae mewn gobaith i gael capel newydd, a phan y mae poblogaeth yr ardal yn cynyddu yn gyflym, bwriada fynu gweinidog iddi ei hun. Mae pob sail i ddisgwyl y bydd yr eglwys hon yn mhen ychydig flynyddau yn un o'r eglwysi cryfaf yn y sir.

Llangynwyd. Dywedasom yn hanes yr eglwys hon, trwy gael ein camarwain gan ein hysbysydd, i un Walter Edwards fod yn gweinyddu yma am dymor. Ond camgymeriad oedd hyny. Walter Thomas oedd y gwr. Bu ef yn weinidog yma ac yn Cymmer-glyn-corwg am yspaid o amser. Gweler ychydig sylw am dano yn nglyn a hanes Llanfaches, Mynwy.

Siloh, Maesteg. Yn 1874 symudodd Mr. W. Rees oddiyma i Glandwr, Ffynon Taf, ac nid yw yr eglwys etto wedi dewis canlyniedydd iddo.

Y Tabernacl, Penybontarogwy. Yn 1874 symudodd Mr. J. B. Jones, B.A., oddiyma i'r Plough, Aberhonddu, ac hyd yn hyn nid oes neb wedi ei ddewis yma yn ei le.

Porthycawl. Yn 1873 symudodd Mr. W. Joseph oddiyma i Gapel y Drindod, Caerdydd, ac yn 1874 dilynwyd ef yma gan Mr. David Evans, gynt o Rehoboth, Brynmawr.

Capel y Drindod, Caerdydd. Yn y flwyddyn 1873 ymsefydlodd Mr. W. Joseph, Porthycawl, yma, ac y mae yr achos gwywedig yn dechreu adfywio dan ei ofal.

COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Henry Chester. Ganwyd ef yn ninas Caerodor, Mai 23ain, 1816. Pan yr oedd tuag un-ar-bymtheg oed ymunodd a'r Wesleyaid, ac wedi bod yn pregethu yn eu mysg hwy am rai blynyddau trodd at yr Annibynwyr. Urddwyd ef yn Salisbury, a symudodd oddiyno i Stowrbridge, yn agos i Birmingham, ac oddiyno i Gapel y Drindod, Caerdydd, lle y bu

hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le ar ol ychydig o gystudd Chwefror 28ain, 1873. Yr oedd Mr. Chester yn ddyn pur iawn ei fuchedd, ac yn nodedig o selog a gweithgar, ond mor hynod yn ei ffordd ac mor ddifedr i ennill dynion fel y gwnaeth lawer mwy o ddrwg nag o dda yn Nghaerdydd, pa beth bynag a wnaeth yn y lleoedd eraill y bu ynddynt.

BRYNSEION, DOWLAIS. Symudodd Mr. J. H. Jones oddiyma i'r Wern, Ystalyfera, a dilynwyd ef yma am tua chwech mis yn 1873 gan Mr. B. Davies, Glandwr, Ffynon Taf, yna symudodd i Treorci, lle y mae yn bresenol. Y mae yr eglwys hon heb ddewis neb ar ei ol ef.

GWERNLLWYN, DOWLAIS. Yr unig beth sydd genym i'w ychwanegu at hanes yr eglwys hon ydyw, fod yma gapel newydd ardderchog wedi cael ei adeiladu yn ddiweddar, a'i fod i gael ei agor Ionawr 10fed, 1875.

BETHESDA, MERTHYR. Yn Ionawr, 1873, symudodd Mr. Job Miles oddiyma i Aberystwyth, ac nid oes canlyniedydd iddo wedi cael ei ddewis yma hyd yn bresenol.

TROEDYRHIW. Wrth ysgrifenu hanes yr eglwys hon ni ddarfu i ni nodi, fel y dylesid, mai Mr. William Morgan, yr ysgolfeistr, tad Mr. R. Morgan, St. Clears, fu yn un o brif gychwynwyr yr achos hwn. Yn ei dy ef y buwyd yn pregethu o'r dechreuad hyd nes yr agorwyd y capel, a bu ef a'i deulu o wasanaeth dirfawr i'r achos am flynyddau lawer. Y mae y gwr da hwn wedi myned oddiwrth ei waith at ei wobr. Dyoddefodd lawer o nychdod a chystudd yn ei flynyddau diweddaf. Bu farw Rhagfyr 18fed, 1873.

BLAENLLECHAU. Rhagfyr 10fed, 1872, urddwyd Mr. Edward Hughes, o athrofa Caerfyrddin, yn weinidog yr eglwys hon. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Meistri W. Morgan, Caerfyrddin; J. Daniel, Mynyddbach; W. E. Jones, Treforis; J. Morgan, Cwmbach; D. Price, Aberdar, ac eraill. Yr ydym yn deall fod Mr. Hughes yn gweithio ei ffordd yn dda yma.

NANTMOEL. Chwefror 20fed, 1872, urddwyd Mr. William Davies, aelod o'r eglwys yn Nhreherbert, yn weinidog yr eglwys hon, ac y mae yn parhau i lafurio yma yn llwyddianus. Mewn dau anedd-dy heb raniad rhyngddynt, yr addolid yma hyd yn ddiweddar. Yn Mai, 1873, agorwyd yma gapel newydd a hardd, o werth wyth cant o bunau, ac yr oedd dau cant o'r arian mewn llaw erbyn dydd yr agoriad. Mae yr achos yn myned rhagddo yn nodedig o gysurus yma, a phoblogaeth y lle yn cynyddu yn gyflym.

BETHLEHEM, PENTYRCH. Bu yr eglwys hon oddiar amser marwolaeth Mr. Jones yn Mehefin, 1872, hyd Mehefin, 1874, heb weinidog sefydlog. Mehefin 16eg, 1874, urddwyd Mr. M. C. Morris, o athrofa Aberhonddu, yma, ac y mae yn hyfryd genym ddeall fod y brawd ieuangc hwn yn debyg o ateb y lle yn rhagorol. Y mae yma yn awr gapel newydd prydferth iawn. Trwy ryw amryfusedd dywedasom yn hanes yr eglwys hon mai yn yr Eglwys Newydd yr urddwyd Mr. W. Russell. Yn Machen yr urddwyd ef, ac wedi ymadael oddiyno y bu yn gofalu am yr Eglwys Newydd a Llansantffraid-ar-lai.

COFNODIAD BYWGRAFFYDDOL.

JOHN JONES. Yr oedd ef yn fab i Mr. Methusalem Jones, gweinidog yr eglwys yn Bethesda, Merthyr. Ganwyd ef yn mis Chwefror, 1813, ac

yn amser y diwygiad mawr yn 1828 derbyniwyd ef yn aelod o eglwys Bethesda. Yn 1831, ar anogaeth yr eglwys, dechreuodd bregethu. Yn mhen ychydig wedi hyn ymunodd mewn priodas a merch ieuangc o'r un eglwys ag yntau. Trwy briodi mor gynar amddifadodd ei hun o fanteision addysg ragbarotoawl i'r weinidogaeth; ond trwy lafur personol casglodd lawer iawn o wybodaeth, a daeth yn bregethwr grymus, poblogaidd a defnyddiol iawn. Wedi bod yn pregethu yn ei fam-eglwys a'r eglwysi cylchynol am agos saith mlynedd, derbyniodd alwad oddiwrth yr eglwys fechan yn y Rhydri, ac urddwyd ef yno dydd Mawrth y Pasg, 1838. Gan nad oedd yr eglwys ond bechan o rif nid oedd ei gyflog ef yn un ran o bedair o'r hyn oedd yn ofynol at gynaliaeth ei deulu lluosog, ac felly bu raid iddo am rai blynyddau gysylltu galwedigaeth fydol a'r weinidogaeth. Yn y flwyddyn 1842 cymerodd ofal Bethlehem, Pentyrch, mewn cysylltiad a'r Rhydri, a bu yn gwasanaethu y ddau le hyd y flwyddyn 1867, pryd y rhoddodd ofal y Rhydri i fyny, ac y cyfyngodd ei lafur i Bethlehem, a'r gangen o Bethlehem a ffurfiesid ganddo yn eglwys yn Tongwynlas. Tua dwy flynedd cyn ei farwolaeth bu mewn enbydrwydd mawr am ei fywyd trwy i un o waedlestri yr ysgyfaint dori. Gwellhaodd ychydig ar ol hyny, ond ni allodd bregethu nemawr o'r pryd hwnw hyd derfyn ei oes. Bu farw wedi hir nychdod Mehefin 14eg, 1872, a chladdwyd ef yn mynwent y Groeswen, pryd y pregethodd Mr. D. Price, Aberdar, a Dr. Rees, Abertawy. Cafodd Mr. a Mrs. Jones fagu teulu o ddeg o blant, a chawsant yr hyfrydwch o'u gweled oll yn proffesu crefydd, a dau o'u meibion, sef David a Methusalem, yn weinidogion yr efengyl.

Yr oedd Mr. Jones yn ddyn mwy ei gorff na'r cyffredin, ac yn nodedig o luniaidd a chadarn ei ymddangosiad. Yr oedd ganddo lais llawn, mwyn, ac effeithiol iawn. Llefarai bob amser yn y cywair lleddf, ac felly yr oedd ei swn yn gyfaddas iawn i doddi teimladau ei wrandawyr. Er iddo orfod llafurio dan lawer o anfanteision trwy ei oes bu o wasanaeth mawr i achos crefydd yn ei dymor.

Tongwynlas. Mae Mr. J. W. Morris wedi cymeryd gofal yr eglwys hon yn 1874, mewn cysylltiad a Canton, Caerdydd.

Eglwys Newydd. Mae yr eglwys hon wedi cael ei hamddifadu yn ddiweddar o'i gweinidog ieuangc a gobeithiol trwy ei farwolaeth yn mlodau ei ddyddiau, ac nid yw etto wedi dewis canlyniedydd iddo.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

William Meurig Rees oedd fab i Mr. Joseph Rees, un o weinidogion y Methodistiaid Calfinaidd yn sir Aberteifi. Ganwyd ef yn Mhontrhydfendigaid, yn y flwyddyn 1843. Derbyniwyd ef i gymundeb eglwysig pryd nad oedd ond saith mlwydd oed. Yn mhen blynyddau wedi hyny symudodd i Forganwg ac ymunodd a'r eglwys Annibynol dan ofal gweinidogaethol ei frawd, Mr. John Rees, yn Nghwmaman, Aberdar, ac yno y dechreuodd bregethu yn 1863. Bu yn parotoi i fyned i'r athrofa dan olygiad Dr. Evan Davies, Abertawy, a Mr. J. B. Jones, B.A., Penybont; ac yn 1868 derbyniwyd ef i athrofa Aberhonddu. Yn mhen tair blynedd colliodd ei iechyd yno fel y bu raid iddo dreulio y rhan fwyaf o'i bedwar-

edd flwyddyn yn yr ysbyttai yn Bath a Llundain. Wedi gwellhau ychydig dychwelodd i'r athrofa, ac ar derfyniad ei amser yno ymsefydlodd yn yr Eglwys Newydd, lle yr urddwyd ef Gorphenaf 3ydd, 1872. Wedi llafurio yma gyda pharch nodedig am ychydig gyda blwyddyn ail ymaflodd ei hen elyn, y darfodedigaeth, ynddo gyda mwy o ffyrnigrwydd nag erioed, fel y bu raid iddo fyned i dy ei fam i Dreherbert, lle y bu farw yn yr Arglwydd Mehefin 3ydd, 1874. Claddwyd ef yn mynwent y Groeswen.

Yr oedd Mr. Rees yn weinidog ieuangc nodedig o addawol. Mae yn sicr y buasai yn ddefnyddiol iawn pe cawsai estyniad einioes, ond nid felly yr ewyllysiodd yr Arglwydd.

Llanharan. Ymadawodd Mr. J. W. Morris oddiyma i Canton, Caerdydd, yn 1872, ac nid yw yr eglwys etto wedi dewis canlyniedydd iddo.

Treoes. Bu yr eglwys hon, a'r gangen yn Llangrallo, heb weinidog sefydlog oddiar ymadawiad Mr. R. S. Jones i America yn 1871, hyd Hydref y flwyddyn 1874, pryd yr ymsefydlodd Mr. Thomas Williams, diweddar o Bontarddulais, yma. Mae yma argoelion gobeithiol iawn am lwyddiant ar lafur Mr. Williams yn y lle.

Bethesda y Fro. Mae angau yn ddiweddar wedi amddifadu yr eglwys hon yn nghyd a Nurston a Llanelltyd Fawr, o'u gweinidog defnyddiol, ac nid oes neb etto wedi eael ei ddewis yn ganlyniedydd iddo.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Morgan Morgans. Ganwyd y gweinidog rhagorol hwn yn mhlwyf Llanharan, yn y flwyddyn 1799. Yn 1820 derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys Annibynol yn Llanharan. Yn y flwyddyn 1825 anogwyd ef gan yr eglwys i ddechreu pregethu, ac er ei fod wedi myned i'r sefyllfa briodasol aeth i ysgol Mr. Davies, Penywaun, er cymhwyso ei hun at waith y weinidogaeth. Bu yno yn fyfyriwr diwyd am ddwy flynedd. Yn Chwefror, 1828, urddwyd ef yn Blaenafon, a bu yno yn llafurus a llwyddianus iawn am wyth mlynedd. Yn 1836 derbyniodd alwad o Bethesda i fod yn ganlyniedydd i'r emynwr enwog Thomas Williams, ac yno y treuliodd weddill ei oes yn nodedig o ddefnyddiol a pharchus. Pregethai dair gwaith bob Sabboth, a theithiai tua thair-milldir-ar-ddeg. Pregethodd yn Bethesda ar foreu y Sabboth, Mawrth 15fed, 1874, ac yn Nurston yn y prydnawn. Wrth fyned o Nurston i Lanelltyd, lle yr oedd i bregethu yn yr hwyr, cymerwyd ef yn glaf ar y ffordd yn agos i dy un o'i aelodau. Trodd i [illegible] ychydig ar y gwely o herwydd [illegible]. Cyn pen [illegible] wedi iddo orwedd yr oedd ei ysbryd wedi ehedeg o'r babell bridd. Felly cafodd y gwas ffyddlon hwn ei alw o ganol ei waith i fwynhau ei wobr heb ymdroi dim yn nglyn cysgod angau. Claddwyd ei ran farwol yn mynwent Bethesda. Bu y Meistri Jones, Penybont; Evans, Caerdydd; Evans, Maendy; Morris, Pontypridd, a Howells, Abertawy, yn gweinyddu yn ei angladd. Tarawodd ei farwolaeth ddisymwth yr holl ardal a syndod ac a difrifoldeb. Wedi ei farwolaeth trodd amryw o'i hen wrandawyr i geisio y Ceidwad a gynygiodd ef iddynt mor daer yn ei fywyd. Pregethodd yn effeithiolach o'i fedd nag o'i bulpud.

Yr oedd Morgan Morgans yn ddyn hynod o dduwiol, gwylaidd, a dirodres, ac yn bregethwr nodedig o effeithiol. Yr oedd yn anmhosibl i neb a'i hadwaenai lai na'i garu ac edrych arno fel gwr Duw.

TREORCI. Wedi i ni ysgrifenu hanes yr eglwys hon ymadawodd Mr. E. Gurnos Jones oddiyma ac ymsefydlodd yn Nhalysarn, Arfon. Yn 1873 dechreuodd Mr. B. Davies ei weinidogaeth yma, ac y mae yn gaffaeliad gwerthfawr i'r eglwys a'r ardal. Mae yma achos nodedig o lewyrchus a chynyddol.

PENTRE YSTRAD. Mae Mr. L. Probert wedi myned oddiyma yn niwedd y flwyddyn 1874 i Borthmadog, ac nid oes neb etto wedi cael ei ddewis yn ganlyniedydd iddo.

BODRINGALLT. Awst 14eg, 1873, urddwyd Mr. J. Gwrhyd Lewis, o athrofa Caerfyrddin, yma, ond llai na blwyddyn y bu yma. Mae yn bresenol yn Cwmparc.

CWMAMAN, ABERDAR. Mae Mr. J. Evans wedi symud oddiyma i Patagonia yn 1874, ac nid yw yr eglwys hyd yn hyn wedi dewis gweinidog yn ei le.

TROEDYRHIW, (Saesonig). Yn 1873 symudodd Mr. G. D. Bird oddiyma i Rhiwderyn, Mynwy, ac urddwyd Mr. L. A. Walker, o Gaerdydd, yma Mehefin 18fed, 1874, yn ganlyniedydd iddo.

MARKET SQUARE, MERTHYR. Yn 1873 symudodd Mr. F. S. Johnstone oddiyma i Wolverhampton, ac y mae Mr. J. R. Webster, o Ormskirk, gerllaw Liverpool, wedi ei ddilyn yma yn 1874.

BETHANIA, DOWLAIS. Yn 1873 symudodd Mr. John Evans oddiyma i Heol Awst, Caerfyrddin, ac yn 1874 dewiswyd Mr. David Rees o'r Capel Mawr, Mon, i fod yn ganlyniedydd iddo yma.

GILFACHGOCH. Mae yma gapel hardd wedi cael ei adeiladu, ac y mae yr eglwys wedi rhoddi galwad unfrydol i Mr. James C. Evans, Cana, Mon. Disgwylir y bydd iddo ddechreu ei weinidogaeth yma yn gynar yn 1875.

GROESWEN. Cafodd y capel hwn ei adeiladu oll o'r newydd yn ddiweddar. Mae yn awr yn addoldy prydferth dros ben. Cynaliwyd cyfarfodydd ei agoriad Tachwedd 18fed a'r 19eg, 1874, pryd y pregethwyd gan y Meistri J. Thomas, Liverpool; W. Jenkins, Pentre-estyll; O. Evans, Llanbrynmair, a'r Dr. Rees, Abertawy. Y mae yr addoldy prydferth hwn eisioes agos yn rhydd o ddyled. Pan ysgrifenasom hanes yr eglwys hon nid oeddem yn gwybod amser marwolaeth Mr. Thomas Williams, un o'r gweinidogion cyntaf yma. Yn awr yr ydym wedi cael allan iddo farw Rhagfyr 16eg, 1765, yn 48 oed, ac iddo gael ei gladdu yn mynwent y Cymmer, lle y mae ei garegfedd i'w gweled etto.

PILTON GREEN a PARK MILL. Y mae y ddau addoldy hyn wedi cael eu hadgyweirio yn fawr yn ddiweddar, a thraul yr adgyweiriadau wedi cael ei thalu.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

EVAN GRIFFITHS. Ganwyd y gwas ffyddlon hwn i Grist yn Gellibebblig, yn mhlwyf y Bettws, yn agos i Benybontarogwy, Ionawr 18fed, 1795. Efe oedd yr ieuengaf o saith o blant. Bu farw ei dad pryd nad oedd ef ond tair blwydd oed. Gan nad oedd amgylchiadau y teulu ond isel nis gallodd ei fam weddw roddi iddo ef nac i un o'r plant eraill nemawr o fanteision addysg, ond gan ei bod yn wraig dduwiol gwnaeth ei goreu i'w dysgu i ofni Duw o'u mebyd. Pan yn dair-ar-ddeg oed derbyniwyd Evan Griffiths yn aelod o'r eglwys yn Brynmenyn, a phan yn un-ar-hugain oed anogwyd ef gan ei weinidog, Mr. W. Jones, Penybont, a'r eglwys, i ddechreu pregethu. Yr oedd Mr. Jones y pryd hwnw yn

cadw ysgol ddyddiol, a bu Mr. Griffiths tua blwyddyn yn ei ysgol. Bu wedi hyny am ddwy flynedd yn y Casnewydd dan addysg y Dr. Jenkin Lewis. Yn y flwyddyn 1821 aeth Dr. Lewis i Frowyr i bregethu yn y capel a adeiladesid yno gan yr Arglwyddes Barham, a phan yn gweled fod angen am weinidog sefydlog yn Pilton Green a Park Mill, cymeradwyodd ei ysgolhaig, Mr. Griffiths, i sylw ei Harglwyddiaeth fel un addas i gymeryd gofal y lleoedd hyn. Aeth Mr. Griffiths yno, ac ar ol bod yn pregethu yn y ddau gapel am ddwy flynedd, a chasglu yno gynnulleidfaoedd, cafodd ei urddo yn weinidog i'r cynnulleidfaoedd hyny Gorphenaf 21ain, 1824. Wedi llafurio yma am bedair blynedd ar ol ei urddiad, symudodd yn Awst, 1828, i Abertawy, i gyfieithu esboniad Mathew Henry i'r Gymraeg. Gan i'r argraffydd, Mr. John Williams, fethu yn ei fasnach ar ol iddo argraffu ychydig rifynau, prynodd Mr. Griffiths ei swyddfa, ac aeth a'r gwaith rhagddo fel cyfieithydd ac argraffydd nes ei orphen yn llwyddianus. Nid oes neb a all ddirnad mawredd ei lafur tra y bu yn dwyn y gwaith mawr hwn allan. Byddai yn cyfieithu ddydd a nos am bythefnos, yna elai allan ar hyd y wlad am bythefnos arall i gasglu enwau at y gwaith a thâl am dano. Felly y bu yn gweithio yn ddiatal am flynyddau nes iddo fyned yn llwyddianus trwy orchwyl fuasai yn ddigon pwysig i lethu tri neu bedwar o ddynion llai llafurus a phenderfynol. Pan ymsefydlodd Mr. Griffiths yn Abertawy ymaelododd yn Ebenezer, ac yno y bu yn aelod ffyddlon a defnyddiol hyd derfyn ei oes. Byddai yn pregethu yn rhywle agos bob Sabboth, megis yn Maesyrhaf, Castellnedd, yr Alltwen, y Pantteg, Llansamlet, y Felindre, &c. Wedi gorphen cyfieithu Mathew Henry ni bu ei ysgrifell yn segur. Cyfieithodd ddarlithiau a phregethau Finney, Defodau Dwyreiniol Burder, Cristion Distaw Brooks, Arweinydd Aelod Eglwysig J. A. James, Dechreuad a chynydd crefydd yn yr enaid gan Doddridge, &c., &c. Rhwng cyfieithiadau a chyfansoddiadau gwreiddiol, cyhoeddodd o ddeugain i haner cant o lyfrau heblaw Esboniad Henry. Bu am y flwyddyn olaf o'i fywyd yn analluog i wneyd nemawr o ddim. Bore y Sabboth, Awst 31ain, 1873, cadwodd ddyledswydd deuluaidd, a chyn pen awr wedi hyny ehedodd ei ysbryd at ei Arglwydd. Claddwyd ef yn mynwent yr Ysgetty. Bydd enw Evan Griffiths, Abertawy, mewn cof a pharch tra y byddo y Gymraeg yn cael ei deall a'i darllen.

Y Coly. Yn hanes yr eglwys hon camgymerasom trwy ddyweyd mai ar dir y Coly y mae y capel. Ar dir Mr. Lewis Edwards, Bedlinog, y mae, ond nid ar ran o'r fferm a elwir y Coly. Mae Mr. Daniel Davies, y gweinidog a urddwyd yma yn 1870, wedi troi at y Bedyddwyr, ac nid oes neb wedi cael ei ddewis yma yn ei le.

Pontlottyn. Wedi i ni ysgrifenu hanes yr eglwys hon darfu cysylltiad Mr. T. Cunllo Griffiths a'r lle, ac y mae Mr. J. R. Williams, gynt o Benygroes, Penfro, wedi ymsefydlu yma er 1873.

Pontaberbargod. Mae yr eglwys ieuangc a chynyddol hon wedi adeiladu capel nodedig o hardd a chyfleus. Agorwyd ef yn mis Hydref, 1874, pryd y pregethwyd gan y Meistri T. L. Jones, Machen; R. Hughes, Cwmbran; E. Hughes, Penmain; J. Griffiths, Fochriw, a'r Dr. Rees, Abertawy.

Wedi i ni yn 1872 orphen ysgrifenu hanes yr eglwysi yn y sir hon, cafodd yr eglwysi canlynol, oll oddieithr un, eu ffurfio yma, ac y mae yn sicr y bydd gwaith i ryw hanesydd etto cyn pen ugain mlynedd ysgrifenu hanes

ugeiniau o eglwysi ychwanegol yn Morganwg, gan fod y boblogaeth yn cynyddu wrth y miloedd bob blwyddyn.

## PENARTH.

Diangodd hanes yr eglwys hon heb ei gofnodi gydag eglwysi sir Forganwg yn Cyf. II. Dechreuwyd pregethu yma yn 1845, yn nhy John Tyler, gan Mr. James Thomas, Tresimwn. Nid oedd ond wyth o dai yn y lle y pryd hwnw, ond parhaodd Mr. Thomas i bregethu o dy i dy hyd nes y caed ystafell i gyfarfod ynddi. Mae un engraifft a ddengys anwybodaeth y bobl yma pan ddechreuodd Mr. Thomas bregethu iddynt. Cafodd genad un prydnawn Sabboth i bregethu yn nhy un hen wraig, a thra yr oedd ef yn pregethu i'r ychydig a ddaeth yn nghyd, yr oedd merch neu forwyn yr hen wraig yn brysur mewn ystafell arall yn parotoi teisen i groesawu y pregethwr. Wedi cael y deisen yn barod, dyma y ferch i ystafell y bregeth, gan ddyweyd yn uchel, fel awgrym mae yn debyg i'r pregethwr i derfynu, "Mae y deisen yn barod." Bu y peth yn brofedigaeth fawr i'r pregethwr, ond nid yn gymaint i'r gwrandawyr, oblegid nid oedd eu gwareiddiad hwy fawr uwch nag eiddo y ferch. Aeth y lle ar gynydd mawr, adeiladwyd yma lawer o dai, y rhai yn fuan a lanwyd a dyeithriaid. Cymerwyd yma ystafell i addoli cydrhwng y Methodistiaid a'r Annibynwyr, ac yn 1863 codwyd yma gapel gan y Methodistiaid, ac aeth y gynnulleidfa gymysg iddo. Wedi bod yno ddwy flynedd penderfynodd John Evans, Richard Millward, a chwech eraill oeddynt yn Annibynwyr y gallasant wneyd mwy o ddaioni ar wahan, a chymerasant ystafell eang dan ardreth o 12p. yn y flwyddyn, a dechreuodd Mr. Thomas, Tresimwn, bregethu iddynt ynddi. Corpholwyd yma eglwys yn mis Mawrth, 1865, gan y Meistri J. Davies, a D. Jones, B.A., Caerdydd; W. Griffith, Llanharan, a J. Thomas, a gweinyddwyd swper yr Arglwydd ar y pryd. Cymerodd Mr. Thomas ofal yr eglwys, a bu yn dra llafurus a llwyddianus. Codwyd yma gapel cyfleus gwerth 300p., ac yr oedd y gweinidog a'r eglwys wedi casglu 100p. cyn dechreu adeiladu. Agorwyd y capel Hydref 3ydd a'r 4ydd, 1871, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri J. Thomas, Liverpool; H. Oliver, B.A., Casnewydd; J. M. Evans, Caerdydd; D. Thomas, Gwernllwyn; B. Davies, Glandwr, a W. Oliver, M.A., Aberhonddu. Aeth yr achos rhagddo yn rhagorol, ac nid oes ond ychydig ddyled yn aros. Rhoddodd Mr. Thomas ofal yr eglwys i fyny yn nechreu haf 1874, gan gyfyngu ei lafur i Carmel, Tresimwn.

## Y DYNFANT.

Mae yn dra sicr mai llygriad o'r gair Dyfnnant yw Dynfant. Mae y lle hwn tua haner y ffordd rhwng y Crwys a'r Ysgetty, ac o fewn pum' milldir i Abertawy. Rheda y *London* a'r *North Western Railway* o Abertawy i Landilo trwy y lle hwn. Yn 1872 adeiladwyd yma ysgoldy, neu gapel bychan, gan eglwys y Crwys, at gynal ysgol Sabbothol, cyfarfodydd gweddio, a phregethu achlysurol. Wrth weled y boblogaeth yn cynyddu yn gyflym gydag agoriad y gweithiau glo, penderfynwyd ffurfio eglwys yma, yr hyn a wnaed gan Mr. Jones, Crwys, Ionawr 11eg, 1874. Cafodd pedwar-ar-bymtheg o aelodau o'r Crwys ollyngdod i ddyfod yma, ac ymunodd rhai o aelodau yr Ysgetty, ac eglwysi eraill gyda hwynt, fel yr oedd-

ynt ar eu ffurfiad yn eglwys yn un-ar-ddeg-ar-hugain o aelodau, ac y mae naw eraill wedi cael eu hychwanegu atynt, fel y maent yn awr yn ddeugain o rif. Mae yma swyddogion doeth a gweithgar, a golwg lewyrchus iawn ar yr achos. Cafwyd y tir at adeiladu yr ysgoldy gan A. D. Berrington, Ysw. Cafodd y cyfeillion yma hefyd garedigrwydd wrth adeiladu eu haddoldy gan S. Padley, Ysw., o Abertawy, a chan berchenogion gwaith glo y Foelallt. Bydd yn rhaid cael addoldy helaethach yma yn ddioed.

## WAUNARLWYDD, (Saesonig).

Wrth weled fod yma gryn nifer o bobl yn anwybodus o'r Gymraeg, a rhai o honynt yn tueddu mwy at yr Annibynwyr nag un enwad arall, penderfynodd Mr. Bevan, gweinidog yr eglwys Gymreig, ddechreu achos Saesonig yn yr ysgoldy yn ymyl ei gapel. Bu ef ei hun, Mr. Jones, Crwys; Dr. Rees, a Mr. W. Lloyd, Abertawy, ac eraill, yn pregethu yma amryw weithiau i'r Saeson, ac wedi cael allan fod amryw o honynt, ddeuddeg neu bymtheg o nifer, yn dymuno cael eu ffurfio yn eglwys, gwnaed hyny gan Mr. Bevan a Mr. Williams, Canaan, yn haf y flwyddyn 1874. Mae yr achos bychan yn parhau i fyned rhagddo yn obeithiol, a bwriedir yn fuan adeiladu capel yma.

## ABERCYNFFYG.

Pentref poblog a chynyddol iawn o fewn tair milldir i'r gogledd-orllewin o Benybontarogwy yw Abercynffyg. Teimlid er's blynyddau fod yma angen mawr am gapel Annibynol, gan fod mwy na milldir o ffordd arw i fyned oddiyma i Frynmenyn. Wedi hir oedi ymosododd Mr. Morris, a'i eglwys yn Brynmenyn, ar y gwaith o adeiladu capel yma. Bu yr adeilad ar waith am yn agos ddwy flynedd, ond o'r diwedd gorphenwyd y gwaith, ac y mae yma un o'r capeli harddaf yn y sir, yn cynwys tua phedwar cant o eisteddleoedd. Mae Mr. Morris, trwy ei ymdrechion diatal, wedi casglu tua haner traul yr adeiladaeth eisioes. Rhagfyr 20fed a'r 21ain, 1874, cynaliwyd cyfarfodydd agoriadol y capel, pryd y pregethwyd gan y Meistri B. Williams, Canaan; M. C. Morris, Pentyrch; D. R. Davies, Abercwmboy; D. M. Jenkins, Treforis; D. Lewis, Dock, Llanelly, a Dr. Rees, Abertawy. Ychydig ddyddiau cyn agoriad y capel corpholodd Mr. Morris bump-ar-hugain o aelodau o'r eglwys yn Brynmenyn yn eglwys Annibynol yma. Mae pob sail i ddisgwyl y bydd yma achos blodeuog a chryf yn dra buan.

## CWMPARC.

Mae y lle hwn ar y tu deheuol i Gwmrhondda, ac yn agos i Dreorci. Yn 1872 cychwynwyd yma ysgol Sabbothol gan rai o aelodau yr eglwysi yn Nhreorci a'r Pentre a gyfaneddent yn yr ardal hon. Wrth weled yr ysgol a phoblogaeth yr ardal yn cynyddu yn gyflym penderfynwyd edrych allan am le i adeiladu addoldy bychan. Adeiladwyd yma dy o werth dau cant o bunau, ac agorwyd ef Mai 17eg a'r 18fed, 1874. A'r un amser ffurfiwyd yma eglwys o bump-ar-hugain o aelodau o Dreorci a deg o'r Pentre. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Meistri J. Rees, Treherbert; B. Davies, Treorci; L. Probert, Pentre; T. Llewelyn, Mountain Ash; D.

Evans, Cymmer, a T. George, Dinas. Enwau y diaconiaid yw Samuel Davies ac Evan Jones. Yn Medi, 1874, rhoddodd yr eglwys ieuangc alwad i Mr. J. G. Lewis, gynt o Bodringallt, i ddyfod yn weinidog iddi. Cynaliwyd cyfarfod ei sefydliad ar y dydd cyntaf o Dachwedd, a'r gweinidogion canlynol fuont yn gweinyddu ar yr achlysur:—B. Davies, Treorci; T. George, Dinas; J. Rees, Treherbert; W. Davies, Nantmoel, ac M. Jones, Tynewydd. Nifer yr aelodau yn awr (Ionawr 1875) yw pump-a-deugain, ac y mae yma arwyddion gobeithiol am gynydd mawr yn fuan. Mae haner dyled yr addoldy bychan wedi cael ei dalu, ac y mae yma son yn awr am gael addoldy eangach, a bydd yn rhaid ei gael yn ddioed.

## TREFORIS (Saesonig).

Yr oedd siarad er's blynyddau am ddechreu achos Saesonig yn y lle poblog hwn, ac yn wyneb cynydd dirfawr y boblogaeth yn y tair blynedd diweddaf penderfynwyd fod yn rhaid ei gychwyn yn ddioed. Wedi i'r Cymry gael eu capel newydd yn barod a myned iddo, penderfynwyd cynal gwasanaeth Saesonig yn yr hen gapel, yr hwn mewn gwirionedd sydd yn gapel newydd prydferth, oblegid yn 1857 yr adeiladwyd ef yn ei ffurf bresenol. Ar y Sabboth, Mai 18fed, 1873, cynaliwyd y gwasanaeth Saesonig cyntaf yma, pryd y pregethwyd gan Mr. W. E. Jones, gweinidog yr eglwys Gymreig. Cafwyd anogaeth gref i gychwyn y mudiad gan yr haelionus Richard Hughes, Ysw., Ynystawy, yr hwn a addawodd dalu treuliau y pregethwyr a ddeuent yma ar y Sabbothau i bregethu i'r Saeson, neu i bregethu i'r Cymry yn lle Mr. Jones, pan y buasai ef yn pregethu i'r Saeson. Dylid nodi fod Mr. Jones yn wastad yn rhoddi ei wasanaeth yn rhad i'r Saeson. Wedi parhau i bregethu yma am saith mis a chasglu cynnulleidfa dda o wrandawyr cyson i ddyfod i'r lle, penderfynwyd ffurfio eglwys, yr hyn a wnaed Ionawr 4ydd, 1874. Ar yr un pryd penderfynwyd cael pregeth ar un noswaith o bob wythnos yn gystal ag ar y Sabboth. Mr. Jones fu yn pregethu y bregeth ar yr wythnos, ac hefyd ar y Sabbothau bob amser pryd nas gallesid cael pregethwr dyeithr i wneyd hyny, nes i weinidog ymsefydlu yma. Yn gynar yn y flwyddyn 1874 gwahoddwyd Mr. D. M. Jenkins, Penmaenmawr, yma am Sabboth, ac wedi ei glywed penderfynwyd yn unfrydol i roddi galwad iddo. Gan nad oedd yr eglwys Saesonig etto yn alluog i addaw cyflog digonol iddo darfu amryw foneddigion haelionus yn Nhreforis ac Abertawy addaw o bump i ddeg punt yr un yn y flwyddyn i'w cynorthwyo nes y byddont yn alluog i wneyd [illegible] ychwanegol. Dechreuodd Mr. Jenkins ei weinidogaeth yma y Sabboth diweddaf o Fai, 1874, ac y mae yr achos yn myned rhagddo yn hyfryd o dan ei ofal. Gosodwyd allan rai canoedd o bunnau yn ddiweddar ar gyfaddasu y capel at wasanaeth y gynnulleidfa Saesonig, a chafodd ei drosglwyddo gan yr eglwys Gymreig i'r eglwys Saesonig am lawer llai na haner ei werth. Yn y modd hwn y cychwynwyd yma eglwys Saesonig, yr hon, wrth bob argoel, a fydd mewn ychydig flynyddau yn un o'r eglwysi cryfaf yn y sir.

## SARON, TREWILLIAM.

Saif y lle uchod tua milldir i'r de o Tonypandy, ac agos yr un pellder o'r Ddinas. Yn Ebrill, 1874, cafodd eglwys Tonypandy ddarn o dir

cyfleus er adeiladu capel arno, am yr ardreth o ddimai y llath dros 99 o flynyddoedd. Adeiladwyd ysgoldy helaeth ar ddarn o hono ar unwaith, ac agorwyd ef Awst 16eg a'r 17eg, 1874. Gweinyddwyd gan y Meistri W. B. Morgan, Maesteg; W. Rees, Glandwr; D. Evans, Cymmer, ac M. Jones, Tynewydd. Medi 6ed, gollyngwyd 45 o aelodau Tonypandy mewn heddwch er dechreu yr achos yn y lle. Pregethwyd yn bwrpasol ar yr achlysur gan Mr. T. George, Dinas, a chyhoeddodd Mr. D. Thomas, Tonypandy, yr ychydig enwau yn eglwys gyfan a rheolaidd. Gweinyddwyd yr ordinhad o swper yr Arglwydd, a dygwyd yr elfenau o amgylch gan W. Jones a G. Jones, diaconiaid yn y fam-eglwys. Neillduwyd T. John, D. Edwards, ac H. Davies yn ddiaconiaid i'r eglwys. Erbyn hyn y mae amryw wedi ymuno a'r eglwys trwy lythyrau, a llawer wedi eu derbyn o'r byd—fel y mae yn rhifo tua 60. Dyma yr addoldy cyntaf a gyfodwyd yn yr ardal hon. Yr oedd yr ysgol Sul y tro cyntaf yn rhifo 116. Mae gan y bobl galon i weithio a phob arwyddion yn bresenol yr a y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref.

## PENYBONTAROGWY (Saesonig).

Yn 1873 adeiladwyd capel haiarn a choed at wasanaeth y Saeson yn y lle hwn. Costiodd 400p., a chynwysa le i ddau gant. Agorwyd ef Sabboth a Llun, Tachwedd 23ain a'r 24ain, 1873, pryd y gweinyddwyd gan y Meistri J. Morris, Aberhonddu; T. Jones, Abertawy; J. Davies, Caerdydd; H. Oliver, B.A., Casnewydd, a J. B. Jones, B.A., Penybont. Y nos Iau blaenorol ffurfiwyd eglwys ynddo o ddeg o aelodau yr eglwys Gymreig, un a ddaeth trwy lythyr, a dau o'r newydd. Cyn pen blwyddyn rhoddwyd galwad i Mr. J. P. Jones, Drefnewydd, sir Drefaldwyn, a chynaliwyd cyfarfodydd ei sefydliad Tachwedd 3ydd a'r 4ydd, 1874, ac y mae argoelion ffafriol y bydd yn dra defnyddiol yma. Mae ieuengctyd y lle yn colli eu Cymraeg yn gyflym, heblaw fod llawer o Saeson yn ymsefydlu yma.

## SIR FON.

Mae ychydig gyfnewidiadau wedi cymeryd lle yn eglwysi y sir hon er yr ysgrifenasom eu hanes.

Rhosymeirch. Yn 1872 derbyniodd Mr. J. R. Davies alwad o New Tredegar, sir Fynwy, a symudodd yno; ac er hyny ni bu yma yr un gweinidog sefydlog; ond y mae yn awr mewn cysylltiad a'r eglwys yn Bodffordd, newydd roddi galwad i Mr. Ellis Lewis, pregethwr ieuangc o Ddrwsycoed, a bwriedir ei urddo yn fuan. Yr ydym wedi rhoddi y wybodaeth ychwanegol a gawsom am David Williams a fu yn weinidog yma yn nglyn a hanes Bailihalog, Cyf. IV., tudalen 347.

Capel Mawr. Yn haf 1874 ymadawodd Mr. D. Rees oddiyma i fyned yn weinidog i Bethania, Dowlais. Cafodd yr eglwys yma golled fawr hefyd yn marwolaeth John Thomas, Prys Iorwerth, yr hwn am dymor maith a fu yma yn aelod a diacon ffyddlon, a'i dy yn wastad yn gartref i'r pregethwyr a ddeuai heibio.

### COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

David James. Ganwyd ef Rhagfyr 16eg, 1795, mewn lle a elwir Pantgwyn, yn mhlwyf Trewyddel, sir Benfro. Derbyniwyd ef yn aelod pan

yn ieuangc, a phan yn 23 oed cymhellwyd ef i ddechreu pregethu. Aeth i athrofa Neuaddlwyd lle y bu dros rai blynyddoedd. Daeth ar daith i'r Gogledd gyda'i gyfaill Mr. Llewelyn Samuel, a derbyniodd alwad o Rhosymeirch, Capel Mawr, a Bodffordd, ac urddwyd ef Ebrill 24ain, 1823. Llafuriodd yn ddiwyd yn ei gylch eang hyd y flwyddyn 1867, pryd y cafodd ergyd o'r parlys nes ei lwyr analluogi i gyflawni ei weinidogaeth. Derbyniwyd ef ar Drysorfa yr Hen Weinidogion, a rhoddodd ofal yr eglwysi i fyny. Yr oedd Mr. James yn ddyn synwyrol a gwybodus, yn dra deallgar mewn amgylchiadau cyffredin, yn bregethwr cryf a sylweddol, er nad yn ddeniadol yn ei ddull a'i ddawn. Dyoddefodd ei gystudd yn amyneddgar am saith mlynedd, a bu farw Hydref 14eg, 1874, yn 79 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Capel Mawr.

BEAUMARIS. Yn fuan wedi sefydliad Mr. Rowlands yma dechreuwyd adeiladu capel newydd hardd. Prynwyd y tai oedd yn nglyn a'r hen gapel, er mwyn cael ei *front* i le mwy agored, a chodwyd capel tlws lle yr eistedda mwy na 500, trwy draul o 1200p., ac o'r swm yna casglwyd o gylch 300p. erbyn cyfarfodydd yr agoriad Nadolig, 1873. Mae y gynnulleidfa wedi cynyddu yn fawr yn y capel newydd, a'r achos yn mhob modd wedi adnewyddu.

PENTRAETH. Mae yr eglwys yma a'r Talwrn yn wag yn awr trwy ymadawiad Mr. B. M. Hughes i Rosymedre, sir Ddinbych.

AMLWCH. Yn nechreu haf 1874 derbyniodd Mr. Thomas Evans, Bettwsycoed, alwad yr eglwys hon, ac ymsefydlodd yma, ac y mae yn llafurio yn ddyfal yn y lle.

LLANDDEUSANT. Yn niwedd 1874 symudodd Mr. T. Roberts oddiyma i'r Wyddgrug, ac er hyny y mae yr eglwys hon a'r eglwysi yn Llanfachreth a Siloh heb weinidog.

CEMAES. Yn haf 1873 derbyniodd Mr. H. Jones alwad o Oliver Street, Birkenhead, a symudodd yno. Wedi bod flwyddyn heb weinidog rhoddodd yr eglwys hon a'r eglwys yn Llanfechell alwad i Mr. William Parry, Colwyn, ac y mae yn llafurio yma gyda chymeradwyaeth.

SEION. Wedi ymadawiad Mr. H. Jones i Birkenhead, unodd yr eglwys hon a'r eglwys yn Saron i roddi galwad i Mr. Robert Smith, myfyriwr o athrofa y Bala, ac urddwyd ef Ionawr 27ain, 1874, ac y mae yn cychwyn ei weinidogaeth yn addawol iawn.

CANA, LLANDDANIEL. Mae yr eglwys hon a'r eglwys yn Llanfair, yn cael eu gadael yn amddifad o weinidog trwy ymadawiad Mr. J. C. Evans i gymeryd gofal y Gilfachgoch, yn sir Forganwg.

Nid ydym yn gwybod am ychwaneg o gyfnewidiadau yn nglyn ag eglwysi y sir hon.

## SIR BENFRO.

TREFGARN. Rhoddwyd galwad i Mr. James Howell, ŵyr i'r hen weinidog Mr. Benjamin Griffith, ac urddwyd ef Gorphenaf 29ain, 1874, ac y mae yn dechreu ei weinidogaeth yn serchiadau pobl ei ofal.

BEREA. Derbyniodd Mr. D. Johns alwad o Pwllheli, sir Gaernarfon, a dechreuodd ei weinidogaeth yno yn mis Mai, 1874. Yr ydym yn deall fod yr eglwysi yn Berea a Rehoboth wedi rhoddi galwad i Mr. William Lewis, yr hwn sydd newydd ddychwelyd i'r wlad hon o America.

Abergwaun. Yn niwedd haf 1874 derbyniodd Mr. John Davies alwad o Talybont, sir Aberteifi, a symudodd yno, ac er hyny nid oes yr un gweinidog sefydlog yma. Wedi i ni ysgrifenu hanes yr eglwysi hyn bu farw yr hybarch Mr. Davies, Rhosycaerau, a rhoddwn yma grybwylliad byr am dano.

COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

William Davies. Ganwyd y gweinidog defnyddiol hwn yn y flwyddyn 1785 yn yr ardal lle y treuliodd ei holl oes hirfaith. Ymunodd a'r eglwys yn Rhosycaerau pan yn ieuangc iawn, ac yn hir cyn ei fod yn ugain oed dechreuodd bregethu. Wedi bod am yspaid dan addysg Mr. W. Griffiths, Glandwr, a Mr. T. Harries, Penfro, urddwyd ef pan yr oedd yn un-ar-hugain oed, yn weinidog cynnorthwyol yn ei fam-eglwys. Cymerodd ei urddiad le Tachwedd 6ed, 1806. Bu yn llafurus iawn gartref, ac mewn gwahanol ranau o'r parth Saesonig o sir Benfro, fel y gwelir yn hanes amryw o'r eglwysi yn y parth hwnw. Yn hanes yr eglwysi yn Rhosycaerau, Abergwaun, a Rehoboth, gwelir hefyd ei fod ef yn weithiwr difefl. Yr oedd er's blynyddau bellach gan lesgedd henaint wedi ei analluogi i bregethu, ac er's amser wedi ei gyfyngu yn hollol i'w ystafell a'i wely. Ond yr oedd ei ysbryd gymaint yn ngwaith mawr ei fywyd fel y dywedir ei fod hyd o fewn ychydig ddyddiau i'w farwolaeth yn parhau i gyfansoddi pregethau. Bu farw yn yr Arglwydd Ionawr 4ydd, 1875, yn 90 oed. Claddwyd ef yn barchus yn mynwent Rhosycaerau.

Mr. Davies, er marwolaeth Mr. Williams, Troedrhiwdalar, oedd y gweinidog Ymneillduol henaf yn y Dywysogaeth. Yr oedd yn nyddiau ei nerth yn bregethwr blasus, llafurus, a derbyniol iawn, er na chyfrifid ef yn y rhes flaenaf o gawri y pulpud Cymreig. Yr oedd ei gymeriad moesol trwy ei holl oes yn mhob ystyr yn deilwng o'i swydd oruchel, a phawb o'i gydnabod yn edrych arno fel "gwr Duw." Tachwedd 5ed, 1856, cyflwynwyd iddo dysteb anrhydeddus ar ben yr haner canfed flwyddyn o'i weinidogaeth. Yr oedd y rhoddion a dderbyniodd o wahanol fanau, a'r pethau a ddywedwyd yn nghyfarfod ei Jubili, yn dangos ei fod yn sefyll yn uchel iawn yn nghyfrif ei gymydogion a'i gydnabod o bob enwad crefyddol. Ac nid rhyfedd, oblegid pwy na allasai garu a pharchu dyn mor dduwiol, defnyddiol, boneddigaidd, a diddrwg a Davies, Rhosycaerau? Mab iddo ef yw Mr. Thomas Davies, gweinidog yr eglwys Annibynol yn Wellington, sir Amwythig, a merch iddo yw Mrs. Bateman, gwraig ei ganlyniedydd yn y weinidogaeth yn Rhosycaerau.

Glandwr. Yn nechreu y flwyddyn 1873 rhoddwyd galwad i Mr. Owen Rhys Owen, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin, ac urddwyd ef Mai 21ain y flwyddyn hono, ac y mae yn parhau yma yn barchus a llwyddianus.

Solfach. Yn 1873 derbyniodd Mr. J. G. Thomas, Wern, Aberafon, wahoddiad yr eglwys hon, ac y mae yn parhau i lafurio yn gymeradwy yma.

Penygroes. Derbyniodd Mr. J. N. Richards, Aberteifi, alwad yr eglwys hon, a dechreuodd ei weinidogaeth yma yn gynar yn 1873, ac y mae yn parhau i lafurio yma yn barchus iawn.

Antioch. Mae yma gapel newydd hardd wedi ei godi, gwerth oddeutu 500p., heb gyfrif y gwaith a wneir yn rhad a'r cludiad gan yr ardalwyr yr hyn a gyfrifir yn llawn 200p. Bwriedir ei agor tua diwedd mis Mai nesaf (1875).

Carfan. Camarweiniwyd ni am adeg adeiladiad y capel yn y lle hwn. Nid yn 1804 yr adeiladwyd ef fel y dywedir yn Cyf. III., tudalen 95. Anfonwyd a ganlyn i ni gan Mr. Thomas Whitland, yr hyn a gopiwyd ganddo o lyfr eglwys Henllan, "Carvan Meeting House was built in the year 1797. For the first time the Lord's supper was administered in it June 3rd, 1798."

Narberth. Bu raid i Mr. D. Evans, o herwydd gwaeledd ei iechyd, roddi yr eglwys hon i fyny, a chyn diwedd 1874 rhoddwyd galwad i Mr. W. Alonzo Griffith, o Lundain, ac y mae wedi dechreu ar ei weinidogaeth yn y lle.

Llandilo. Wedi marwolaeth Mr. B. James, Awst 17eg, 1872, rhoddodd yr eglwys hon mewn cysylltiad a'r Tabernacl, Maenclochog, alwad i Mr. William C. Jones, myfyriwr o athrofa Aberhonddu, ac urddwyd ef Awst 18fed a'r 19eg, 1873, ac y mae yn debyg o fod yn ddefnyddiol yma.

COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Benjamin James. Ganwyd ef yn mhlwyf Llangan, yn sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1797. Derbyniwyd ef yn ieuangc yn aelod o'r eglwys yn Henllan, ac yn mhen amser anogwyd ef i ddechreu pregethu. Bu am rai blynyddoedd yn athrofa Neuaddlwyd, ac yna dychwelodd i gadw ysgol yn Llandilo, ac i bregethu yn gynorthwyol i'w weinidog, Mr. Lloyd, Henllan. Wedi llafurio yn gymeradwy am flynyddoedd yn yr ardal, rhoddodd yr eglwys yn Llandilo, ar gymhelliad Mr. Lloyd, yr hwn hyd hyny oedd ei gweinidog, alwad iddo; ac urddwyd ef yn y flwyddyn 1837. Parhaodd i weinidogaethu yn Llandilo, ac i'r eglwys yn y Tabernacl, Maenclochog, hyd ei farwolaeth. Yr oedd Mr. James yn ddyn da, o dymer lariaidd, yn bregethwr difrifol, ac yn cael ei fawr hoffi gan bawb. Ni bu erioed yn briod, ond er nad oedd gwraig na phlant i alaru ar ei ol, teimlai yr ardaloedd oll chwithdod mawr o'i golli. Cafodd ergyd o'r parlys, a bu farw Awst 17eg, 1873, yn 76 oed.

Penfro. Gwelir yn hanes yr eglwys hon gofnodiad byr am Thomas Davies, ond gwelwn ein bod wedi ei roddi hefyd trwy anghof yn nglyn a'r eglwys yn nghapel Albany, Hwlffordd.

Pembroke Dock. (Albion Square). Mae Dr. Davies wedi derbyn galwad o eglwys Saesonig York Road, Llundain, ac wedi ymsefydlu yno, fel y mae yr eglwys hon ar hyn o bryd heb weinidog.

Pembroke Dock. (Meyrick Street). Nid oes genym ddim i'w ychwanegu am hanes yr eglwys hon, ond yn unig fod Mr. J. Williams, gweinidog cyntaf yr eglwys wedi myned i'w orphwysfa.

COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Josephus Williams. Ganwyd ef Rhagfyr 11eg, 1797, yn Mhenyrallt, Llanboidy, sir Gaerfyrddin. Derbyniodd addysg dda yn fachgen, ac wedi ei dderbyn yn aelod yn Henllan, a dechreu pregethu, aeth i'r ysgol i Narberth, lle yr arosodd ddwy flynedd. Aeth oddiyno i'r athrofa, y pryd hwnw yn Llanfyllin, ac yr oedd yn un o'r myfyrwyr a symudodd gyda Dr. Lewis i'r Drefnewydd ar sefydliad yr athrofa yno. Gwnaeth gynydd mawr mewn dysgeidiaeth, fel yr ennillodd barch pawb o'i gylch. Bu bedair blynedd ar ol gadael yr athrofa heb ei urddo, ac yn yr yspaid hwnw

bu yn gweinyddu i'r eglwysi yn Malpas, swydd Gaerlleon; Tabernacl, Hwlffordd, a Creaton, yn swydd Northampton, ac yno yr urddwyd ef yn 1827. Wedi llafurio yno am ddeuddeng mlynedd symudodd, oblegid gwendid ei iechyd, ac am rai blynyddau bu yn symud o le i le er adnewyddiad nerth, a phregethai pan y gallai. Yn 1842 derbyniodd alwad o'r Tabernacl, Pembroke Dock, ac ar ol llafurio yno am wyth mlynedd aeth allan gyda 50 o aelodau a chychwynodd yr achos sydd yn awr yn Meyrick Street, ac wedi llafurio yn ddiwyd yno am bedair-blynedd-ar-ddeg, gorfu iddo yn 1864, o herwydd gwaeledd iechyd, roddi i fyny ei ofal gweinidogaethol, ond parhaodd i bregethu yn achlysurol tra y daliodd ei nerth. Bu farw Mawrth 11eg, 1874, yn 77 oed. Yr oedd Mr. Williams yn ddyn hardd, yn ddwy lath o daldra, a'i olwg yn dra urddasol. Darllenodd lawer iawn o weithiau awdwyr hen a diweddar ar bob cangen o wybodaeth; ac yr oedd yn ysgolhaig rhagorol. Nid oedd yn ddoniol fel pregethwr, ond yr oedd ei bregethau yn llawn cyfoeth, ac yntau yn wastad yn ddifrifol yn eu traddodi. Pery ei enw yn barchus gan bawb a'i hadwaenai.

Llwynyrhwrdd. Mae yma gapel newydd hardd yn cael ei adeiladu er pan ysgrifenasom hanes yr eglwys. Bu farw Mr. John Jones, Llwynyrhwrdd, mab yr hybarch Morgan Jones, Trelech, yr hwn oedd ŵr da a ffyddlon, ac a fu yn ddiacon gofalus yn yr eglwys hon am lawer o flynyddoedd.

## SIR GAERNARFON.

Pwllheli. Yn nechreu 1874 rhoddwyd galwad i Mr. David Johns, Berea, sir Benfro, yr hwn a ddechreuodd ei weinidogaeth yma yn mis Mai, ac y mae yn argoeli bod yn ddefnyddiol yn yr eglwys hynafol hon.

Bwlchtocyn. Crybwyllasom yn hanes yr eglwys hon fod ei gweinidog, Mr. H. T. Parry, oblegid gwaeledd ei iechyd, yn analluog i fod yn mysg ei bobl; ac wedi hir nychdod bu farw Mai 25ain, 1873. Yn gynar yn 1874 rhoddodd yr eglwys hon a'r eglwys yn Abersoch alwad i Mr. Richard Hughes, Ebenezer, Pontypool, ac y mae yn llafurio yma gyda mesur o lwyddiant.

### COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

Hugh Thomas Parry. Ganwyd ef Mehefin 7fed, 1836, mewn lle a elwir Cerygengan, yn mhlwyf Aberffraw, Mon. Breintiwyd ef a rhieni crefyddol, a phan yn dra ieuangc derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Gwalchmai, lle yr oedd ei dad yn ddiacon. Cyn ei fod yn 14eg oed, anfonwyd ef i'r ysgol i Gaergybi, a chafodd dysgeidiaeth a chrefyddolder Mr. Griffith ddylanwad mawr arno. Yn 1859 anogwyd ef gan ei fam-eglwys i ddechreu pregethu, ac yn yr un flwyddyn derbyniwyd ef i athrofa y Bala; ond ni oddefodd ei iechyd iddo aros yno ond am ychydig. Pregethai bob amser pan y gallai, ac yn raddol cryfhaodd ei iechyd fel y derbyniodd alwad gan yr eglwysi yn Bwlchtocyn ac Abersoch, ac urddwyd ef Hydref 5ed, 1865. Ymroddodd yn ddiwyd i gyflawni ei weinidogaeth. Yr oedd yn ddyn ieuangc nodedig o grefyddol, hollol gydwybodol yn mhob peth, ac ni fynai wneyd dim i ddolurio teimlad neb nac i waradwyddo crefydd. Teimlai serch cryf at bobl ei ofal, ac yr oedd yntau yn anwyl ganddynt hwythau. Yn 1872 gwaelodd ei iechyd i'r fath raddau fel y

bu raid iddo ddychwelyd at ei deulu i Fon, ac wedi dihoeni am fisoedd bu farw yn hyderus Mai 25ain, 1873, yn 37 oed, a chladdwyd ef yn mynwent Capel Mawr, lle y daeth torf fawr yn nghyd ar ddydd ei arwyl i dalu parch i'w goffadwriaeth.

CHWILOG. Wedi ymadawiad Mr. Richards bu yr eglwys hon heb weinidog hyd 1874, pryd yr ymunodd ag Abererch i roddi galwad i Mr. Robert Roberts, Henryd, ac y mae yn parhau yma yn ddefnyddiol a pharchus.

LLANAELHAIARN. Mae yma gapel newydd hardd wedi ei adeiladu, ac agorwyd ef yn mis Medi 1874. Llwyddwyd trwy ymdrechion Mr. J. H. Jones, Aberdyfi, i gael yma dir cyfleus i godi y capel arno, a gellir disgwyl wrth wedd gynyddol yr ardal y bydd yma cyn hir eglwys gref, a chynnulleidfa luosog.

PORTHMADOG. Ysgrifenwyd y rhan fwyaf o hanes yr eglwys hon gan Mr. Ambrose ei hun, yr hwn erbyn hyn sydd wedi myned i'w orphwysfa. Wedi cystudd trwm a chwerw bu farw Hydref 31ain, 1873, yn 60 oed. Yn fuan wedi ei farwolaeth rhoddwyd galwad i Mr. Lewis Probert, Pentre, Cwmrhondda, sir Forganwg, ac wedi hir ystyriaeth cydsyniodd Mr. Probert a'r gwahoddiad. Dechreuodd ei weinidogaeth yma yn niwedd haf 1874, a chadwyd cyfarfodydd ei sefydliad Hydref 5ed a'r 6ed; ac y mae arwyddion ffafriol y bydd yn dra defnyddiol a dylanwadol yn y lle.

## COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

WILLIAM AMBROSE. Ganwyd ef yn ninas Bangor, Awst 1af, 1813. Pan nad oedd ef ond blwydd oed aeth ei rieni i gadw gwesty y Penrhyn Arms. Yr oeddynt yn bobl gyfrifol a pharchus, a'i fam yn enwedig, yn wraig o ddeall cryf, o ewyllys benderfynol, ac o deimlad crefyddol dwfn. Gan eu bod mewn amgylchiadau bydol cysurus, ac nad oedd ganddynt ond un plentyn, rhoddasant iddo addysg ysgolion goreu ei ddinas enedigol, a bu am yspaid ar ol hyny dan addysg gyda Mr. Griffith yn Nghaergybi; a'r pryd hwnw dyfnhawyd yr argraffiadau crefyddol oedd eisioes wedi eu gwneyd ar ei feddwl. Pan yn bymtheg oed aeth i Liverpool yn egwyddorwas mewn masnachdy, a chyrchai yn rheolaidd ar y Sabboth i'r Tabernacl, Great Crosshall Street, i wrando Mr. Breese; ac eisteddai bob amser yn set y cantorion, oblegid yr oedd ynddo duedd gref at ganu, ac yr oedd ei chwaeth yn bur, a'i lais yn beraidd. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yn y Tabernacl, Gorphenaf 8fed, 1830. Cadwodd ei gymeriad yn loyw yn nghanol profedigaethau y dref, ac ennillai barch pawb yn yr eglwys; ac er mai ychydig a ymwnai a dyledswyddau cyhoeddus crefydd, oblegid ei anallu i fyned i'r moddion wythnosol, etto yr oedd amryw o'r dynion craffaf wedi canfod ynddo elfenau oedd yn y dyfodol i ymddadblygu i fawredd. Bu son am ei anog i ddechreu pregethu, ond ar y pryd hwnw, tua diwedd 1834, yr oedd Mr. Breese yn parotoi i symud i Gaerfyrddin, ac o gylch yr un adeg symudodd Mr. Ambrose i Lundain, ac ymunodd a'r eglwys yn y Boro', ac yn fuan wedi ei sefydliad yno anogwyd ef i ddechreu pregethu. Ennillai ei olwg foneddigaidd—ei bregethau coeth—a'i lais tyner sylw a serch pawb a'i gwrandawent; a phregethodd lawer i'r gwahanol enwadau yn y brif ddinas. Yn niwedd haf 1836 ymadawodd a Llundain gyda'r bwriad i ymsefydlu mewn masnach ar ei gyfrifoldeb ei hun yn Liverpool, lle yr oedd ganddo lawer o gyfeillion, ac aeth i Fangor ar ymweliad a'i rieni. Cymhellwyd ef i fyned ar dipyn o daith gyda Mr.

Caledfryn Williams trwy Leyn ac Eifionydd, ac yn y daith hono newidiwyd holl gynlluniau ei fywyd, a phrofwyd yn bur eglur "nad eiddo gwr ei ffordd." Yr oedd gan yr Arglwydd rywbeth uwch a phwysicach iddo i'w wneyd na gwerthu nwyddau cyffredin mewn maelfa, gan y gallasai talent llawer is-raddol i'w eiddo ef wneyd y tro yn llawn cystal i hyny. Nid ydym am fyned dros yr amgylchiadau a'i harweiniodd i Borthmadog, gan ein bod eisioes wedi rhoddi hyny yn helaeth yn hanes yr eglwys; ac ni raid i ni etto gyfeirio at ei lafur a'i lwyddiant anghydmarol yno. Digon yw dyweyd iddo ddechreu ei lafur yn Mhorthmadog yn niwedd 1836—iddo gael ei urddo yno Rhagfyr 7fed, 1837—ac i'w ddefnyddioldeb, ei barch, a'i ddylanwad gynyddu yno hyd derfyn ei lafur yn y lle yn mhen yn agos i 37 mlynedd. Priododd Gorphenaf 21ain, a Mrs Pierce, gweddw ieuangc, a bu yr undeb yn un nodedig o hapus, a gadawodd hi ar ei ol mewn unigedd i alaru ei cholled. Codwyd ef i amgylchiadau bydol uwchlaw y mwyafrif o weinidogion yr efengyl, yr hyn a fu yn help mawr i'w ddylanwad; ond ni bu hyny erioed yn fagl i beri iddo ymfwytho mewn segurdod a diogi, ac esgeuluso ei ddyledswyddau gartref nac oddicartref. Cafodd iechyd da ar y cyfan trwy ei oes. Er iddo deithio llawer, a bod allan ar bob math o dywydd, a lletya yn mhob math o leoedd, etto yr oedd ei iechyd yn dda hyd nes yn nechreu 1871 y cafodd ergyd o'r parlys yr hon a ysigodd ei holl natur. Wedi mwy na chwe mis o orphwys, adferwyd ef i fesur, ond nid i fod fel o'r blaen, a theimlai ei hun nad oedd bob dydd ond yn disgwyl ergyd arall. Daeth hono gyda nerth mawr nos Sabboth, Ebrill 27ain, 1873, ar ol iddo bregethu ddwywaith yn gryfach nag y clywsid ef er's blynyddau, a gweinyddu yr ordinhad o swper yr Arglwydd yr hwyr. Cymerwyd ef i'w dy, ac ni ddaeth allan o hono mwy nes y dygwyd ef allan i'w gymeryd i dy ei hir gartref. Collodd bob ymwybyddiaeth, ac am fisoedd olaf ei fywyd seliwyd ei enau fel na allai lefaru; ond cafodd lwyr ollyngdod Hydref 31ain, 1873, yn 60 oed. Claddwyd ef yn ol ei ddymuniad yn mynwent Capel Helyg, ac ni welwyd y cyffelyb angladd yn Eifionydd yn nghof y genhedlaeth bresenol; a hawdd oedd deall wrth y teimlad dwfn a hiraethlawn a amlygid gan bawb, fod un o gedrwydd mynydd Duw wedi syrthio.

Ni chaniata ein terfynau i ni gymeryd golwg eang ar neillduolion ei gymeriad, a diangenrhaid yw i ni wneyd hyny gan fod Cofiant helaeth iddo yn cael ei ddwyn allan; ond nis gallwn ymatal heb dalu ein teyrnged i un o'r gweinidogion mwyaf gwerthfawr a welodd ein gwlad erioed. Anaml y gwelwyd neb yn feistr mewn cynifer o wahanol ganghenau, ac yn y cwbl wedi dringo mor agos at berffeithrwydd. Yr oedd llawer iawn o bethau o'i gylch oedd yn help i'w ddylanwad a'i ddefnyddioldeb. Nid yn fynych y gwelid neb o ymddangosiad boneddigeiddiach—corph tal lluniaidd, mewn gwedd dda, heb fod yn dew a chorphol fel ag i fod mewn un modd yn boenus iddo ei hun nac i neb arall. Safai yn unionsyth, ac yr oedd rhyw fawreddigrwydd yn ei bresenoldeb. Yr oedd o ddeall cyflym, wedi cael addysg gyflawn, yn sylwedydd craff, ac yr oedd wyth mlynedd mewn masnachdai yn Liverpool a Llundain wedi ei gymhwyso yn fawr i ymwneyd a phob math o ddynion. Yr oedd yn fardd coeth—yn llenor galluog—yn weinidog gofalus—ac yn bregethwr o radd uchel. Ond teithi ei feddwl oeddynt ei brif ragoriaethau. Nis gwelsom neb a'r bardd a'r athronydd yn cyfarfod ynddo gyda'r fath gydbwysedd. Yr oedd yn wir fardd. Ychydig iawn o drwst a wnai yn nghylch hyny hefyd. Gallesid

bod yn ei bresenoldeb am ddyddiau heb wybod ei fod yn fardd, os na ddeallesid oddiwrth y farddoniaeth fyw oedd yn dyfod oddiwrtho yn yr hyn a ddywedai. Ond ni byddai byth yn blino neb a'i englynion, nac yn eu gorfodi i wrando arno yn darllen ei gyfansoddiadau; yr oedd ef yn llawer rhy ddeallgar i feichio neb felly. Yr oedd ei farddoniaeth yn goeth a thyner; ac heb dwrf na thrwst cyffyrddai a holl linynau y galon. Ni byddai byth yn gadael ei awen fel march porthianus i garlamu yn ddireol i ddiffaethwch gwag erchyll dychmygion gwylltion; ond cadwai ffrwyn yn ei phen, a gorfodai hi i ymddwyn yn deilwng o genedl wareiddiedig. Mae barddoniaeth wyllt, ramantus, chwyddedig, drystiog, eithafol, yn burion i genedl farbaraidd; ond rhaid i bobl ddiwylliedig gael, hyd yn nod barddoniaeth, o fewn terfynau rheswm a chymedroldeb. Ceir hyny yn hollol yn nghyfansoddiadau Mr. Ambrose—natur yn siarad yw ei farddoniaeth ef. Mae dychymyg cryf y bardd dan lywodraeth barn bwyllog yr athronydd.

Yr oedd yn llawn mor alluog fel llenor ag ydoedd fel bardd. Bu am fwy nag ugain mlynedd a rhan uniongyrchol yn ngolygiaeth y *Dysgedydd*, ac yr oedd cymhwysder neillduol ynddo i'r fath swydd. Medrai ysgrifenu llawer, ar wahanol faterion, mewn gwahanol arddulliau, ac ysgrifenu y cwbl yn eglur a gloyw, ac yn aml gyda min a gyrhaeddai i'r asgwrn. Mae "Adgofion fy ngweinidogaeth," a llawer o bethau eraill a ysgrifenodd, yn sefyll mor uchel fel darnau llenorol a dim erioed a gyhoeddwyd yn ein hiaith, heblaw fod y duedd ymarferol oreu i'r cwbl. Ni byddai byth yn colli y min wrth ysgrifenu, ac ni byddai byth yn gorweithio ei gymeriadau nes peri iddynt ymddangos yn wrthun. Dichon mai purdeb ei chwaeth oedd yr elfen gryfaf ynddo. Gwelai wrthuni ar unwaith, ac yr oedd yn annyoddefol ganddo—pa un bynag ai mewn syniad, cydmariaeth, iaith, llais, neu ystum y deuai i'r golwg. Pan y merwinid ei glust wrth wrando, gan rywbeth a dybiai efe yn drosedd yn erbyn chwaeth bur, cauai ei lygaid, ac ymddangosai fel pe buasai o dan ysgydwad y peiriant trydanol. Yr oedd yn nodedig o gywir yn ei farn am bethau a phersonau; ac anaml y camgymerai yn y farn gyntaf a ffurfiai. Pan yr ewyllysiai ddefnyddio ei *sarcasm*, yr hyn a wnai yn aml, medrai ddyweyd ymadroddion a ddisgynent fel tân, a hyny yn hollol foneddigaidd; a buom yn meddwl lawer gwaith fod hyny mor naturiol iddo fel y teimlai yn anhawdd ymatal, pan y dywedai ei farn wrtho mai hyny fuasai oreu. Yr oedd gweled dynion trystfawr, chwyddedig, opiniyngar, neu ddynion a dybiai yn aflonydd ac anhywaeth, yn peri iddo yn y fan i barotoi at fwrw tân arnynt; ond os gwelai ddynion da mewn cyfyngder, neu achos gwan mewn angen help nid oedd neb yn fwy parod i gynorthwyo.

Ond fel pregethwr a gweinidog y bu o fwyaf o wasanaeth i'w oes wedi y cwbl; ac i hyny yr ymgyflwynodd yn benaf. "Gweinidog da i Iesu Grist" ydoedd. Gwir ofalai am bobl ei ofal, ac nid am yr eglwys dan ei ofal uniongyrchol yn unig, ond yr oedd ei ofal dros yr holl eglwysi. Cafodd eglwysi Lleyn ac Eifionydd ef fel tad, ac os byddai rhyw gyfyngder yn rhywle, ato ef y rhedent. Elai yn gyfrifol am ddyledion eu capeli, ac yn aml cymerai ran o'r baich oddiar eu hysgwyddau. Er fod ganddo aelwyd glud, a gwely cynes gartref, etto er mwyn yr achos, llettyodd ganwaith mewn lleoedd digon cyffredin, ac yr oedd yn rhy foneddigaidd i gwyno beth bynag a osodid ger ei fron. Nid myned i mewn i lafur rhai eraill a wnaeth efe, a gadael yr achos yn is nac y cafodd, fel y ceir rhai engreifftiau gofidus

weithiau, hyd yn nod o ddynion talentog yn gwneyd; ond ymroddodd i helaethu terfynau yr achos, a chafodd foddlonrwydd nad aeth ei lafur yn ofer yn yr Arglwydd.

Yr oedd yn bregethwr gwir alluog. Ni byddai yn amcanu at bethau dwfn a thywyll er ffugio mawredd, nac yn dyweyd pethau cyffroadol, yn unig er mwyn cynyrchu effaith; oblegid yr oedd ei syniadau yn rhy uchel am amcan pregethu i wneyd hyny. Byddai ganddo ryw bwynt i bob pregeth, ac ni adawai ei wrandawyr un amser heb amcanu cyrhaedd eu cydwybodau. Medrai bregethu yn athrawiaethol, ond gyda'r ymarferol yr oedd ei hyfrydwch, a pha bryd bynag yr ymaflai mewn rhyw athrawiaeth dygai hi adref yn gymwysiadol at y galon. Byddai newydd-deb mawr yn ei destynau fel y cofid hwy, ac y cofid y mater a godai o honynt. Mae degau o'i destynau yn fyw etto yn nghof ei wrandawyr. "Y lleidr ar y groes," y "Gronyn gwenith," "Pentewyn wedi ei achub o'r tan," "Yr ysbryd aflan yn myned allan o ddyn," "Fel y byddo gwr, felly y bydd ei rym," "Dryllio yr iau o herwydd yr eneiniad," "Brawdmaeth Herod y Tetrach," a lluaws mawr o rai eraill. Un o'r troion mwyaf hapus y clywsom ef erioed oedd ar foreu dydd gwaith yn Llansilin, lle y digwyddasom gyfarfod yn ddamweiniol. Yr oedd ef ar un o'i deithiau dros y Feibl Gymdeithas. Nid oedd yno ond ychydig mewn cydmariaeth wedi dyfod yn nghyd; ond yr oedd yno ryw effeithiau anarferol. "Ysbryd cystuddiedig pwy a'i cyfyd?" oedd ei destyn. Nid awn i geisio darlunio yr oedfa, ond yr oedd yn un tra nodedig. Ymddangosai pawb yn gystuddiedig eu hysbryd wrth wrando y rhan gyntaf, ond daeth o'r diwedd a'r drefn i godi a meddyginiaethu y cystuddiedig o ysbryd nes sirioli pawb. Yr oedd ei lais tyner, esmwyth, perseiniol yn cyffwrdd a llinynau pob calon yn y lle. Dywedodd y geiriau "I osod i alarwyr Sion, i roddi iddynt ogoniant yn lle lludw, olew llawenydd yn lle galar, a gwisg moliant yn lle ysbryd cystuddiedig," gyda'r fath swyn a dylanwad nes peri i bawb ymwingo yn eu crwyn, fel na wyddent yn iawn pa un ai wylo ai gorfoleddu a wnant. Ond nid rhywbeth i roddi mwynhad ar y pryd oedd ei bregethau yn unig, ond byddai rhywbeth wedi glynu yn nghof ei wrandawyr. Yr oedd ei bregethau yn gyfryw fel y gellid cymeryd rhanau o honynt adref; ac nid yn rhyw gyfanwaith caeth fel nas gellesid cael dim o honynt heb gymeryd y cwbl. Nid oedd yr un pregethwr a ddeuai i gyfarfod neu gymanfa yn fwy sicr o ddyweyd rhywbeth a gofid, ac a droid yn ddefnydd ymddiddan mewn cyfeillachau ar ol hyny. Mewn mater sylweddol—cynllun hapus—cydmariaethau priodol—sylwadau miniog—iaith goeth—parabl esmwyth—llais melusber—ac apeliadau cyfeiriadol, yr oedd yn anmhosibl cael pregethwr yn rhagori arno. Nid oedd ganddo riadr trystfawr, ond llifai fel afon fawr, lawn, loyw, yr hon heb unrhyw dwrf a garia bob peth o'i blaen.

Gwnaed bwlch yn ei farwolaeth na lenwir mo hono yn fuan; ac yr ydym wedi ei ddyweyd lawer gwaith, ac yn ddibetrus yr ydym yn ei osod i lawr yma, na chafodd Annibynwyr Gogledd Cymru y fath golled er marwolaeth Williams o'r Wern. Gwyddom fod gwahaniaeth dirfawr rhyngddo ef a Mr. Williams mewn llawer o bethau; ond yn eu mawr ofal calon am yr achos, ac yn enwedig am achosion gweiniaid yr oedd tebygolrwydd mawr rhyngddynt. Disgynodd yn anrhydeddus i'w fedd, ac er na ddigonwyd ef a hir ddyddiau, etto gwnaeth waith mawr yn ei oes; ac er na adawodd na mab nac wyr i ddwyn ei enw, etto sicr genym yr â cenhedlaeth ar ol cen-

hedlaeth heibio cyn yr anghofir athrylith, llafur, coffadwriaeth, ac enw William Ambrose, Porthmadog.

Bethel. Yn 1873 gwnaeth Mr. D. Griffith ei feddwl i fyny i symud i Ddolgellau, ac er hyny y mae yr achos yma wedi ei adael yn gwbl dan ofal ei frawd, Mr. R. W. Griffith; ac y mae yr eglwys yn ei holl ranau mewn agwedd gysurus. Yn hanes yr eglwys gadawyd allan yn amryfus enwau y diaconiaid oll ond Richard Owen. Bu William Evans, Tyddynmawr, a Thomas Roberts, Tycerig, yma yn ddiaconiaid am hirfaith flynyddoedd, ac yr oeddynt yn ddynion cywir a ffyddlawn. Wedi hyny neillduwyd Owen Williams, William Roberts, Foulk Williams, Thomas Williams, Hugh Jones, a William J. Williams, y rhai oll ond Foulk Williams ydynt yn aros mewn parch a defnyddioldeb Dylid crybwyll hefyd am Richard Jones, Tyddyngwndwn; Owen Williams, Parcia, Rhos; William Williams, Rhydygerllan, a William Jones, Tafarngrisiau, fel rhai a fu yn golofnau cryfion i'r achos yma, a'r rhai ydynt oll, oddigerth yr olaf, wedi myned i dderbyn eu gwobr.

Bangor. Yn niwedd haf 1873 symudodd Mr. R. Thomas oddiyma i'r Bala, ac nid yw yr eglwys yma etto wedi sefydlu ar weinidog.

Bethesda. Cam hysbyswyd ni am adeg agoriad yr ail gapel yma. Nid yn 1830 fel y dywedir yn Cyf. III., tudalen 286, y bu hyny, ond Ebrill 6ed a'r 7fed, 1828.* Yn 1873-74 ad-drefnwyd y capel, a gwnaed ef yn un o'r rhai harddaf a fedd yr enwad yn Nghymru. Bu yr hen frawd ffyddlon John Pritchard, farw er yr ysgrifenasom hanes yr eglwys, heblaw amryw eraill y mae eu henwau yn berarogl.

Ebenezer. Er ymholi yn fanwl a'r rhai a farnem yn fwyaf cydnabyddus a'r achos yma, nid ydym yn gweled fod angen i ni newid dim o'r hyn a ysgrifenasom am yr eglwys hon. Drwg genym i enwau Owen Dafydd Rolant, Tanybraich, a William Roberts, *Incline*, dau o hen ddiaconiaid yr eglwys, gael eu gadael allan, trwy ryw amryfusedd, o restr y diaconiaid a anfonwyd i ni.

Llanberis. Yn niwedd 1873 symudodd Mr. D. Oliver i Dreffynon, ond llai na blwyddyn wedi ei ymadawiad y bu yr eglwysi yn Jerusalem a Nantpadarn cyn rhoddi galwad i Mr. John E. Owen, o athrofa y Bala, yr hwn a urddwyd yma ddydd Nadolig, 1874, ac y mae yn dechreu ei weinidogaeth dan arwyddion ffafriol. Y ddyled sydd yn faich trwm yn Nantpadarn, ond gwneir ymdrech egniol yn awr i dalu swm da o honi ymaith.

Bettwsycoed. Yn nechreu 1874 derbyniodd Mr. T. Evans alwad o Amlwch, a symudodd yno, ac nid oes er hyny yr un gweinidog sefydlog yma.

Dwygyfylchi. Yn Cyf. III., tudalen 320, gwelir enw George Peart, trwy gamgymeriad yn Peurt.

Penmaenmawr. Yn nechreu haf 1874 derbyniodd Mr. Jenkins alwad oddiwrth yr eglwys Seisonig yn Nhreforis, a chydsyniodd a hi, ac nid oes yma etto neb wedi ei sefydlu yn ei le.

Henryd. Yn nechreu 1874 symudodd Mr. Roberts oddiyma i Chwilog; a hyd yma nid oes yr un gweinidog wedi ei ddewis yn ei le. Yn Cyf. III., tudalen 325, gwneir cyfeiriad byr at Mr. Lewis Lewis, a fu yn weinidog yma. Bu yn casglu trwy ranau o'r De at ddyled y capel, a Hydref 3ydd,

* *Dysgedydd*, 1828, tudalen 309.

1828, bu y Meistri A. Jones, Bangor; Ll. Samuel, Bethesda, a D. Price, Salem, yn archwilio ei gyfrifon; ac yn nglyn a hanes y cyfarfod hwnw y mae yr eglwys yn y *Dysgedydd* am 1828, tudalen 337, yn hysbysu am ei ymadawiad.

Colwyn. Ymadawodd Mr. W. Parry oddiyma i Cemaes, Mon, ddechreu haf 1874, ac nid oes etto neb wedi ei sefydlu yma nac yn Llanddulais.

Dyna yr unig ychwanegiadau y gwyddom ni am danynt sydd i'w gwneyd yn hanes y sir hon.

## SIR GAERFYRDDIN.

Henllan. Wedi i ni ysgrifenu hanes yr eglwys hon, cafodd ei pharchus weinidog, Mr. Lewis, ei daro ag ergyd o'r parlys nes ei gwbl analluogi i gyflawni ei weinidogaeth; ond y mae wedi gwella yn fawr rhagor yr hyn fu, er nad yw etto yn abl i ail ymafael yn ei waith. Teimla yr eglwysi dan ei ofal a'r holl wlad fod colli gwasanaeth cyhoeddus y fath un yn golled ddirfawr. Hir gofir ei lafur gwerthfawr yn holl gylch ei weinidogaeth.

Llanboidy. Wedi ysgrifenu hanes yr eglwys hon derbyniasom a ganlyn oddiwrth Mr. Simon Evans, Hebron:—Rhoddwyd y tir at adeiladu capel Llanboidy gan Mr. Enoch Phillips, ar gareg-fedd yr hwn y mae yr argraff canlynol, "Here lieth the remains of Enoch Phillips, Tygwyn, first founder of the Congregational interest in this place; the Meeting House was built also on his land. Died January 22nd, 1841, aged 81 years." Pan aethpwyd i ail adeiladu yr addoldy yn 1848, prynodd y Mri. John Richards a Josiah John ddau fwthyn a'u gerddi, gan John H. Phillips, Ysw., Williamstown, am 100p. er mwyn helaethu y fynwent. Y mae y darn hwnw o'r ddaear yn awr yn *freehold* yn meddiant yr eglwys. Rhoddodd Mr. William Phillips, Amroth, mab yr Enoch Phillips uchod, lês am 961 mlynedd am yr ardreth blynyddol o 10s. 6c. a chadw beddfaen ei dad yn gyfan. Dyddiad y weithred hon yw Mehefin 2il, 1862. Y mae llawer o feirw yn gorwedd erbyn hyn yn y fynwent newydd sydd yn uno a'r hen fynwent. Y diaconiaid presenol ydynt y Meistri Josiah John, Ysgarddengoed; John James, Llwyngwydd, a David Picton, Cilanw. Ar ben yr adeilad ceir—"Addoldy, Trinity Chapel, built A.D. 1800. R. Morgan, Minister. Rebuilt A.D. 1848. J. Lloyd, J. Lewis, Ministers. Built under the superintendence of J. Richards and Josiah John."

Hen Gapel Llanybri. Yn hanes yr eglwys hon dylasem nodi fod Mr. David Jones, Llandyssilio, a Mr. William Lloyd, dyn dall, ond pregethwr galluog iawn, yn cynorthwyo Mr. Stephen Hughes yma, ac mae yn ymddangos i Mr. David Jones, os nad Mr. W. Lloyd hefyd fyw rai blynyddau ar ol Mr. Hughes. I fod yn gynorthwywr ac yn ganlyniedydd iddynt hwy yr urddwyd Mr. John James yn 1688. Yn fuan ar ol marwolaeth Mr. James yn 1705 urddwyd Mr. Thomas Maurice (nid William Morris fel y camddywedasom yn yr hanes) yma yn ganlyniedydd iddo. Bu Mr. Maurice yma hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le Mehefin 17eg, 1743. Pregethwyd yn ei angladd gan Mr. Christmas Samuel, Pantteg, oddiwrth Psalm xviii. 16,—testyn o ddewisiad yr ymadawedig. Bu Mr. Maurice yn cyfaneddu am flynyddau mewn lle a elwid y Down, ac wrth yr enw Mr. Maurice o'r Down yr adnabyddid ef. Dilynwyd Mr. Maurice yma yn 1743, gan Mr. Evan Davies, fel y nodasom yn yr hanes. Yr ydym yn barnu mai mab i Mr. Maurice oedd Mr. Jenkin Maurice, Panyrathro. Yn

mysg y pregethwyr a gyfodwyd yn yr eglwys hon dylasem grybwyll Mr. Thomas Davies o Hwlffordd a Phenfro, a Mr. Thomas Perrot, gynt athraw yr athrofa yn Nghaerfyrddin.

TRELECH. Mewn ychwanegiad at restr y pregethwyr a gyfodwyd yma dylid rhoddi enw Mr. David Williams, yr hwn a fu yn weinidog yn Gwenddwr, ac a symudodd oddiyno i Rosymeirch, Mon, lle y bu farw. Gweler hanes yr eglwys yn Gwenddwr. Camarweiniwyd ni gan wall argraffyddol yn hanes Maesyrhaf, Castellnedd, i nodi mai yn 1740 yr urddwyd Mr. John Davies yno. 1746 a ddylasai fod. Priododd yn Nghastellnedd yn 1747, a symudodd i Drelech yn 1750. Felly pedair, ac nid deng, mlynedd y bu ef yn Nghastellnedd. Mae tymor gweinidogaeth Mr. Isaac Williams yn y lle hwn yn teilyngu ychwaneg o sylw nag a gafodd, a hyny am y rheswm na anfonodd neb atom mewn pryd. Derbyniodd ef lawer o ganoedd o aelodau yma; torodd dwy gangen o'r eglwys allan yn nhymor ei weinidogaeth, sef Bryniwan a Phenybont, ac wedi y cwbl yr oedd y fam-eglwys yn lluosocach ar ei ymadawiad nag yr oedd ar ei ddyfodiad yma. Mae yr eglwys yma yn awr wedi rhoddi galwad i Mr. J. M. Gibbon, myfyriwr o athrofa Caerfyrddin, ond y mae etto heb ddechreu ar ei weinidogaeth. Hyderwn fod adegau o lwyddiant cyffelyb o'i blaen etto yn y dyfodol.

SARON, LLANGELER. Yn hanes yr eglwys hon dywedasom mai yn 1753 y symudwyd o Penlon i'r Drefach, ond y mae yn amlwg i ni gael ein camarwain yn hyn, canys y mae cofnodiad yn hen lyfr eglwys Capel Isaac i gasgliad o saith swllt gael ei wneyd yno Mehefin 18fed, 1738, at gynorthwyo Benjamin Lewis, "aelod o'r eglwys yn y *Drefach*, yn mhlwyf Penboyr, yn sir Gaerfyrddin, yr hwn a gollodd yr oll a feddai trwy dân." Mae yn rhaid gan hyny fod yr achos yn y Drefach yn 1738, pa faint bynag cyn hyny.

HERMON, CYNWIL. Yr ydym wedi gwneyd camgymeriad yn hanes yr eglwys hon, trwy ddyweyd mai mewn amaethdy o'r enw Nantgronwy y buwyd yn addoli hyd nes yr adeiladwyd Hermon. Cafodd capel ei adeiladu ar ran o dir Nantgronwy yn 1744, fel y dengys y cofnodiad canlynol yn llyfr eglwys Capel Isaac: "Mawrth 18fed, 1744, casglwyd yma y dydd hwn y swm o wyth swllt, pedair ceiniog, a dimai, i'r Parchedig Mr. Thomas Jones, i'w gynorthwyo i adeiladu addoldy yn Nantgronwy, yn mhlwyf Cynwil."

PENCADAIR. Yn ychwanegol at yr hyn a gyhoeddasom o hanes yr eglwys hynafol hon, anfonwyd atom fod un William Wilkins wedi dechreu pregethu yma tua 60 mlynedd yn ol. Mewn siop yn New Inn yr oedd. Yr oedd yn ddyn ieuangc cymeradwy iawn; ond ymaflodd y darfodedigaeth ynddo, a bu farw yn fuan. Codwyd yma bregethwr ar ol i ni ysgrifenu yr hanes, sef Thomas T. Phillips, yr hwn sydd yn awr yn athrofa y Bala. Ni chawsom ychwaneg o fanylion, er y mae yn ddiau genym fod llawer o bethau dyddorol yn hanes yr eglwys hon, ond eu bod wedi myned i dir ebargofiad. Mae gwr ieuangc o'r enw John Davies wedi dechreu pregethu yn Troedrhiwalltwallis, ac yn awr yn parotoi i fyned i'r athrofa.

HEOL AWST, CAERFYRDDIN. Yn niwedd y flwyddyn 1873 rhoddodd yr eglwys hon alwad i Mr. John Evans, Bethania, Dowlais, a chynaliwyd cyfarfodydd ei sefydliad ef yma Ebrill 20fed, 1874. Y mae pob argoelion y bydd Mr. Evans yn dderbyniol a defnyddiol iawn yma.

CAERFYRDDIN (Saesonig). Yn nechreu y flwyddyn 1874 rhoddodd yr

eglwys hon alwad i Mr. Thomas Davies, yn ddiweddar o New Zealand, ac y mae wedi bod yn llafurio yma am flwyddyn bellach, a phob arwyddion y bydd ei weinidogaeth yn fendithiol i'r lle.

Capel y Park, Llanelli. Y mae Mr. J. H. Lochore wedi symud oddiyma yn Ionawr, 1875, i'r Tabernacl, Hwlffordd, ac nid yw yr eglwys etto wedi cael amser i edrych allan am ganlyniedydd iddo.

Llanedi. Dylasem nodi yn hanes yr eglwys hon mai yn 1714 yr adeiladwyd y capel yma, a bod yr un adeilad, heb nemawr o gyfnewidiad ynddo, yn aros hyd y dydd hwn, ac mai yn y flwyddyn 1729 y bu farw Mr. David Penry. Yn niwedd y flwyddyn 1874 urddwyd Mr. John Thomas, o athrofa Caerfyrddin, yn weinidog i'r eglwys hon, mewn cysylltiad a Phontarddulais. Yr oedd cysylltiad Mr. David Morgan a'r lle wedi darfod tua blwyddyn cyn i Mr. Thomas dderbyn galwad yma

Pontarddulais. Rhoddodd Mr. Thomas Williams ofal yr eglwys hon i fyny yn niwedd y flwyddyn 1873, ac y mae yn awr wedi ymsefydlu yn Treoes a Llangrallo, Morganwg. Yn Hydref, 1874, urddwyd Mr. John Thomas i fod yn weinidog yma ac yn Llanedi.

Y Tabernacl, Mynyddmawr. Yr oedd ysgoldy wedi cael ei adeiladu gan eglwys Bethania, Llanon, yn yr ardal hon er's amser at gadw ysgol Sabbothol, cyfarfodydd gweddio, a phregethu achlysurol, ac yn awr y mae yma gapel hardd yn cael ei adeiladu. Bydd y capel hwn pan orphenir ef yn werth tua mil o bunau, ac yn cynwys 500 o eisteddleoedd. Ar amser agoriad y capel ffurfir yma eglwys o tua chant ac ugain o aelodau, yn benaf o Bethania. Gan fod yr ardal hon yn cynyddu yn gyflym yn ei phoblogaeth disgwylir y bydd yma yn ddioed eglwys a chynnulleidfa luosog iawn. Eglwys a gweinidog Bethania sydd yn dwyn y gwaith hwn yn mlaen.

Penygroes. Ebrill 22ain, 1874, urddwyd Mr. D. E. Phillips, o athrofa y Bala, yn weinidog i'r eglwys hon a Milo, ac y mae yn parhau i lafurio yma gyda pharch a llwyddiant.

Y Tabernacl, Llandilo. Yn mhen ychydig ddyddiau wedi i ni argraffu hanes yr eglwys hon bu farw Mr. Thomas Davies, y gweinidog, yn dra disymwth. Rhoddasom ei gofiant, fel y gwelir, yn nglyn a hanes Llansadwrn. Yn niwedd 1874 rhoddodd yr eglwys alwad unfrydol i Mr. W. Davies, Aberteifi, a chynaliwyd cyfarfodydd ei sefydliad yma Chwefror 9fed a'r 10fed, 1875. Yr ydym yn hyderu y bydd Mr. Davies mor llwyddianus yma a'i ragflaenafiaid enwog Williams a Davies.

Capel Isaac. Chwefror 25ain, 1874, urddwyd Mr. John Thomas, B.D., o athrofa Yale, America, yn weinidog i'r eglwys hon ac i'r eglwys ieuangc yn Llanarthen. Hyderwn fod oes hir o ddefnyddioldeb o flaen Mr. Thomas yn yr hen gylch gweinidogaethol anrhydeddus hwn.

Abergorlech. Evan Dafydd Evan, ac nid Dafydd Evan Dafydd, yw enw priodol y gwr cyntaf a enwir yn mysg y pregethwyr a gyfodwyd yn yr eglwys hon.

Crugybar. Yn y linell olaf ar tudalen 55 o Cyf. III., yn lle 1788 darllener 1688; yn y linell gyntaf o'r tudalen dilynol darllener 1672 yn lle 1772, a dwy linell yn is drachefn darllener 1690 ac nid 1790 fel amseriad corffoliad yr eglwys.

Bethel. Gwnaed camgymeriad yn hanes yr eglwys hon. Bu Mr. Griffith, Llanwrtyd, farw Gorphenaf 11eg, 1862, ac nid Mai 11eg; felly gwelir ei fod wedi rhoddi i fyny yr eglwys hon, a gweinidog wedi ei urddo yma cyn ei farwolaeth.

## SIR DDINBYCH.

WERN. Er pan ysgrifenasom hanes yr eglwys hon y mae Mr. J. Thomas wedi derbyn galwad o Groesoswallt, ac wedi penderfynu symud yno yn gynar yn 1875.

RHOSYMEDRE. Mae Mr. B. Morlais Hughes, Pentraeth, Mon, wedi derbyn galwad yr eglwys hon, ac wedi ei hateb yn gadarnhaol.

LLANGOLLEN. Yn hanes yr eglwys hon, tudalen 33, Cyf. IV., yn lle "hen feudy," dylesid dyweyd mai hen fragdy wedi ei drwsio oedd y capel cyntaf a gafwyd yma.

DINBYCH. Mae y capel yma yn awr yn myned dan adgyweiriad trwyadl. Yn mysg y pregethwyr a fu mewn cysylltiad a'r eglwys hon dylasai fod enw Mr. Thomas Simon. Yn Salem, Liverpool, yn mhymor gweinidogaeth Mr. R. Thomas yno, y dechreuodd bregethu; ond aelod gwreiddiol o'r eglwys yma ydoedd, a phregethwr parchus a chyfrifol yn yr eglwys hon ydoedd yn adeg ei farwolaeth. Mab ydoedd i Thomas Simon, Parccanol, Dinbych. Ganwyd ef yn 1820. Ymunodd a'r eglwys yn 1839, a dechreuodd bregethu yn gynar yn 1844. Yr oedd yn ddyn synwyrol a phwyllus—yn gyfaill ffyddlon a chywir—ac yn Gristion gwastad a diargyhoedd. Meddai ar ddawn gweddi nodedig, ac wedi dechreu pregethu profodd fod ynddo gymhwysder neillduol i'r gwaith, mewn gwybodaeth, dawn ymadrodd, llais ac ysbryd. Nid oedd ei gyfansoddiad corfforol ond gwan ar y goreu, a gwywodd yn raddol fel blodeuyn. Bu farw Mai 25ain, 1847, yn 26 oed, gan adael gweddw ac un mab i ofal "Tad yr amddifaid, a barnwr y gweddwon," yr hwn hefyd sydd wedi bod yn dirion o honynt.

### COFNODIAD BYWGRAPHYDDOL.

THOMAS BADDY. Yr oedd ef yn enedigol o ryw le yn sir Ddinbych, Gwrecsam, fel y tybiwn. Derbyniodd ei addysg i'r weinidogaeth yn athrofa Mr. Frankland, yn Rothwel, sir Gaerefrog. Derbyniwyd ef yn fyfyriwr i'r athrofa hono Tachwedd 23ain, 1689, yr un dydd ag y derbyniwyd Mr. John Owen, mab Mr. Hugh Owen, Bronyclydwr, yn fyfyriwr yno. Yr ydym yn barnu iddo gael ei urddo yn Ninbych yn y flwyddyn 1693, ac yno y bu yn dra dylanwadol a defnyddiol hyd ei farwolaeth yn mis Hydref, 1729. Yr oedd Mr. Baddy yn wr cyfoethog o ran ei amgylchiadau, yr hyn a ychwanegai yn fawr at ei ddylanwad. Gwnaeth gryn ddefnydd o'r Wasg er taenu gwybodaeth yn mysg ei gydgenedl. Yn 1703 cyhoeddodd nifer o emynau o'i gyfansoddiad ei hun, cyfaddas i'w canu ar weinyddiad swper yr Arglwydd, ac yn yr un flwyddyn cyhoeddodd gyfieithiad o draethawd Doslittle, ar Swper yr Arglwydd. Yn 1713 cyfieithiad o Wadsworth ar Hunanymholiad; yn 1725, Caniad Solomon, ar fesur cerdd; ac yn 1727, cyfieithiad o Wagedd Mebyd ac Ieuengctyd, gan Dr. Daniel Williams. Yr oedd gan Mr. Baddy frawd, o'r enw Owen Baddy, yn fasnachydd parchus yn Ngwrecsam.

ABERGELE. Wedi ysgrifenu hanes yr eglwys hon cawsom allan mai Rhagfyr 24ain, 1845, y bu farw Mr. Jeremiah Jones, y gweinidog cyntaf a fu yma, a thrwy lafur yr hwn yn benaf y casglwyd yr eglwys, ac y codwyd y capel. Claddwyd ef wrth gapel Colwyn.

LLANARMON. Yn mysg y pregethwyr godwyd yma dylasai fod enw John Ellis, yr hwn sydd yn aros yn yr eglwys. Daniel Hague, oedd enw

tad gwraig Mr. J. Griffith, y gweinidog, ac nid Haigh fel y ceir ef yn yr hanes.

## SIR ABERTEIFI.

Ebenezer. Gwnaethom gamgymeriad wrth ysgrifenu hanes yr eglwys hon trwy gael ein camhysbysu, wrth ddyweyd mai yn nhymor gweinidogaeth Mr. Richard Owen y codwyd y capel. Yr oedd y capel wedi ei godi cyn ymadawiad Mr. Griffith a'r lle i fyned i Casnewydd. Mae Mr. John Morgan hefyd i'w gyfrif yn mysg y rhai a ddechreuodd bregethu yma, a Mr. David Evans, wedi hyny o Benygraig, gerllaw Caerfyrddin. Mae Mr. Morgan ar ol treulio y rhan fwyaf o'i oes yn sir Gaernarfon, wedi dychwelyd yn awr i'r ardal hon i dreulio gweddill ei ddyddiau; ac y mae yn dal yn gryf i bregethu bob Sabboth.

Talybont. Cyn diwedd y flwyddyn 1874 rhoddodd yr eglwys yma alwad i Mr. John Davies, Abergwaun, ac y mae wedi dechreu ei weinidogaeth yma dan arwyddion ffafriol iawn, a hyderir fod dyfodol disglaer o flaen yr eglwys luosog yma. Ar ol i ni ysgrifenu hanes yr eglwys yma anfonwyd atom fod David Adams, mab John Adams, wedi dechreu pregethu yma, a'i fod yn awr yn wr ieuangc addawol iawn yn mhrif ysgol Aberystwyth, lle y mae wedi ennill ysgoloriaeth.

Capel yr Erw, Cellan. Anfonwyd atom gan Mr. D. Ll. Jones, ysgolfeistr Rhicos, mai David Lloyd roddodd y tir at adeiladu Capel yr Erw, ac nid Thomas Lloyd fel y dywedir yn hanes yr eglwys.

Aberteifi. Yn niwedd y flwyddyn 1874 derbyniodd Mr. W. Davies alwad o'r Tabernacl, Llandeilo, a chychwynodd ei weinidogaeth yn nechreu y flwyddyn 1875.

Hope Chapel. Yn lle o 1869 hyd 1873, dylesid dyweyd fod Mr. J. N. Richards wedi bod yma o 1867 hyd nes y symudodd yn 1873 i Benygroes.

Glynarthen. Yn mysg y pregethwyr a godwyd yn yr eglwys hon, dylasai fod enw John Jones, yr hwn sydd yn awr yn weinidog parchus yn America. Camarweiniwyd ni hefyd yn hanes bywyd Mr. W. Jones, i ddyweyd fod ei unig ferch wedi marw o'i flaen ef. Bu hi byw bum' mlynedd ar ei ol, a bu farw Awst 15fed, 1870.

Dyna yr oll o'r pethau yn hanes eglwysi sir Aberteifi y galwyd ein sylw atynt, yn gofyn eu cywiro.

## SIR FLINT.

Wyddgrug. Rhoddwyd galwad i Mr. Thomas Roberts, Llanddeusant, Mon; a chynhaliwyd cyfarfodydd ei sefydliad Rhagfyr 7fed a'r 8fed, 1874. Mae Mr. Roberts yn cychwyn yma yn obeithio iawn.

Dyna yr holl ddiwygiadau pwysig yn yr Hanes trwy y gwahanol siroedd y galwyd ein sylw atynt. Diau fod llawer o bethau dyddorol i'w ychwanegu, ond gan na chawsant eu hanfon atom nis gallasem eu cyhoeddi. Dichon fod rhai geiriau wedi eu camosod, ac yn enwedig enwau lleoedd, y rhai yn aml yr oedd yn anhawdd eu gwneyd allan oblegid aneglurdeb y llaw ysgrifen; ac y mae yn ddigon posibl fod ambell ddyddiad yn anghywir er pob gofal. Pa fodd bynag nid oes genym bellach ond ei adael fel y mae; a hwyrach os nad arbedir ein heinioes ni i hyny, y daw rhyw hanesydd ar ol hyn yr hwn a gyhoedda ail argraffiad o'r holl waith gydag ychwanegiadau a diwygiadau.

# ADOLYGIAD.

---

Yr ydym wedi rhoddi yr hanes manylaf a chyflawnaf a allasem o bob eglwys yn Nghymru, yn gystal ag o'r eglwysi Cymreig yn Lloegr. Rhoddasom hefyd adolygiad byr ar derfyn hanes pob sir er crybwyll rhyw bethau nas gallesid eu cynwys yn nglyn ag eglwysi neillduol; ac y mae etto ryw bethau sydd yn perthyn i'r enwad yn gyffredinol y rhai nas gallesid eu dwyn i mewn yn adolygiad y siroedd. Rhaid i'n crybwylliad am danynt fod o angenrheidrwydd yn fyr, er y buasai yn hawdd eu chwyddo pe buasai ein terfynau yn caniatau.

Yn ein Rhagdraith yn nechreu y gwaith, cymerasom gipolwg ar hanes Cymru o ddyddiau Harri VIII. hyd gyfodiad Ymneillduaeth—ac o gyfodiad Ymneillduaeth hyd Ddeddf Unffurfiaeth 1662, a gwelsom fod crefydd bur wedi gwneyd cynydd cyflym yn ystod y tymor cynhyrfus hwnw. Yn y blynyddoedd dyfodol goddefodd Ymneillduaeth "ymdrech mawr o helbulon," oblegid deddfau gorthrymus, ac ysbryd erledigaethus, ond parhaodd i gryfhau ac ymledu er yr holl ystormydd, hyd yn 1689 pan y cafodd gysgod Deddf Goddefiad, ac y llonyddodd yr erledigaethau i fesur. Wedi hyny y dechreuodd yr Ymneillduwyr ar eu gwaith o ddifrif—neillduwyd nifer fawr o ddynion cymhwys i waith y weinidogaeth—dechreuwyd pregethu yn gyhoeddus mewn lluaws mawr o fanau—a daeth y rhai oedd wedi bod hyd yma yn addoli yn guddiedig, allan yn amlwg i ddwyn eu tystiolaeth dros Dduw. Dichon mai y peth cyntaf sydd yn tynu ein sylw yn y cyfnod yma, ydyw Adeiladu Capeli. Codwyd addoldai cyfleus yn Pencadair, Cefnarthen, Capel Isaac, Tredwstan, Maesyronen, Caerdydd, Abertawy, Penmain, Castellnedd, Hwlffordd, Henllan, a manau eraill; ac o'r flwyddyn 1697 hyd 1712 codwyd 38 yn ychwanegol.* Yr oedd llawer o ystafelloedd cyn hyn wedi eu cyfaddasu i bregethu ynddynt, ond yn y cyfnod yma y dechreuwyd adeiladu capeli yn briodol. Mae yn deilwng o'n sylw hefyd nad yw nifer y capeli a godwyd mewn un modd yn ddangoseg o rif yr eglwysi. Trwyddedwyd lluaws o amaethdai at bregethu ynddynt, ac yr oedd cynnulleidfaoedd lluosog, ac eglwysi blagurog mewn llawer o honynt. Yr oedd yr Annibynwyr, y Presbyteriaid, a'r Bedyddwyr yn cydgyfarfod mewn llawer o fanau, ac yn cydfyw yn heddychol; ond wedi cael llonydd oddiwrth yr erledigaethau dechreuodd dadleuon ar Fedydd, yn gyhoeddus a thrwy y wasg, nes y rhanwyd teimladau y dysgyblion, a phellhawyd y Cristionogion oddiwrth eu gilydd. Yn mhen amser daeth ffurf-lywodraeth eglwysig, a phyngciau duwinyddol yn destynau dadl, yr hyn a barodd fesur o anghydfod mewn nifer o fanau, ond yr oedd yr achos er hyny yn parhau i fyned rhagddo, capeli newyddion yn cael eu hadeiladu, a nifer y dysgyblion yn amlhau.

* "*History of Nonconformity in Wales,*" tudalen 273.

Yn y flwyddyn 1715 casglodd Dr. John Evans, trwy ofal a llafur dirfawr, Ystadegaeth Ymneillduaeth yn Lloegr a Chymru. Gan ein bod eisioes yn hanes yr eglwysi wedi rhoddi eu nifer yn yr adeg yma, nid rhaid i ni fyned dros yr un ffigurau etto. Yr oedd nifer y cynnulleidfaoedd Ymneillduol yn y flwyddyn hono yn 110, a nifer y rhai a ymgynnullent iddynt fel addolwyr rheolaidd yn fwy na 27,000, heb gyfrif y plant a'r rhai a ddeuent yn achlysurol. Yr oedd y blynyddoedd dyfodol yn flynyddoedd o lwyddiant graddol, fel y dengys hanes plwyf Aberystruth gan Edmund Jones, a chofnodion eglwysig Cilgwyn, Pantteg, Capel Isaac, a manau eraill.

Yn y flwyddyn 1735 y torodd y diwygwyr Methodistaidd Howell Harries, Trefecca, a Daniel Rowlands, Llangeitho, allan; ac y crëwyd cyfnod newydd yn hanes crefydd yn Nghymru. Mae yn anmhosibl llefaru yn rhy gryf am wasanaeth a dylanwad anmhrisiadwy y dynion hyn a'u cyfoeswyr, a'u holynwyr uniongyrchol, ar grefydd yn ein gwlad. Dygasant elfen o wres a bywiogrwydd i mewn nad oedd hyd yma wedi hynodi crefydd Cymru, ac yr oedd eu llafur a'u gweinidogaeth o nodwedd fwy ymosodol nag eiddo y rhan fwyaf o'r hen Ymneillduwyr, y rhai a foddlonent ar wylio eu praidd yn eu corlanau eu hunain. Ond y mae y deyrnged uchel a dalwyd iddynt gan haneswyr a beirdd wedi peri na chafodd y rhai a fu o'u blaen hwy eu cydnabyddiaeth briodol; ac wedi peri hefyd fod sefyllfa y wlad ar eu hymddangosiad hwy wedi ei lliwio yn rhy gryf. Nid oes dadl am wasanaeth gwerthfawr y diwygwyr Methodistaidd, ond y mae yn weddus hefyd cydnabod gwasanaeth y rhai a fu yn arloesi y tir, ac yn addysgu y bobl erbyn eu dyfodiad hwy. Mae rheswm arall hefyd paham y mae llawer wedi derbyn camargraff am gyflwr Ymneillduaeth yn Nghymru yn nghyfodiad Methodistiaeth. Cyflwr Gogledd Cymru a ddarlunir gan ein haneswyr gan mwyaf, a chymerir yn ganiataol fod y Deheudir yn yr un sefyllfa. Nid oedd ond deg o gynnulleidfaoedd trwy holl Ogledd Cymru yn 1715, ac yr oedd saith o'r cyfryw yn fychain iawn; ac yr oedd y bobl yn anwybodus ac ofergoelus, a'u hysbryd yn erlidgar yn erbyn crefydd a gweinidogaeth Efengylaidd. Ond yr oedd Deheudir Cymru mewn sefyllfa dra gwahanol, a gweinidogion llafurus yn gwylio dros eglwysi llewyrchus; ond nad oedd y gweithgarwch a'r bywiogrwydd hyny ynddynt oedd yn hynodi y diwygwyr Methodistaidd, ac o'r hwn wedi hyny y cyfranogodd llawer o'r hen Ymneillduwyr. Rhoddwyd darlun rhy dywyll gan amryw o agwedd crefydd yn Nghymru yn y cyfnod yma. Yn ei Farwnadau ar ol Howell Harries a Daniel Rowlands, y mae Williams Pantycelyn wedi rhoddi darluniad eithafol o gysgadrwydd crefyddol y wlad yn nghodiad Methodistiaeth. Dyma un engraifft allan o'i farwnad i Howell Harries:—

"Pan oedd Cymru gynt yn gorwedd, mewn rhyw dywyll farwol hûn,
Heb na Phresbyter na Ffeiriad, nac un Esgob ar ddihun;
Yn y cyfnos tywyll pygddu, fe ddaeth dyn fel mewn twym iâs,
Yn llawn gwreichion, goleu, tanllyd, o Drefeca fach i mas."

Yr ydym yn addef yn rhwydd fod ffurfioldeb a chysgadrwydd mawr wedi meddianu llawer o'r hen eglwysi Ymneillduol, a'u bod yn boddloni yn ormodol ar gadw yr hyn oedd ganddynt, yn lle myned allan yn ymosodol er ennill y wlad i Grist. Nid ydym mewn un modd yn amheu nad oedd tywyllwch anwybodaeth ac ofergoeledd yn gordoi llawer iawn o ranau yn ein gwlad, yn enwedig felly yn Ngogledd Cymru. Nid oes neb ychwaith

yn fwy parod na ni i gydnabod gwasanaeth anmhrisiadwy Howell Harries a'i gydlafurwyr; oblegid yn sicr, "fe ddaeth dyn fel mewn twym iâs, yn llawn gwreichion, goleu, tanllyd, o Drefeca fach i mas." Ond nid gwir ydyw nad oedd un "Presbyter na Ffeiriad, nac un Esgob ar ddihun." Yn wir y mae y Bardd ei hun ychydig yn mlaen yn y farwnad yn cydnabod:—

"Griffith Jones pryd hyn oedd effro, yn cyhoeddi efengyl gras,
Hyd cyrhaeddai 'i lais o'r pulpud, neu os rhaid o'r fynwent las;
Ond am fod ei foreu yn dywyll, ac nad oedd ei ffydd ond gwan,
Fe arswydai fyn'd i'r maesydd, ac i'r lleoedd nad oedd llan."

Wel, ynte, os oedd Griffith Jones, Llanddowror y pryd hyny yn effro, yn sicr nid oedd pob "Ffeiriad" yn cysgu; ac yr oedd llawer "Presbyter," fel y gelwid yr Ymneillduwyr, ar ddihun. Digiodd Edmund Jones, Pontypool, yn fawr wrth Williams, Pantycelyn, am y darluniad unochrog a roddodd; ac yn ei ddydd-lyfr am 1773 ysgrifenodd y sylw llym a ganlyn: "Mae Mr. William Williams, yr offeiriad Methodistaidd, yn ei Farwnad i Mr. Howell Harries, yn dyweyd yn eglur, ac yn canu yn eglur, nad oedd yr un Offeiriad na Phresbyter yn effro pan ddaeth Mr. Howell Harries allan i gynghori. Anwiredd digywilydd wedi ei argraffu; oblegid yr oedd rhai Offeiriaid yn effro o'i flaen ef, megis Mr. Griffith Jones, Llanddowror, a Mr. Thomas Jones, Cwmiau; a llawer o weinidogion Ymneillduol, megis Mr. John Thomas yn sir Gaernarfon, Mr. Williams, Tredwstan, a Mr. Morgan, Llanafan yn sir Frycheiniog; Mr. Vavasor Griffiths yn sir Faesyfed; Mr. Palmer, Henllan, a Mr. W. Morrice yn sir Benfro; Mr. Phillip Pugh yn sir Aberteifi; Mr. James Davies, Merthyr yn sir Forganwg; a myfi fy hun a ddygodd Mr. Harries i gynghori yn sir Fynwy. Mae yn syndod pa fodd y gallodd dyn ddyweyd y fath beth, ac yntau ei hun wedi ei eni a'i addysgu yn mysg yr Ymneillduwyr. Os na rydd y Methodistiaid i fyny eu geiriau caledion, bydd i Dduw yn raddol eu gadael, ac yna gwanychant, ac ni byddant ond o ychydig wasanaeth." Mae yn hawdd deall fod yr "Hen Broffwyd" yn ysgrifenu dan radd o gyffroad; ac nid rhyfedd hyny pan yr oedd pethau yn cael eu siarad a'u hysgrifenu i osod allan agwedd Cymru mor dywyll a phaganaidd a phe na buasai dim wedi ei wneyd ar ol can' mlynedd o lafur caled yr hen Annghydffurfwyr.

Mae dau neu dri o bethau yn deilwng o sylw ar berthynas y Diwygwyr Methodistaidd a'r hen Ymneillduwyr, y rhai y mae ein haneswyr a'n hysgrifenwyr yn gyffredinol yn edrych heibio iddynt. Yn gyntaf oll gallwn grybwyll ddarfod i amryw o'r gweinidogion Ymneillduol oedd eisioes ar y maes roddi y gefnogaeth fwyaf calonog i Harries a Rowlands a'u cydlafurwyr. Cafodd Daniel Rowlands, Phillip Pugh, Llwynpiod, yn noddwr caredig—Edmund Jones, Pontypool, fel y gwelsom, a wahoddodd Howell Harries i sir Fynwy—ar gais Lewis Rees, Llanbrynmair, yr ymwelodd Howell Harries gyntaf a'r Gogledd—David Williams, Watford, a agorodd ddrws ei gapel i'r Methodistiaid i gynal eu cymdeithasfa gyntaf yn Nghymru—ac y mae y llythyrau caruaidd a basiodd rhwng Howell Harries a James Davies, Merthyr; Henry Davies, Blaengwrach; D. Williams. Watford, ac Edmund Jones, Pontypool—llawer o ba rai sydd wedi eu cyhoeddi—yn dangos mor gefnogol oeddynt i lafur y Diwygwyr Methodistaidd. Mae yn wir fod amryw yn teimlo yn wahanol, ac yn barnu eu

bod yn rhoddi golwg unochrog ar drefn yr efengyl, ac yn cefnogi afreoleiddiwch annghydweddol ag urddas yr efengyl—felly yn arbenig y teimlai Phillip Dafydd, Penmain—ond cawsant ffafr yn ngolwg y rhan fwyaf o'r hen Ymneillduwyr, a dymunent Dduw yn rhwydd iddynt, er nad oeddynt yn cymeradwyo pob peth ynddynt.

Mae ffaith arall yn deilwng o'n sylw, mai yn y manau hyny lle yr oedd Ymneillduaeth wedi hir wreiddio, a chynnulleidfaoedd cryfion wedi eu casglu, y dechreuodd arweinwyr y Diwygiad Methodistaidd eu gweinidogaeth. Dygwyd Howell Harries i fyny o fewn haner milldir i Dredwstan, lle yr oedd eglwys Annibynol gref, yn cyfrif o gylch dau cant o aelodau, a lle yr oedd W. Williams, un o'r dynion mwyaf gweithgar yn Nghymru yn weinidog. Yr oedd Daniel Rowlands yn byw yn yr un plwyf a'r apostolaidd Phillip Pugh, yr hwn yr oedd pump o eglwysi Annibynol cryfion dan ei ofal, yn cyfrif cydrhyngddynt fil o bersonau. Yr oedd tad Williams, Pantycelyn, yn ddiacon yn eglwys Annibynol Cefnarthen, ger llaw Llanymddyfri, ac yno y dygwyd yntau i fyny, a bu wedi hyny yn athrofa Annibynol Llwynllwyd yn sir Faesyfed. Nid ydym yn cael fod cymaint ag un gymdeithas neillduol Fethodistaidd, am y chwe' blynedd cyntaf wedi cychwyniad y diwygiad, wedi ei sefydlu mewn unrhyw ardal nad oedd yno yn flaenorol eglwys Ymneillduol. Gwelir felly fod y tir mewn rhan wedi ei barotoi gan y rhai a aethai o'u blaen hwy. "Eraill a lafuriasant, a chwithau a aethoch i mewn i'w llafur hwy."

Mae un peth etto yn werth ei grybwyll; mai aelodau o'r hen eglwysi Ymneillduol oedd eisioes yn y wlad, oedd y rhan fwyaf o'r tô cyntaf o gynghorwyr y Methodistiaid; ac i lafur hunanymwadol y rhai yr addefa pawb, yr oedd y diwygiad ar ei gychwyniad mor ddyledus. Nis gallesid disgwyl i ddynion newydd eu dychwelyd at yr Arglwydd o ganol y tywyllwch dudew y tybia llawer fod y wlad ynddo, fod yn gymwys i gynghori eraill, ac arolygu y cymdeithasau bychain a sefydlid; ond yr oedd yr Arglwydd trwy addysg yr hen Ymneillduwyr, y rhai oeddynt ofalus i wreiddio eu pobl mewn gwybodaeth, wedi parotoi dynion cymhwys i'r gwaith. Rhai felly oeddynt Richard Tibbot, Jenkin Morgan, Morgan John Lewis, John Belcher, William Edwards, ac eraill. Dylanwadwyd arnynt gan y gwres a'r bywiogrwydd oedd yn nodweddu y Diwygwyr Methodistaidd, ond o'r diwedd wrth weled yr amcan i wneyd Methodistiaeth yn gangen o'r Eglwys Sefydledig dychwelodd llawer o honynt at eu hen gyfeillion, ac ymsefydlasant, fel y gwelsom, yn weinidogion ar eglwysi neillduol. Os cymerir y tri pheth a nodwyd i ystyriaeth, nid ydym yn gweled pa fodd y gellir ysgoi y casgliad fod Methodistiaeth yn llawn cymaint o gangen o'r hen eglwysi Ymneillduol oedd eisioes yn y wlad, ag ydyw o'r Eglwys Sefydledig.

Mae yn eglur, pa fodd bynag, ddarfod i'r hen eglwysi oedd wedi bod yn hir ar y maes dderbyn symbyliad effeithiol trwy y Diwygiad Methodistaidd. Bu yn achlysur mae yn wir i yru rhai yn mhellach oddiwrth yr hen wirioneddau a gyfrifid yn uniongred, ond bu yn foddion hefyd i beri i eraill wisgo gwedd fwy efengylaidd; a gwyr pawb cyfarwydd yn hanes crefydd, mai y blaid efengylaidd yn yr Eglwys Sefydledig ac yn mysg yr enwadau Ymneillduol a achubodd fywyd crefydd yn y deyrnas hon yn y ganrif ddiweddaf.

Ni byddai yn briodol i ni fyned heibio heb gyfeirio at y Diwygiadau Crefyddol a pha rai y bendithiwyd yr enwad. Er mai peth priodol i'r

cyfnod Methodistaidd yw Diwygiad, yn yr ystyr a roddir yn gyffredin i'r ymadrodd, etto, gwyddom fod ein henwad ninau bellach er's yn agos i bedwar ugain mlynedd wedi ei fendithio ar wahanol adegau a diwygiadau nerthol. Profodd ein heglwysi cyn diwedd y ganrif ddiweddaf ymweliad grymus oddiwrth yr Arglwydd, a dichon fod yr enwog David Davies, Abertawy, yn mysg y rhai cyntaf a ddefnyddiwyd gan yr Arglwydd i roddi cyffroad nerthol yn ein henwad. Yr oedd nerth ei ddoniau yn tynu tyrfaoedd mawrion ar ei ol; a thrwy ei weinidogaeth angerddol rhoddwyd bywyd newydd mewn llawer o eglwysi. Cyfranogodd amryw o'i gydoeswyr yn helaeth o'r un ysbryd, fel y daeth "sain cân a moliant yn mhyrth merch Sion" yn beth cyffredin o dan eu gweinidogaeth. Tua'r flwyddyn 1809 a'r flwyddyn ddilynol, ymwelodd yr Arglwydd yn rasol a pharthau o'n gwlad pryd yr ychwanegwyd llawer at yr eglwysi. Torodd diwygiad nerthol iawn allan tua'r flwyddyn 1818, a pharhaodd dros rai blynyddoedd yn ngwahanol ranau y Dywysogaeth, a "nifer mawr a gredodd ac a drodd at yr Arglwydd." Yr oedd amryw o'r tô diweddaf o weinidogion ein gwlad yn mysg dychweledigion y diwygiad hwnw. Mae llawer etto yn fyw, o'r rhai ddychwelwyd at grefydd yn 1828 a'r flwyddyn ganlynol. Bu yn fywyd o feirw i lawer o eglwysi. Ymwelodd Duw a'i bobl mewn modd nodedig yn y blynyddoedd 1839-40. Yr oedd y Diwygiad Dirwestol, yr hwn a gychwynwyd yn ein gwlad ychydig flynyddau cyn hyny, ac i'r hwn yr ymollyngodd y rhan fwyaf o weinidogion a dynion goreu yr eglwysi yn y dyddiau hyny, wedi bod yn foddion "i ddarparu i'r Arglwydd bobl barod." Mae haf a hydref 1849 yn fyw etto ar gof canoedd yn ein gwlad, fel adeg nodedig i gofio Sion. Daeth tòn gref o ddiwygiad nerthol dros yr holl wlad yn 1859, a pharhaodd dros y flwyddyn ganlynol; a diau na welodd ein gwlad, yn nifer y dychweledigion, ddim byd yn gyffelyb i'r hyn a welwyd yn yr adeg hono. Profodd yr ymweliadau anarferol hyn yn dra bendithiol i grefydd; a hebddynt nid yw yn debyg y gallasai yr eglwysi ddal eu tir mewn rhifedi. Mae yn wir i lawer o'r rhai mwyaf selog a thanllyd fyned "yn eu hol heb rodio mwyach gyda'r Iesu," ond y mae yn wir hefyd fod miloedd o honynt "wedi cael help gan Dduw yn aros hyd y dydd hwn," heblaw y miloedd sydd wedi myned i ogoniant yn orfoleddus. Mae bellach bymtheng mlynedd wedi myned heibio heb ymweliad neillduol oddiwrth yr Arglwydd, ond y mae deffroad cyffredinol trwy holl eglwysi ein gwlad yn y dyddiau yma, ac arwyddion gobeithiol fod yr Arglwydd ar "godi a thrugarhau wrth Sion;" ac y mae y dynion goreu yn yr eglwysi yn hiraethu am "weled ei nerth a'i ogoniant fel eu gwelsant yn y cysegr."

Mae yr ymdrechion mawrion a wnaed gan ein henwad, yn enwedig yn y ganrif bresenol, i adeiladu capeli a thalu eu dyledion, yn teilyngu sylw arbenig. Bu llawer o afreoleiddiwch, mae yn wir, yn nglyn a hyny mewn rhai manau, fel y suddodd rhai lleoedd yn ddwfn i ddyled, ond cyfododd yr Arglwydd ryw rai i estyn ymwared iddynt, fel na adawyd y rhai a fenthyciodd yr arian ar eu colled; ac nid ydym yn gwybod yn holl hanes capeli dyledog ein henwad ond am un neu ddau y bu raid eu gwerthu, oddigerth y rhai werthwyd er adeiladu rhai rhagorach mewn lleoedd mwy cyfleus yn eu lle. Tua'r flwyddyn 1832 yr oedd cryn nifer o gapeli dan feichiau trymion o ddyled, ac ofnid hefyd y llethid rhai o honynt oddieithr iddynt gael ymwared buan. Yn yr adeg yma daeth i feddwl rhyw rai i wneyd un ymdrech gyffredinol i ddileu dyledion capeli yr enwad yn

Nghymru. Cynhaliwyd cyfarfod yn Rhiadrwy, Hydref 31ain, 1832, lle y daeth yn nghyd nifer fawr o weinidogion De a Gogledd—tanysgrifiwyd symiau mawrion—penodwyd personau cymhwys i osod yr achos ger bron gwahanol siroedd Cymru—ac i ymweled a'r Saeson yn Lloegr. Cymerodd yr eglwysi y peth i fyny yn galonog. Yr oedd y lleoedd oedd dan ddyled drom i gael yr oll a gasglent iddynt eu hunain, a'r lleoedd nad oedd dyled arnynt i gyfranu i'r Drysorfa gyffredinol i'w rhanu yn ol angen pob lle. Bu y Meistri W. Williams, Wern; D. Morgan, Machynlleth; W. Jones, Rhydybont; J. Sanders, Aberystwyth; S. Roberts, Llanbrynmair; W. Griffith, Caergybi; D. Rees, Llanelli; H. Herbert, Drefnewydd, ac feallai ryw rai eraill na chawsom eu henwau, yn Llundain, Bristol, Liverpool, Manchester, a manau eraill yn casglu, a chawsant garedigrwydd mawr; a phan yn mhen mwy na dwy flynedd y cyhoeddwyd adroddiad o'r ymdrech a wnaed cafwyd fod yn nghylch *Tair-mil-ar-hugain o bunau* wedi eu casglu, heblaw rhai miloedd yn ychwaneg a gasglwyd, am y rhai ni anfonwyd cyfrif i mewn. Llwyr ryddhawyd llawer o leoedd o'u dyled, ac ysgafnhawyd yn fawr ar lawer yn ychwaneg; a byth er hyny y mae yr enwad wedi ei godi uwchlaw pryder yn nghylch dyledion capeli.

Mae yr ugain mlynedd diweddaf wedi bod yn dymor digyffelyb mewn adeiladu capeli a thalu am danynt, fel nad oes ond ychydig o leoedd nad ydynt yn yr yspaid hwnw wedi ail adeiladu neu ad-drefnu eu capeli. Mae nifer capeli yr enwad yn awr yn 966, a chyfrifir eu cyfanwerth yn agos i *chwe' chan mil o bunau.* Yn yr ymdrech fawr a wnaed er coffadwriaeth am lafur hunanymwadol y Ddwy Fil Annghydffurfwyr cafwyd cyfrif am 134,605p. 11s. 6c. a gasglwyd yn y saith mlynedd o 1862 hyd 1869. Ceir y manylion yn adroddiad "Coleg Coffadwriaethol Aberhonddu;" a sircheir ni pe cawsid cyfrif llawn o bob lle y gwelsid fod *cant a haner o filoedd o bunau* wedi eu casglu gan yr Annibynwyr Cymreig yn yr ysbaid hwnw. Ni bu y fath haelioni yn hanes ein henwad, ac y mae yn amheus genym a fu dim mor gyffredinol yn hanes unrhyw enwad yn ein gwlad.

Buasai yn hawdd i ni ychwanegu trwy gyfeirio at yr hyn a wnaeth yr enwad mewn haelioni i'r byd Paganaidd mewn cysylltiad a Chymdeithas Genhadol Llundain—ei ymdrechion gyda holl sefydliadau dyngarol a moesol sydd a'u tuedd i wella a dyrchafu ein gwlad—ei weithgarwch o blaid rhyddid gwladol a chrefyddol; ond ni oddefa ein terfynau i ni wneyd hyny. Mae yr eglwysi Cymreig wedi bod mewn cysylltiad ag Undeb Cynnulleidfaol Lloegr a Chymru er ei ffurfiad yn 1831, ac y mae cyfarfodydd Hydrefol yr Undeb wedi bod ddwywaith yn Nghymru—yn Aberdar yn 1859 ac yn Abertawy yn 1871, ac y mae ein cysylltiad ag ef yn parhau. Yn 1871 ffurfiwyd "Undeb yr Annibynwyr Cymreig," yr hwn sydd i ddal yr un berthynas a'r holl enwad, ag y mae ein hundebau sirol yn ei ddal a'r eglwysi yn y siroedd hyny. Disgwylir y bydd yn foddion i feithrin cydnabyddiaeth ychwanegol rhwng gweinidogion ac aelodau eglwysig a'u gilydd, ac y rhydd gyfle iddynt i ymgynghori yn nghylch achosion cyhoeddus yr enwad, ac i anog y naill y llall i gydweithrediad gyda'r pethau a berthynant i lwyddiant teyrnas Crist.

## ATHROFEYDD YR ENWAD.

Mae yr Annibynwyr o'r dechreuad wedi bod yn selog dros weinidogaeth addysgedig. Aeth rhai o honynt mor bell yn nechreuad y ddeunawfed

ganrif fel y rhoddasant yn ngweithredoedd eu capeli, nad oedd neb i fod yn weinidogion ynddynt ond rhai wedi cael addysg athrofaol reolaidd. Mae tair athrofa yn awr yn Nghymru yn parotoi dynion ieuaingc i'r weinidogaeth yn ein henwad; ac ni byddai mewn un modd yn briodol i ni gau HANES EGLWYSI ANNIBYNOL i fyny heb roddi ychydig o hanes pob un o'r sefydliadau gwerthfawr hyn.

### ATHROFA ABERHONDDU.

Ymddengys i'r Athrofa Annghydffurfiol gyntaf yn Nghymru gael ei chychwyn gan Mr. Samuel Jones, Brynllywarch, gerllaw Penybontarogwy. Cychwynodd hi yn ei breswylfod yn Brynllywarch, yn fuan wedi ei fwrw allan o'r Eglwys Sefydledig gan Ddeddf Unffurfiaeth 1662. Bu yn arolygu drosti hyd ei farwolaeth yn 1697; ond ar ei farwolaeth symudwyd hi i Abergavenny, dan ofal Mr. Roger Griffith, ond cyn pen tair blynedd enciliodd yr athraw i'r Eglwys Sefydledig, a symudwyd yr athrofa i gymydogaeth Penybontarogwy, dan ofal Mr. Rees Price, tad yr enwog Dr. Richard Price o Lundain. Yn 1704 symudwyd yr athrofa i Gaerfyrddin, dan ofal Mr. William Evans, ac efe fu yr athraw hyd ei farwolaeth yn 1718. Dilynwyd ef gan Mr. Thomas Perrot, New Market, yr hwn a fu yn gofalu am yr athrofa hyd ei farwolaeth yn Rhagfyr 26ain, 1733. Wedi ei farwolaeth dewiswyd Mr. Vavassor Griffith, Maesgwyn, sir Faesyfed, i fod yn athraw, ond gwrthododd ef symud i Gaerfyrddin, rhag i foesau y myfyrwyr gael eu llygru, ac oblegid hyny symudwyd yr athrofa ato ef i sir Faesyfed. Bu yn athraw hyd ei farwolaeth yn 1740. Symudwyd yr athrofa yn hydref 1740 i Hwlffordd, sir Benfro, o dan ofal Mr. Evan Davies, gweinidog yr Annibynwyr yno; ond yn 1743 derbyniodd Mr. Davies alwad o Lanybri a'r Bwlchnewydd, a chydsyniodd a hi; a phenderfynwyd ar yr un pryd symud yr athrofa i Gaerfyrddin, a'i huno ag ysgol flodeuog oedd gan Mr. Samuel Thomas, gweinidog Heol Awst. Mr. Davies oedd yr athraw duwinyddol, a Mr. Thomas yr athraw clasurol. Yr oedd y Bwrdd Cynnulleidfaol, a'r Bwrdd Presbyteraidd yn Llundain, er dyddiau Mr. Samnel Jones, Brynllywarch, yn arfer pleidleisio symiau o arian at gynhaliaeth yr athrawon a'r myfyrwyr; ond wedi deall fod Mr. Samuel Thomas yn Belagiad, os nad yn Ariad, penderfynodd y Bwrdd Cynnulleidfaol Mawrth 5ed, 1753, fod i Mr. Davies symud yr athrofa o Gaerfyrddin; ac ar y 3ydd o Chwefror, 1755, ataliodd y Bwrdd eu harian yn gwbl; a phenderfynasant osod athrofa Annibynol hollol i fyny yn Abergavenny, yr hon a agorwyd cyn diwedd 1755, dan ofal Mr. David Jardine, gweinidog yr eglwys yno. Wedi ei farwolaeth ef Hydref 1af, 1766, dewiswyd Mr. Benjamin Davies yn athraw, a bu yn arolygu drosti hyd 1782, pryd y dewiswyd ef yn athraw yn Homerton, Llundain. Dewiswyd Dr. Edward Williams i fod ei olynydd, ond gan na fynai ef symud i Abergavenny, symudwyd yr athrofa ato i Groesoswallt, a bu yno hyd 1791, pryd y symudodd Dr. Williams i Birmingham. Ar ei ymadawiad rhoddwyd yr athrofa dan ofal Mr. Jenkin Lewis yn Ngwrecsam, (Dr. Jenkin Lewis, Casnewydd, wedi hyny,) a bu yn athraw ffyddlon arni hyd 1811, pryd y symudodd i Manchester i gymeryd gofal sefydliad addysgol oedd newydd ei gychwyn yno. Dilynwyd ef fel athraw yr athrofa yn Ngwrecsam gan Dr. George Lewis, ac yn 1816 symudwyd yr athrofa o Wrecsam i Lanfyllin, ac wedi hyny yn 1821 i'r Drefnewydd; ond ni bu

Dr. Lewis fyw ond am naw mis wedi symudiad yr athrofa i'r lle olaf a enwyd. Bu farw Mehefin 5ed, 1822. Yn 1820 yr oedd Mr. Edward Davies, un o'r myfyrwyr, wedi ei ddewis yn gynorthwywr i Dr. Lewis, ac wedi ei farwolaeth dewiswyd ef yn athraw duwinyddol, a Mr. Samuel Bowen, un arall o'r myfyrwyr, yn athraw clasurol; a bu Mr. Bowen yno dros rai blynyddoedd hyd ei symudiad i Macclesfield.

Yr oedd y Bwrdd Cynnulleidfaol wedi cynal yr athrofa yn gwbl er 1755, ond yn 1836, penderfynasant na chynhalient hi yn mhellach heb i'r eglwysi Cymreig ddwyn rhan o'r treuliau. Barnai y Bwrdd hefyd, oblegid rhyw amgylchiadau, y buasai yn well symud yr athrofa o'r Drefnewydd; ac wedi ystyriaeth dros amser, penderfynwyd prynu ty yn Aberhonddu, yr hwn a gostiodd 1500p., ac yn Chwefror, 1839, symudwyd yr athrofa yno. Dewiswyd Mr. Charles Nice Davies o Norwood, yn athraw duwinyddol, a Mr. Edward Davies yn athraw clasurol. Darfu cysylltiad Mr. Nice Davies yn fuan a'r sefydliad, a bu farw Ionawr 22ain, 1842, yn 48 oed. Dilynwyd Mr. Davies gan Mr. Henry Griffith o Stroud, yr hwn a fu yn athraw duwinyddol yr athrofa o'r flwyddyn 1841 hyd ddiwedd 1853, pryd y symudodd i Newington, Liverpool. Dewiswyd Mr. John Morris, o Morley, gerllaw Leeds, yn olynydd iddo, yr hwn sydd etto yn parhau i lenwi cadair dduwinyddol yr athrofa. Bu Mr. Edward Davies farw Chwefror 25ain, 1857, yn 61 oed, ar ol gwasanaethu y sefydliad yn effeithiol am 36 o flynyddoedd. Dewiswyd Mr. William Roberts, yr hwn a addysgwyd yn athrofeydd Caerfyrddin a Glasgow i gymeryd ei le yn yr athrofa.

Yn nechreu y flwyddyn 1862, yn nglyn a'r ymdrech goffadwriaethol am droad allan y Ddwy Fil Annghydffurfwyr, daeth i feddwl rhyw rai y gallesid corffori yr holl sefydliadau athrofaol yn Un Coleg i'r enwad yn Nghymru; ac ymddangosai pob peth ar y dechreu yn ffafriol i ddwyn hyny oddiamgylch, a ffurfiwyd pwyllgor i'r perwyl, cwbl annibynol ar bwyllgor pob athrofa. Ond gwelwyd yn fuan fod rhwystrau mawrion ar ffordd cwblhad yr amcan, rhwystrau na ragwelid hwy ar y dechreu; ac aeth llawer i amheu wedi ail ystyriaeth a fuasai y peth yn ddymunol hyd yn nod pe buasai yn bosibl. Pa fodd bynag glynodd y pwyllgor wrth y meddylddrych o gael *Coleg*, a chytunwyd, wedi hir ystyriaeth, ar Aberhonddu fel y lle cymhwysaf i'w adeiladu. Sicrhawyd pedair erw o dir, a gosodwyd y gareg sylfaen i lawr gan Samuel Morley, Ysw., Mehefin 13eg, 1867, ac agorwyd ef Medi 15fed a'r 16eg, 1869. Costiodd 11,000p., ac y mae ei holl ddyled wedi ei dalu, ac yn mhob ystyr y mae yn anrhydedd i'r enwad. Gelwir ef Coleg Coffadwriaethol Aberhonddu. Ceir yr holl fanylion mewn adroddiad helaeth a gyhoeddwyd yn 1870. Taenodd cwmwl tywyll dros y sefydliad yn y ddamwain angeuol i Mr. Roberts, yr athraw clasurol, yn ngorsaf Malvern, Mawrth 9fed, 1872, yn 42 oed, ar ol gwasanaethu yr athrofa yn ffyddlon a galluog am bymtheng mlynedd. Ar ol ei farwolaeth penderfynwyd mewn cyfarfod cyffredinol o'r tanysgrifwyr i gael trydydd athraw i'r athrofa; ac yn Mehefin, 1872, dewiswyd Mr. David Rowlands, B.A., Caerfyrddin, a Mr. William Oliver, M.A., o Brif Ysgol Glasgow, ac y mae y ddau yn parhau yn eu swydd. Telir Mr. Morris a Mr. Rowlands gan y Trysorfwrdd Cynnulleidfaol, a thelir Mr. Oliver gan y Pwyllgor. Mae yn awr tua 30 o fyfyrwyr yn y sefydliad, ac yr oedd cyfanswm y derbyniadau at y sefydliad yn y flwyddyn a derfynai Mehefin, 1874, yn 1066p. 18s. 3c., heb gyfrif y 450p. a dderbynir oddiwrth y Trysorfwrdd Cynnulleidfaol at dalu dau o'r athrawon.

ATHROFA Y BALA.

Wedi symudiad yr athrofa o'r Drefnewydd i Aberhonddu, teimlid fod angen sefydliad addysgol yn y Gogledd; ac wedi cael amryw gyfarfodydd i ymgynghori, penderfynwyd yn 1841 i agor ysgol yn Llanuwchllyn, dan ofal Mr. Michael Jones, ac yn fuan symudwyd hi i'r Bala, lle y mae etto, a gelwir hi yr Athrofa Ogleddol. Bwriedid hi ar y cyntaf i fod yn ysgol barotoawl i unrhyw athrofa, ac i wasanaethu i roddi addysg yn y pethau mwyaf angenrheidiol i'w cymhwyso i'r weinidogaeth, ac i'r rhai oeddynt wedi myned yn rhy hen i fyned trwy gwrs rheolaidd o addysg; ac felly y bu am y deuddeng mlynedd cyntaf o'i sefydliad; ond bellach er's ugain mlynedd y mae y rhan fwyaf o'r myfyrwyr yn myned allan o honi yn uniongyrchol i'r weinidogaeth. Bu yr athrofa yn gwbl dan ofal Mr. Jones hyd ei farwolaeth Hydref 23ain, 1853. Y flwyddyn ganlynol dewiswyd Mr. Michael D. Jones, Bwlchnewydd, i fod yn olynydd i'w hybarch dad, a dechreuodd ei lafur yn y sefydliad yn 1855. Yn 1859 dewiswyd Mr. John Peter, un o'r myfyrwyr i fod yn gyd-athraw ag ef, ac y mae er hyny wedi parhau yn ei swydd yn y sefydliad. Yn 1872 dewiswyd Mr. Robert Thomas, Bangor, i fod yn ddarlithydd duwinyddol i'r athrofa; ac er mwyn bod yn fwy cyfleus i gyflawni ei ddyledswyddau symudodd i'r Bala yn niwedd 1873, ac hefyd i fod yn weinidog yr eglwys Annibynol yn y lle. Yn nechreu 1874, gan fod Mr. M. D. Jones wedi ymgymeryd a chasglu at Golegdy newydd yn y Bala, dewiswyd Mr. Thomas Lewis, B.A., Caerdydd, i fod yn un o athrawon yr athrofa, a dechreuodd ar ei lafur yr haf dilynol. Mae yma 32 o fyfyrwyr, ac yn ol yr adroddiad am y flwyddyn 1874 yr oedd y derbyniadau yn 947p. 8s. 10½c. Mae y Pwyllgor wedi prynu Bodiwan at wasanaeth yr athrofa, ac wedi talu am dano; ac y mae ymdrech yn awr yn cael ei gwneyd i godi *wyth mil o bunau* at wasanaeth y sefydliad.

ATHROFA CAERFYRDDIN.

Wedi i'r Bwrdd Cynnulleidfaol dynu oddiwrth yr hen athrofa fel y gwelsom, a gosod sefydliad Annibynol i fyny yn Abergavenny, parhaodd Mr. Evan Davies ei gysylltiad a hi am dair blynedd; ond wrth weled ei hun wedi ei adael gan ei holl frodyr uniongred rhoddodd ei le i fyny yn 1758, a symudodd i Essex. Ar ol ei ymadawiad ef Mr. Thomas oedd y llywydd, a dewiswyd Dr. Jenkin Jenkins, Llanfyllin, yn athraw clasurol. Bu Mr. Thomas farw yn 1766, ac wedi hyny Dr. Jenkins oedd yr unig athraw hyd 1779, pryd y symudodd i Lundain. Dilynwyd Dr. Jenkins gan Mr. Robert Gentleman, ac yr oedd Mr. Benjamin Davies o sir Aberteifi, yn gynorthwywr iddo. Yn 1784 symudodd Mr. Gentleman i Kidderminster; a'r un flwyddyn symudwyd yr athrofa i Abertawy, o dan ofal Mr. Solomon Harries, gweinidog yr Ariaid yno. Bu Mr. Harries farw y flwyddyn ganlynol, a dilynwyd ef gan Mr. W. Howell o Chilwood, gerllaw Bristol; ac yr oedd un Mr. T. Lloyd yn athraw cynorthwyol. Ar ei farwolaeth ef yn 1789, dewiswyd Mr. David Peter, un o'r myfyrwyr hynaf, yn gynorthwywr, a bu yno hyd 1792, pryd y rhoddodd ei le i fynu i gymeryd gofal yr eglwys yn Heol Awst, Caerfyrddin. Dilynwyd ef yn yr athrofa gan Dr. John Jones, ond oblegid rhyw annghydwelediad rhoddwyd hi i fyny yn 1794. Yn y flwyddyn ganlynol adsefydlwyd hi yn

Nghaerfyrddin, pryd y dewiswyd Mr. D. Peter yn llywydd, a Mr. D. Davies, Llanybri, yn athraw clasurol. Darfu cysylltiad Mr. Davies a'r athrofa yn 1813, a dilynwyd ef gan Mr. D. L. Jones, M.A., Undodwr. Bu farw Mr. Jones yn 1830, a Mr. Peter yn 1837, ac yr oedd y ddau mewn cysylltiad a'r athrofa hyd eu diwedd. Wedi marwolaeth Mr. Peter dewiswyd Mr. D. Davies, Pantteg, i fod yn athraw duwinyddol, a bu yn y swydd hyd 1856. Dewiswyd Mr. Thomas Nicholas (Dr. Nicholas) o Hereford, i fod yn olynydd iddo, a bu yn athraw hyd 1862; ac er hyny Mr. William Morgan ydyw yr athraw duwinyddol. Penodwyd Mr. David Lloyd, Undodwr, yn athraw clasurol cyn marwolaeth Mr. Peter, ac mewn blynyddoedd diweddarach penodwyd Mr. S. Hunter, Undodwr, yn athraw; ac wedi marwolaeth Dr. Lloyd dewiswyd Mr. D. L. Evans; ond yn niwedd y flwyddyn 1874 y mae ef wedi rhoddi ei swydd i fyny, a Mr. D. E. Jones, M.A., Sirhowy, wedi ei ddewis yn ei le, fel y mae yn awr ddau Annibynwr yn athrawon yn yr athrofa, yr hyn na bu o'r blaen er dechreuad y ganrif bresenol pan oedd Mr. Peter a Mr. Davies, Llanybri, yn gydathrawon.

Er fod rheolaeth yr athrofa hon yn gwbl yn llaw y Bwrdd Presbyteraidd, fel eu gelwir, neu yr Undodwyr, a'i bod yn agored i ddynion ieuaingc o bob enwad crefyddol, etto y mae mwyafrif mawr y myfyrwyr, yn enwedig er dechreuad y ganrif bresenol, yn Annibynwyr. Gadawodd yr Annibynwyr hi agos yn llwyr yn y blynyddoedd o 1755 hyd ymadawiad Dr. Jenkins yn 1779, ac yr oedd moesau y myfyrwyr yn yr adeg hono wedi disgyn yn isel iawn. Parodd hir gysylltiad Mr. Peter a'r athrofa i hyder yr enwad ynddi gael ei adfer, ac nid yw etto wedi ei golli. Mae Pwyllgor Annibynol yn trefnu holl gasgliadau yr eglwysi; ac er mai y Bwrdd Presbyteraidd sydd yn rheoli y sefydliad, etto ni dderbynia y Bwrdd unrhyw Annibynwr i mewn heb fod y Pwyllgor Annibynol yn ei gymeradwyo. Yr oedd cyfanswm derbyniadau y Pwyllgor Annibynol am y flwyddyn a derfynai Mehefin, 1874, yn 682p. 14s. 8c. Nifer y myfyrwyr 26.

Mae nifer o sefydliadau addysgol eraill dan ofal personau unigol wedi, ac yn bod o wasanaeth mawr i barotoi dynion ieuaingc i waith y weinidogaeth; a thra yr ydym yn gwbl argyhoeddedig nas gall unrhyw swm o addysg wneyd yn lle y cymhwysderau naturiol, meddyliol, ac ysbrydol angenrheidiol, etto credwn fod amgylchiadau yr amseroedd yn gofyn am i'r weinidogaeth gael i'w gwasanaeth ddynion wedi cael yr addysg uchaf; ac heb hyny nis gallwn ddisgwyl i grefydd barhau ei gafael yn ein cenedl, yr hyn a sicrhawyd mor effeithiol gan lafur ein tadau.

# DANGOSEG GYFFREDINOL.

*Cyfeiria y Rhifnodau* I., II., III., *a* IV., *at y Cyfrolau, a'r ffuguran at y Tu-dalenau.*

A.

D.

## E.

F.

G.

H.

K.



L.

LL.

## N.



## O.

P.

## S.

T.

U.



V.



W.

## Y.

---

*DIWEDD.*

---

ARGRAFFWYD YN SWYDDFA Y "TYST," LIVERPOOL.

